Mr. Edward Elias

# HANES
# GWAITH Y PRYNEDIGAETH,

**AR DDULL HOLLOL NEWYDD;**

YN DANGOS,

GRADDOL AMLYGRWYDD A CHYFLAWNIAD

Y

**BWRIADAU DWYFOL**

YN

**IACHAWDWRIAETH DYN:**

YN CYNNWYS

**GOLYGIADAU CYRHAEDDGAR**

AR

**HANESYDDIAETH EGLWYSIG,**

A

**CHYFLAWNIAD PROPHWYDOLIAETHAU YR YSGRYTHYRAU.**

---


A GYFIEITHIWYD

**O WAITH Y PARCH. JONATHAN EDWARDS,**

*O'r Americ,*

*GAN THOMAS JONES, AMLWCH.*


---

**At yr hyn y chwanegwyd**

**HANES BYWYD YR AWDWR,**

**A'I BROFIADAU.**

---


**BALA:**

**ARGRAPHEDIG GAN ROBERT SAUNDERSON.**

**1829.**

HANES

# BYWYD Y PARCH. JONATHAN EDWARDS,

## *A'I BROFIADAU.*

---

Y DYN enwog a dysgedig hwn a anwyd Hydref 5, 1703, yn Windsor, yn Nhalaeth Connecticut. Yn y flwyddyn 1716, anfonwyd ef i Athrofa Yale; ac yn y flwyddyn 1720, gwnawd ef yn Wyryf yn y Celfyddydau, cyn ei fod yn ddwy flwydd ar bymtheg oed. Yr oedd galluoedd ei feddwl yn ymddangos mor foreu a phan yr ydoedd yn dair blwydd ar ddeg oed, fel y darllenodd gyda bywiogrwydd a phleser anghyffredinol Draethawd Locke ar y Deall Dynol; ïe, yr ydoedd yn dangos dwysder, sylwedd, a threiddgarwch meddwl y pryd hynny, fel nad oedd dim mor hyfryd ganddo ag ymarfer ei alluoedd ei hun.

Bu yn aros yn yr Athrofa yn agos i ddwy flynedd wedi cymmeryd ei radd gyntaf, i'w barottoi ei hun yn bennaf i'r swydd gyssegredig. Wedi myned trwy y prawf a'r holiadau arferol, efe a awdurdodwyd, yn ol arfer yr Athrofa, a ffurf crefydd y dalaeth, i bregethu yr efengyl dan brawf, ac fel un yn ymgais am y swydd honno.

Yn Awst 1722, derbyniodd alwad i bregethu i gynnulleidfa o Bresbyteriaid Saesonig yn Nghaer Efrog Newydd, y'mha le y bu efe mewn mawr gymmeradwyaeth uwchlaw wyth mis. Ond y gynnulleidfa honno oedd y pryd hynny yn rhy fechan i gynnal gweinidog; gan hynny efe a ddychwelodd, yn y gwanwyn 1723, i dŷ ei dad yn Connecticut, lle y bu trwy'r haf canlynol yn dilyn myfyriaeth gyd â'r manylrwydd mwyaf. Yr oedd yn ymddangos er hynny fod ystyriaeth dwys ar ei feddwl am y broffes Gristionogol, a'r weinidogaeth, tra bu yn aros yn Nghaer Efrog Newydd, a bod y bobl yr oedd yn gwylied drostynt yn hynod o anwyl ganddo, a bod yn ofid dwys iddo ymadael â hwy yn y diwedd.

Yn y gwanwyn 1724, gan ei fod wedi cymmeryd gradd Athraw yn y flwyddyn o'r blaen, dewiswyd ef yn athraw yn Athrofa Yale, yr hon swydd a gyflawnodd efe dros ddwy flynedd. Diau fod y fath sefyllfa o fawr ganlyniad i ddyn ieuangc un-ar-hugain oed; yr hwn, trwy ei fynediad boreu i waith y weinidogaeth, o herwydd yr hyn, a galwedigaethau eraill, ni's gallasai gael gormod o gyfleusderau er ei addysg ei hun; ond nerth ei feddwl a orchfygodd y rhwystrau anorfodadwy ag sydd yn fynych yn ffordd y cyffredinolrwydd o ddynion; ac fe allai fod ei athrylith yn gweithredu yn fwy grymmus gan ei fod heb ei gaethiwo â llyffetheiriau yr Athrofa, yr hyn yn anfynych a all athrylith ddyrchafedig ei oddef.

Yn Medi 1726, rhoddodd i fynu ei swydd fel Athraw, mewn canlyniad i alwad pobl Northampton iddo ddyfod yn gynnorthwywr i dad ei fam, Mr. Stoddard, yr hwn ydoedd yn weinidog sefydlog y dre. Chwefror 5ed, 1727, pan oedd yn bedair ar hugain oed, efe a ordeiniwyd yn gyd-was i'w daid; ac efe a arhosodd yn y gwasanaeth gweinidogaethol yno hyd Mehefin 22, 1750, pan y diswyddwyd ef o herwydd ei ymgais i ddiwygio yr eglwys.

Yr hyn a ymddengys a fu yn achos ar y cyntaf i Mr. Edwards fod yn wrthddrych casineb, ydoedd yn amgylchiad a ddylasai ei wneud ef yn wrthddrych cariad, ac a fuasai felly yn ddiammeu ym mysg pobl wir grefyddol. Rhai pobl ieuaingc o'i gynnulleidfa a brynasent draethodau ar anniweirdeb, y rhai a esponient yn eu plith eu hunain er eu hyfforddiant mewn anlladrwydd; ac yr oedd hynny yn ymledaenu, gyd â'r gweddeidd-dra sydd yn arferol gan y fath bersonau, er llygru eraill. Ym mhen ychydig daeth hyn i glustiau Mr. Edwards; gan hynny, wedi pregethu ar *Heb*. 12. 15, 16. efe a alwodd ynghyd y rhai oedd bennaf dan y cyhuddiad, ac a hyspysodd iddynt yr hyn a glywsai, ac efe a gafodd eu cydsyniad i chwilio i'r achos. Sefydlwyd eisteddfod o ddirprwywyr i'r diben hwn, ac i gynnorthwyo y gweinidog. Wedi gwneuthur hyn, Mr. Edwards a sefydlodd amser y cyfarfod; ac a ddarllenodd yno restr o enwau y personau cyhuddedig, a'r rhai oedd yn cyhuddo, heb amlygu dan ba olygiad yr oeddynt yn sefyll yn gyhuddedig, ac efe a ddymunodd arnynt ddyfod ynghyd i'w dŷ ef.

Mewn canlyniad i gyhoeddiad yr enwau, ymddangosodd fod bron yr holl deuluoedd yn y dre yn dwyn perthynas â'r naill neu y llall ag oedd yn perthynu i'r achos; gan hynny rhifedi mawr o bennau teuluoedd, nid yn unig a newidiasant eu meddyliau ynghylch yr holiad, ond dywedasant, na oddefent hwy i'w plant gael eu galw i gyfrif o herwydd y fath achos. Yr oedd trigolion y ddinas yn ddiced fel po buasent ar dân o gynnen, yr hyn a gyfnerthodd ddwylaw, ac a galedodd wynebau yr euog; ac felly hwy a heriasant eu gweinidog gyd â'r dirmyg a'r traha mwyaf. Yn y modd hyn y gwanychwyd breichiau Mr. Edwards, ac ni chafodd wedi hynny ond ychydig lwyddiant yn ei weinidogaeth yno. Cnawdolrwydd a gynnyddodd yn fawr yn mysg ei bobl ef, a'r ieuengctid yn neilltuol a aethant yn fwy trythyll a phenrhydd.

Nid oedd hyn oll ond parotoad ffordd i ryw beth oedd fwy. Yr oedd yn dyb safadwy yn mysg y bobl hyn er's amser, ac yn cael ei choleddu hefyd gan eu diweddar weinidog, "Fod dynion annychweledig," adnabyddus felly wrth annuwioldeb eu bywydau, a'u hanwybodaeth o'r gwirioneddau dwyfol, "yn meddu hawl er hynny yn ngolwg Duw i gyfrannogi o sacrament swpper yr Arglwydd; ac o ganlyniad mai eu dyledswydd oedd cyfrannogi o hono, er nad oedd ynddynt un ymddangosiad o'r gras a'r sancteiddrwydd ag mae 'r efengyl yn ddangos sydd yn anwahanol oddiwrth wir gredinwyr. Yr oedd yn ddigonol os oeddent yn aelodau allanol a gweledig; fel y gallai y rhai oedd yn hollol wrthod Crist, ac yn anghymmeradwyo ffordd iechydwriaeth yn eu calonnau, ac yn gwybod fod hyn yn wirionedd am danynt hwy eu hunain, wneud y broffes heb fod yn euog o gelwydd a rhagrith."

Yr anghyfleusderau cyffredin sydd yn canlyn eglwys wladol bob amser, lle mae yn ammhossibl holi pob dyn am ei broffes, neu ei gadw rhag ei gwarthruddo, y mae hyn yn ychwanegiad ag oedd yn gweddu i ddisgybl-

fon Ignatius o Loyola, y gall pobl fod yn rhagrithwyr heb fod yn euog o ragrithio, ac yn gelwyddwyr heb fod tan gyfrifiad o bechod. Y fath egwyddorion sydd wrth fodd rhyw fath o bobl; ond nid ydynt mewn un modd wrth fodd y rhai hynny, pa rai nad ydynt byth i anghofio fod godineb, a phob aflendid, ac ymadrodd ffol, a choeg-ddigrifwch, yn bethau na enwer yn eu plith hwy, megis y gweddai i saint, *Eph.* 5. 3,—7.

Yr oedd Mr. EDWARDS wedi bod mewn anesmwythder mawr amser hir, oherwydd tyciant y farn ddieithr hon (ie, y fwyaf ddieithr a addefwyd gan eglwys Crist erioed) a'i ymostyngiad ei hun i'w goddef yn ol siampl ei hynafiaid, a'u harferiad cyn ei ddyfodiad ef yno. Ond ei ammheuaeth a'i anesmwythder a gynnyddodd, fel y gellid disgwyl oddiwrth ddyn mor dda, hyd oni yrrwyd ef o'r diwedd i chwilio y peth yn drwyadl. Y canlyniad a fu, iddo gael prawf eglur mai cyfeiliornad ydoedd, ac efe a fwriadodd yn wrol i'w ddinoethi. Yr ydoedd wedi cael prawf i'w feddwl, mai bod yn Gristion gweledig ydyw ymwisgo âg ymddangosiad o un gwirioneddol, ac nad ydyw proffesu Cristionogaeth yn ddim llai na phroffesu yr hyn y mae gwir Gristionogaeth yn ei gynnwys; gan hynny, megis y mae swpper yr Arglwydd wedi ei fwriadu i Gristionogion gwirioneddol, na ddylai neb gyfrannogi o hono na byddont o'r hyn lleiaf yn proffesu Cristionogaeth wirioneddol, ac i ba rai nis gellir yn gyfiawn gyfrif annuwioldeb cyhoeddus.

Hyspysiaeth o'i feddwl ar y pen hwn, y'mhlith y fath bobl, a gyfododd ddadwrdd yn ddioed yn eu mysg, ac a barodd i'r ddinas fod mewn cymmaint cynnwrf ag a achlysurwyd trwy bregethiad apostol sanctaidd amser maith o'r blaen yn Ephesus. Yr oeddynt oll mewn cythrwfl; a "Diswydder ef, diswydder ef," oedd y waedd gyffredinol gan wyr, gwragedd, a henuriaid. Yr oedd efe wedi cyffwrdd â phechod anwyl, ac âg egwyddor hoff ag oedd yn ei amddiffyn: ac (yr hyn oedd yn wirionedd amlwg, er nad oeddynt hwy yn ystyried hynny) nid oedd efe yn addas i fod yn weinidog iddynt mwyach. Efe a anturiodd i ymresymmu â hwynt yn bwyllog: ond nid oedd hynny ond megis chwythu yn erbyn y gwynt; y waedd gyffredin oedd am ei fwrw ymaith.

Pan na wrandawent ar Mr. EDWARDS, efe a ddeisyfodd arnynt roddi yr achos dan sylw rhai o'r gweinidogion cymmydogaethol; ond gwrthodasant wneuthur hynny: yna efe a anturiodd eglurhau yr achos mewn amryw bregethau, ac a ddechreuodd bregethu i'r diben hwnnw; ond er fod rhifedi mawr yn dyfod i wrando arno o'r ardaloedd cylchynol, etto ychydig iawn o'i gynnulleidfa ei hun a ddeuai ynghyd. Y fath syfrdandod sydd yn natur rhagfarn, pan unwaith y meithrinir ef, fel yr ymwrthyd dynion â'u rhesymau yn hytrach nag ail-feddiannu eu tymherau.

Efe a arferodd bob moddion a allai i'w dwyn o'r hyn lleiaf i dawelwch, a phwyll, os na byddent o dymher garuaidd. Dymunodd arnynt wrando a phwyso gyd âg ystyriaeth yr hyn oedd ganddo i'w ddywedyd trosto ei hun; a pheidio a'i gondemnio, pe na byddai ond yn unig er eu mwyn eu hunain, heb ryw gysgod o reswm. Ond fe gymmerwyd ei larieidd-dra a'i wylder yn achlysuron yn ei erbyn ef, ac i gyffro traha ei wrthwynebwyr, yn lle eu heddychu a'u tawelu. Nid oedd dim a wnai y tro ganddynt ond hollol ddidoliad, er fod hynny mor eglur yn erbyn eu lles gwirioneddol ac ysprydol.

Yr oedd Mr. EDWARDS yn canfod fod pob moddion yn aneffeithiol i attal

y llif o enllib ac athrod ag oedd yn ffugiol dreiglo arno, o'r diwedd efe a ymostyngodd i ystryw y dynion hyn yn llunio cynghorfa ag oedd yn gynnwysedig yn bennaf o'u cyfeillion hwy eu hunain. Y rhai hyn, wedi cynnygiadau aflwyddiannus am gymmod, a benderfynasant, trwy bleidair un llais yn unig, mai cymmwys ac angenrheidiol ydoedd i'r berthynas weinidogaethol rhwng Mr. Edwards a'r eglwys gael ei dattod, os byddai iddynt barhau i alw am hynny. Wedi i hyn gael ei amlygu i'r bobl, hwy, yn ddioed, trwy bleidair, dau gant yn erbyn ugain, a'i diswyddasant; yr hyn yn ol hynny a wnawd Mehefin 22, 1750.

Yn y modd hyn y darfu i'r bobl hynny eu gwarthruddo eu hunain trwy ymdrechu i geisio distrywio un o'r duwinyddion enwoccaf a fu erioed yn America. Ond nid oeddynt yn adnabod eu trugareddau: y fath ddyn a Jonathan Edwards a fuasai yn anrhydedd i unrhyw wlad neu genedl, ac a gawsai gymmeradwyaeth rwydd gan y doeth a'r da ym mysg pawb. Yr ychydig bobl ag oedd yn ffieiddio y weithred atgas hon a gyhoeddasant eu gwrth-farn yn ei herbyn, ond ni bu iddynt lwyddo. Y dyn da oedd yn brawychu mwy yn achos ei elynion nag yn ei achos ei hun, ac efe a draddododd araith fwyaf ddifrifol ac effeithiol ar ei ymadawiad oddiwrth 2 *Cor.* 1. 14. yr hon wedi hynny a gyhoeddwyd. Ei athrawiaeth oddiwrth y testun ydoedd, y bydd yn rhaid i weinidogion, a'r bobl fyddo dan eu gofal, gyfarfod y naill a'r llall ger bron gorseddfaingc Crist. Ni ddarfu i gynfigen ei elynion orphwys yn hyn; canys efe yn garedig a roddai ei wasanaeth pryd na byddai pregethwr i'w gael, gwell fyddai hynny ganddo na bod yr areithfa yn wag. Y caredigrwydd hynny ag a fuasai yn rhyngu bodd meddyliau mwy tyner, a gynnyddodd y ffagl ynddynt hwy, yn gymmaint a'u bod wedi galw ynghyd drigolion y ddinas i roddi eu pleidair na chaffai efe bregethu mwyach mewn un modd yn eu mysg hwy. Ac felly dewisasant fod yn fynych heb bregethu, yn hytrach na chymmeryd gweinidogaeth yn rhad, gan un nad oedd y byd ei hun ddim yn deilwng o hono.

Yn y modd hyn y terfynodd ei wasanaeth am yn agos i bedair blynedd ar hugain ym mysg pobl anneallus ac anniolchgar, cyflwr pa rai oedd yn agos at ei galon, ac am ba rai y dangosasai yn wastadol y gofal mwyaf tyner. Er eu lles hwy y byddai bob amser yn ysgrifenu, yn llunio, ac yn llafurio; trostynt hwy y byddai yn tywallt miloedd o weddïau gwresog; ac yn eu llwyddiant y byddai yn llawenychu fel un yn cael ysglyfaeth lawer. Etto ni ddarfu i'w holl ymddygiadau atgas hwy newid agwedd ei feddwl ef. Yr ydoedd efe yn bwyllog, yn dawel a gostyngedig, dan y driniaeth fwyaf niweidiol: ei ymroddiad a'i ymddygiad dan yr holl driniaeth oedd yn wirioneddol ryfedd, ac nis gellir yn yr un goleuni, trwy unrhyw ddarlun eu gosod allan mor effeithiol a phrydferth ag yr oeddynt yn ymddangos i'w gyfeillion, pa rai oeddynt yn llygaid dystion.

Y dyn anghydmarol hwn ydoedd y pryd hyn yn dechreu heneiddio, ac heb ond ychydig, os oedd ganddo ddim, yn dyfod i fewn heblaw ei gyflog, ac yr oedd hyn yn taflu y goleu mwyaf ar ei ffyddlondeb a'i uniondeb. Ac nid oedd ganddo un olwg am gynnaliaeth oddiwrth unrhyw sefydliad arall; canys nis gwyddai pa cyn belled y gallai cynfigen ei bobl attal iddo gael cynnorthwy, neu ei ddiswyddiad weithredu mewn rhagfarn yn ei erbyn mewn lle arall. Nid oedd efe ychwaith yn alluog i gymmeryd un gorchwyl arall (Och! pa fath drueni yr oedd yn rhaid ei fod yn cael ei yrru i

feddwl am dano!) tlodi a dirmyg oedd o'i flaen, ond efe a wyddai fod ganddo feistr da. Yr ydoedd yn cael cysur ysprydol i'w enaid, ac mewn ychydig amser fe ofalodd rhagluniaeth am dano ef a'i deulu.

Ei gyfeillion, neu yn hytrach cyfeillion crefydd, yn gywilyddus ganddynt fod dyn mor ardderchog yn cael y fath fryntwch digyffelyb, a weiniasant at ei angenrheidiau, ac yn fuan wedi hynny efe a bennodwyd i'r genhadaeth yn Stockbridge; ond nid cyn i ymegniadau trahaus a chwerwon eraill gael eu gwneud i ddistrywio ei enw, yn gystal a'i amddifadu o foddion cynnaliaeth.

Ni byddai yn ammhriodol ychwanegu yn y man hyn, fod un o'r blaenoriaid yn y gorchwyl hwn wedi cael ei ddal â'r fath fraw oblegid ei ymddygiad tu ag at Mr. Edwards, fel y gwnaeth addefiad cyhoeddus wedi hynny o'i euogrwydd, mewn llythyr at y Parch Mr. Hall, o Sutton, yr hwn lythyr, wedi nodi ei wrthwynebiadau neilltuol i'r dyn da hwnnw, sydd yn dibennu fel hyn. "Yn y siamplau hyn, Syr, o fy ymddygiad i, ac eraill, (o'r hyn nid ydych yn anhyspys) yn yspaid yr ymrafael anhydyn gyda Mr. Edwards, yr wyf yn gweled yn awr fy mod yn fawr iawn dan effaith gynhyrfiol balchder, hunan-ddigonoldeb, uchelgais, a gwagedd; yr wyf yn ymddangos yn wael yn fy ngolwg fy hun, ac, yn ddiammeu, yn llawer gwaelach yn ngolwg eraill, pa rai sydd yn fwy digydbartïaeth. Mewn adolygiad ar yr hyn, yr wyf yn ffieiddio fy hun, ac yn edifarhau yn ddwys; ac os ydyw fy nghalon yn fy nghondemnio, y mae yn gweddu i mi gofio yn ddifrifol fod Duw yn fwy na'm calon, ac y gŵyr efe bob peth: ac yr wyf yn addef, Syr, trwy hyn, fod y fath driniaeth i Mr. Edwards ag a nodwyd o'r blaen, yn yr hyn yr oeddwn ni yn gweithredu gyd â'r fath fywiogrwydd, yn hyned o bechadurus ynof, ac anniolchgar; oblegid fy mod, nid yn unig dan rwymau cyffredin iddo, fel pob un yn y gynnulleidfa, megis yr oedd efe yn weinidog ffyddlawn, diwyd, a medrus; ond hefyd yr oeddwn wedi cael llawer o brofion o'i dynerwch, o'i ddaioni, a'i garedigrwydd i mi, fel perthynas ieuangc iddo, ac yntau yn ymddwyn tu ag attaf yn y modd mwyaf caredig. Yn wir, Syr, y mae yn rhaid i mi addef, fy mod trwy fy ymddygiad yn ymgynghori ac yn gweithredu yn erbyn Mr. Edwards, yspaid yr amser y bu ein dadleuon mwyaf anghysurus ac annedwydd, ac yn neilltuol mewn perthynas i'r gwrthdystiad ffiaidd hwnnw, ddarfod i mi fod mor gyffelyb i Balaam, Ahitophel, a Judas, hyd nad wyf yn teimlo fy hun yn waradwyddus, ac mor llawn o ddychryn yn fynych pan y meddyliwyf am y cyffelybrwydd atgas hwn. Ac yr wyf yn addef yn rhydd, fod gennyf yr achos mwyaf i ddychrynu, o herwydd fy ymddygiad, yn wyneb yr ymadroddion dwys hynny o eiddo ein Hiachawdwr yn *Mat.* 18. 6. a *Luc* 10. 16. Yr wyf tan deimlad dwys, nad oes ond y drugaredd anfeidrol a'r gras hynny a achubodd rai o fradychwyr a llofruddion ein Harglwydd bendigedig, ac erlidwyr y merthyron, a all faddeu i mi; yn yr hyn yn unig yr wyf yn gobeithio cael maddeuant, er mwyn Crist, gwaed yr hwn (bendigedig fyddo Duw) sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod. A deisyfiad fy nghalon a'm gweddi sydd ar i ddinas ac eglwys Northampton ddifrifol edrych, ai nad oes ganddynt fawr achos i farnu eu bod yn gorwedd dan euogrwydd dirfawr yn ngolwg Duw: a pha un a all y rhai hynny o honom ag oedd yn yr ymrafael aethus gyda Mr. Edwards, yn rhesymol ddisgwyl bendith Duw a'i ewyllys da, cyn y byddo i'n llygaid gael eu hagoryd a

ninnau wedi ein hargyhoeddi yn drwyadl ein bod wedi annog y Goruchaf i ddigofaint, trwy amcanu niweidio y goreu o ddynion; a hyd oni byddom yn hollol gydnabod ein bod yn echrydus wedi erlid Crist, trwy erlid a blino y dyn cyfiawn hwnnw, ei was ef; ac hyd oni ymostyngom i'r llwch oblegid hynny; ie, hyd oni addefom yn gyhoeddus o flaen y byd, ac erfyn yn ostyngedig ac yn ddifrifol faddeuant gan Dduw, a gwneud yr hyn a allom er anrhydedd i goffadwriaeth Mr. EDWARDS, a'i ddieuogi oddiwrth yr holl enllib a daflwyd gennym yn anghyfiawn arno, gan fod Duw wedi gweled yn dda ei symmud ef tu hwnt i'n cyrhaedd a'n gallu i ofyn maddeuant ganddo. Yr wyf yn hollol gredu mai y fath ammodau a roddir i mi gan y Duw mawr a chyfiawn, ac mai ofer a fydd i mi obeithio diangc yn ddigosp un fford arall. Yr wyf yn ystyried mewn perthynas i mi fy hun, ac yn bwriadu yn fwyaf difrifol gymmeryd y llwybr hwn, os bydd i Dduw yn ei drugaredd roddi i mi gyfleusdra, fel, trwy wneud cyffes rydd o'm pechod a'm heuogrwydd i Dduw a dyn, a chymmeryd cywilydd cyhoeddus i mi fy hun, y gallwyf roi gogoniant i Dduw Israel, a gwneud yr hyn a allwyf i ddieuogi coffadwriaeth y dyn parchus hwnnw oddiwrth y camweddau a'r niweidiau ag y buom mor weithgar i'w dwyn ar ei enw da a'i nodweddiad; ac yr wyf yn diolch i Dduw am ryngu bodd iddo arbed fy mywyd, a rhoddi i mi y pryd hwn gyfleusdra i hynny, ac yr wyf yn ofidus fy mod wedi oedi y gorchwyl mor hir."

Mr. EDWARDS, yr hwn oedd yn addas i lewyrchu yn ngorseddau dysgeidiaeth, ac a alwyd wedi hynny i arolygu Athrofa, ydoedd yn awr wedi ei anfon i ddysgu Indiaid anwaraidd yn Stockbridge. Y mae y lle hwnnw yn y rhan orllewinol i Massachuset's Bay, ac oddeutu chwe milltir oddiwrth Northampton, y lle y buasai Mr. EDWARDS yn preswylio o'r blaen. Efe a sefydlwyd yn y lle hwn Awst 8, 1751, ac a aeth yn mlaen yn ei lafur gan fwynhau mwy o heddwch a llonyddwch am chwe blynedd nag a wybu erioed o'r blaen am dano. Yn y seibiant hwn efe a gyrhaeddodd fwy o wybodaeth, er ei fod mewn gwth o oedran, ac a ysgrifenodd fwy er lles i eglwys Dduw, nag yn y rhan a aeth heibio o'i fywyd, yn yr un yspaid o amser. Yn y neillduaeth yma y cyfansoddodd efe y rhan fwyaf o'i draethodau mwyaf buddiol, fel pan yr oedd yn ymddangos i'w feddwl ef ei hun, gystal ag eraill, ei fod wedi ei dorri oddiwrth ei ddefnyddioldeb, y cafodd fwy o gyfleusderau i fod yn ddefnyddiol nag erioed. Yma y cafodd dawelwch hyfryd wedi y dymhestl ofidus i'w feddwl trallodedig.

Ar farwolaeth Mr. Aaron Burr, Arolygwr Athrofa Jersey Newydd, yr hyn a ddigwyddodd Medi y 24, 1757, Ymddiriedolwyr yr Athrofa a ddewisasant Mr EDWARDS (cyn deisyf arno) i gymmeryd y swydd; ond anhawdd oedd cael gan ein hawdwr ei chymmeryd, yr ydoedd, mewn modd cymmedrol, yn dadleu ei annigonolrwydd, gwaeledd ei iechyd, a'i anaddasrwydd i'r fath alwad. Ond o'r diwedd, trwy resymau a chynghorion ei frodyr yn y weinidogaeth, efe a dderbyniodd y swydd, ac a aeth o Stockbridge i Prince Town yn Ionawr 1758. Ond yr oedd terfyn ei lafur wedi agosau; ni ddarfu iddo bregethu ond yn unig ddwy waith neu dair, a braidd ddechreu ar ddyledswyddau ei swydd newydd, pan y galwyd ef i ogoniant. Yr oedd y Frech Wen (yr hwn bla a fyddai yn angeuol anarferol yn America) yn heintio yn Prince Town, yr hyn a dueddodd Physygwyr y lle i'w annog i gael ei impio (*inoculated*) gyda chydsyniad y Bwrdeiswyr.

Ac yn ol hynny efe a impiwyd Chwefror 13, ac yr oedd ei anhwyldeb yn ymddangos ar y cyntaf yn debyg i fod yn gymmwynasgar, ond clefyd a ymafaelodd ynddo; a llawer o linorod oedd yn ei wddf, fel nas gallasid gweinyddu meddyginiaeth addas iddo; gan hynny poethder y clefyd a gynnyddodd hyd oni roddodd derfyn ar ei fywyd defnyddiol ef, Mawrth 22, 1758, yn y bymthegfed flwyddyn a deugain o'i oed.

Pan yr ydoedd yn ystyried fod angau yn dynesu efe a alwodd ei ferch, yr hon oedd yr unig un o'i deulu a symmudasai gyd âg ef, ac a'i cyfarchodd yn y geiriau canlynol:—"Anwyl Lucy, y mae yn ymddangos i mi, mai ewyllys Duw ydyw, y bydd yn rhaid i mi yn fuan eich gadael; gan hynny yr wyf yn deisyf arnat fy nghofio yn garedigol at fy anwyl wraig, a dywed' wrthi, fy mod yn hyderus fod yr undeb anghyffredinol a fu rhyngom cyhyd o amser o natur ysprydol, a chan hynny i barhau yn dragywydd. Yr wyf yn gobeithio y cynnelir hi yn y prawf llym hwn, ac y bydd iddi ymostwng yn dawel i ewyllys Duw. A chwithau fy mhlant, yr ydych yn debyg i gael eich gadael yn amddifad o'ch tad, yr hyn wyf yn obeithio a fydd yn gymhelliad i chwi i ymofyn am Dad nad ydyw byth yn diffygio." Efe a ddymunodd na byddai i'w gladdedigaeth fod gyda rhwysg, fel y mae yn arferol yn America, ond yn hytrach rhoi elusen i'r tlodion. Ni allai efe ddywedyd ond ychydig yn ei glefyd, o herwydd natur a sefyllfa ei waeledd; ond ychydig cyn ei ymadawiad, pan yr oedd cyfeillion galarus oblegid eu colled eu hunain, yr eglwys, a'r athrofa, yn ei amgylchynu, efe a ddywedodd, er eu syndod, gan nad oeddynt yn tybied ei fod yn eu clywed hwy, nac yn alluog i lefaru, "Gobeithiwch yn Nuw, ac nid rhaid i chwi ofni:" yna efe a hunedd yn yr Iesu.

Yr ydys yn tybied y bydd i'r darllenydd gael hyfrydwch mawr yn hanes profiadau ein hawdwr, fel yr ysgrifenwyd hwy ganddo ef ei hun; gan hynny, heb wneud un esgusodiad, nyni a ddodwn braidd y cyfan o honynt i lawr.

Yn yr adroddiad hwn, nyni a welwn fod ein hathronwr mawr ac enwog yn hyspysu y modd yr oedd Duw yn ymddwyn tu ag at ei enaid, mewn dull ag sydd yn anadlu gostyngeiddrwydd a diniweidrwydd plentyn bach. "Y mae yn hyfryd neilltuol i sylwi," medd un ysgrifenydd efengylaidd, "fod y philosophydd a'r arddwr, os byddant yn wirioneddol ail-anedig, yn meddu yr un teimlad mewn perthynas i bethau ysprydol, ac yn llefaru yr un iaith: 'y maent oll yn bwytta o'r un bwyd ysprydol, ac yn yfed o'r un graig ysprydol, sydd yn eu canlyn hwy, a'r graig yw Crist.' Hyd onid ydyw y cyffelybrwydd hwnaw mewn profiad, neu, a llefaru mewn iaith gyffelybiaethol, y tebygolrwydd nodedig hynny mewn teulu yn gyrhaeddadwy ym mysg pobl ddychweledig yr Arglwydd, ym mhob yspaid o amser, ac ym mhob cenedl dan y nef. Y maent oll, yn ddilysiant, yn eu hadnabod eu hunain yn hollol ddistrywiol trwy bechod gwreiddiol; y maent hefyd, yn ddilysiant, yn cymmeryd eu noddfa yn nghroes a chyfiawnder Crist; ac yn ymuno i gyflwyno holl glodydd eu hiechydwriaeth yn unig i rydd a phen-arglwyddiaethol ras a thrugaredd y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân."

"Yr oeddwn mewn amrywiol drafferthion, a than amrywiol brofion yn achos fy enaid o'm babandod," medd Mr. Edwards; "ond mi a gefais ddau amser mwy nodedig o ddeffroad cyn i mi gyfarfod â'r cyfnewidiad a'm dygodd i'r tueddiadau a'r ystyriaethau newyddion hynny am bethau a

fegais wedi hynny. Yr amser cyntaf pan oeddwn yn fachgen, rai blynyddoedd cyn i mi fyned i'r Athrofa, mewn amser ag yr oedd deffroad nodedig yn y gynnulleidfa yr oedd fy nhad yn perthyn iddi. Bum y pryd hynny dan lawer o wasgfeuon am amryw fisoedd, ac mewn trafferth mawr ynghylch pethau crefydd, a iachawdwriaeth fy enaid; ac yr oeddwn yn cyflawni lluaws o ddyledswyddau. Byddwn yn myned i'r dirgel i weddïo bum gwaith yn y dydd, ac yn treulio llawer o amser i ymddiddan am grefydd gyda bechgyn eraill, ac yn arfer cyd-ymgyfarfod â hwy i gyd-weddïo. Yr oeddwn yn profi y fath hyfrydwch na's gwyddwn am dano o'r blaen mewn crefydd; yr oedd fy meddwl yn ymdrafferthu llawer gyda hi, ac yr oeddwn yn mwynhau llawer iawn o bleser mewn hunan-gyfiawnder, ac yn cael hyfrydwch mawr mewn amldra o ddyledswyddau. Myfi, a rhai eraill o'm cyd ysgolheigion, a ymunasom i adeiladu lluesty mewn lle neilltuedig mewn cors, i fod yn lle i weddïo. Heblaw hynny, byddai gennyf leoedd dirgel i fyned iddynt ar fy mhen fy hun yn y coed, a byddwn arfer myned iddynt, o amser i amser, dan lawer o wasgfeuon. Yr oedd fy serchiadau yn fywiog ac yn hawdd eu cyffroi, ac yr oeddwn yn fy elfen pan y byddwn yn cyflawni dyledswyddau crefyddol: ac yr wyf yn barod i feddwl fod llawer yn eu twyllo eu hunain gyd â'r fath serchiadau, a'r fath hyfrydwch ag oeddwn i yn ei gael y pryd hynny mewn crefydd, ac, mewn camgymmeriad, yn cymmeryd y fath bethau yn lle gras.

"Ond fy argyhoeddiadau a'm serchawgrwydd a wisgwyd ymaith, ac yr oeddwn wedi hollol golli yr hyfrydwch hwnnw a fuaswn yn ei gael o'r blaen mewn crefydd, ac wedi rhoi heibio 'r weddi ddirgel, o'r hyn lleiaf y cyflawniad gwastadol o honi, ac yr oeddwn wedi troi fel y ci at ei chwydiad, ac yn myned ym mlaen yn ffyrdd pechod. Byddwn ar rai prydiau yn hynod o anesmwyth o herwydd yr agwedd oedd arnaf, yn neilltuol oddeutu y rhan olaf o'r amser y bum yn yr athrofa. Ond fe ryngodd bodd i Dduw, yn y flwyddyn ddiweddaf yr oeddwn yn yr athrofa, mewn amser pan yr oeddwn yn nghanol llawer o anesmwythder meddyliau yn achos fy enaid, fy nal âg eisglwyf *(pleurisy)*; trwy yr hwn y'm dygwyd yn agos i byrth y bedd, ac fe'm hysgydwyd uwch ben pydew dinystr.

"Etto nid hir y bum, wedi cael adferiad o'r afiechyd, heb syrthio drachefn i'm hen lwybrau pechadurus. Ond er hynny nid oedd yr Arglwydd yn gadael i mi fyned ym mlaen mewn tawelwch; canys yr oeddwn yn teimlo ymrysonfeydd mawrion a thanbaid yn fynych yn fy meddyliau; ac wedi llawer o ymladdfeydd â thueddiadau annuwiol, a mynych ymroddiadau ac ymrwymiadau y byddwn yn rhoddi fy hun danynt mewn math o addunedau i Dduw, myfi a roddais heibio yn hollol fy llwybrau pechadurus o'r blaen, a ffyrdd pechodau allanol a hyspys, ac mi a ymroddais i geisio iechydwriaeth fy enaid, ac i ymarfer â dyledswyddau crefydd; ond nid oeddwn yn meddu y serchawgrwydd tu ag attynt, nac yn cael y fath hyfrydwch ynddynt ag a brofaswn o'r blaen. Fy nhrafferth ydoedd yn fwy y pryd hyn mewn ymrysonfeydd ac ymladdfeydd tufewnol, a hunan-ymholiad. Ymofyniad am iechydwriaeth oedd prif orchwyl fy mywyd; ond etto y mae yn ymddangos i mi, fy mod yn ymofyn am hynny mewn dull truenus iawn, yr hyn a barodd i mi betruso rai prydiau wedi hynny, pa un a oedd yn canlyn y fath ymofyniad ras cadwedigol, ai nid oedd; ac yr oeddwn yn ammheuus a fyddai i'r fath ymofyniad truenus byth lwyddo. Ond etto fe'm

dygwyd i ymofyn am iechydwriaeth mewn modd gwahanol i'r hyn y buaswn erioed o'r blaen; ac yr oeddwn yn teimlo fy yspryd yn barod i ymadael â phob peth yn y byd, er mwyn cael rhan yn Nghrist. Fy nhrafferth ynghylch achos fy enaid oedd yn cynnyddu ac yn parhau; etto nid ymddangosodd erioed fod y trafferth oedd arnaf yn addas i'w alw dan yr enw dychryn.

"Yr oeddwn o'm mebyd hyd oni thyfais i fynu â'm meddwl yn arfer bod yn llawn gwrthddadleuon yn erbyn penarglwyddiaeth Duw yn dewis y rhai a fynnai i fywyd tragywyddol, ac yn gadael y rhai a ewyllysiai i fod yn golledig dragywyddol. Byddai hynny yn arfer ymddangos yn athrawiaeth arswydus a brawychus i mi; ond yr wyf yn cofio yr amser yn dda pan y'm hargyhoeddwyd, ac y'm dygwyd i gyflawn gymmod a phenarglwyddiaeth Duw, a'i gyfiawnder yn trefnu sefyllfa dragywyddol dynolryw yn ol ei benarglwyddiaethol ewyllys da. Etto nid wyf byth yn gallu rhoi cyfrif pa fodd, neu trwy pa foddion, y'm hargyhoeddwyd fel hyn; nid oeddwn yn dychymmygu yn y radd leiaf y pryd hynny, nac amser maith wedi hynny, fod dylanwadau anghyffredinol Yspryd Duw yn yr oruchwyliaeth oedd ar fy meddwl: ond yr wyf yn awr yn gweled yn well, ac y mae fy rheswm yn dirnad cyfiawnder a rhesymoldeb athrawiaeth rhaglluniaethiad. Pa fodd bynnag, fy meddwl a ymorphwysodd yn yr athrawiaeth; ac fe roddwyd dibeniad ar y gwrthddadleuon oedd yn aros yn fy meddwl yspaid y rhan a aeth heibio o'm hoes. Ond mi a gefais yn fynych, wedi yr argyhoeddiad cyntaf hwnnw, fath o ystyriaethau eraill am benarglwyddiaeth Duw, hollol wahanol i'r peth oeddwn yn ei gael y pryd hynny. Cefais yn fynych, nid yn unig argyhoeddiad, ond hefyd eglurhad *hyfrydlawn* o'r athrawiaeth. Y mae yr athrawiaeth am benarglwyddiaeth Duw yn ymddangos yn fynych yn hynod o hyfryd, disglaer, a melus gennyf; ac y mae penarglwyddiaeth rydd a hollol yn beth yr wyf yn caru ei briodoli i Dduw. Ond nid oedd fy argyhoeddiad cyntaf gyda hyn."

Y mae y rhan yma o brofiad ein hawdwr ardderchog yn galw i'n hystyriaeth yr eilfed ar bymtheg o Erthyglau Eglwys Loegr, yr hon sydd yn dywedyd—"Y mae duwiol ystyried rhaglluniaeth, a'n hetholedigaeth ni yn Nghrist, yn llawn o ddiddanwch melus, hyfryd, ac annhraethol i'r duwiolion." Felly yn ddiammeu y profodd llawer yr athrawiaeth; ond cofier, mai "duwiol ystyried" rhaglluniaethiad sydd fel hyn yn gysurus; a bod yn rhaid i hynny fod mewn cyssylltiad a phrawf o'n hetholiad yn Nghrist, ac mai i dduwiolion yn unig y mae yn felus ac yn fuddiol; i eraill gall fod yn beryglus, ac y mae yn rhaid ei fod yn boenus. Y mae un duwinydd hawddgar wedi sylwi, "Na ddylai neb fyned i athrofa Rhaglluniaethiad hyd oni byddont wedi bod yn ysgol rammadegol Ffydd ac Edifeirwch."

"Y cyntaf wyf yn ei gofio a gefais erioed o'r fath felusder tufewnol, a hyfrydwch yn Nuw, a phethau dwyfol, yr hyn a fwynheais wedi hynny, ydoedd wrth ddarllen y geiriau hynny yn 1 *Tim.* 1. 17. 'I'r Brenhin tragywyddol, anfarwol, anweledig, yr unig ddoeth Dduw, y byddo yr anrhydedd a'r gogoniant yn oes oesoedd, Amen.' Fel yr oeddwn yn darllen y geiriau, daeth i'm henaid, ac yr ydoedd megis yn ymledaenu trwyddo, y fath ystyriaeth am ogoniant y Bôd Dwyfol ag oedd yn hollol wahanol i ddim a brofais erioed o'r blaen. Ni ymddangosasai yr un geiriau o'r ysgrythyr erioed i mi fel y rhai hyn. Yr oeddwn yn meddwl ynof fy hun, y fath Fôd ardderchog ydyw hwnnw, a pha mor ddedwydd a fyddwn ond i

mi gael mwynhau y Duw hwnnw, a chael fy ngwisgo i fynu ynddo ef yn y nefoedd, a bod megis wedi fy llyngcu i fynu ynddo ef. Yr oeddwn yn cadw y dywediad, ac yn canu y geiriau hyn o'r ysgrythyr wrthyf fy hun, ac mewn gweddi ar Dduw am i mi gael ei fwynhau. Yr oeddwn hefyd yn gweddïo mewn modd hollol wahanol i'r hyn y byddwn yn arfer, sef gyda math o serchawgrwydd newydd; ond nid ydoedd yn dyfod i fy meddyliau byth, fod unrhyw beth o natur gadwedigol ac ysprydol yn hyn.

"Oddeutu yr amser hwnnw, dechreuais gael math o amgyffrediadau a drych-feddyliau newydd am Grist, a gwaith y prynedigaeth, a gogoneddus drefn yr iechydwriaeth trwyddo ef. Yr oeddwn yn cael ystyriaeth melus yn dufewnol o'r pethau hyn, fel y byddai yn dyfod i'm calon ar amserau, ac y byddai fy enaid yn cael ei arwain i olygiadau hyfryd mewn myfyriaeth am danynt. Byddwn yn ymhyfrydu yn fawr i dreulio fy amser i ddarllen a myfyrio am Grist, harddwch ac ardderchawgrwydd ei Berson, a ffordd hawddgar iechydwriaeth trwy rad ras ynddo ef. Nid oedd unrhyw lyfrau mor hyfryd gennyf a'r rhai oedd yn ymdrin â'r testun hwn. Y geiriau hynny yn y Caniadau, 'Rhosyn Saron, a lili y dyffrynoedd ydwyf fi,' a fyddai yn fynych yn fy meddwl. Yr oedd y geiriau yn ymddangos i mi yn hyfryd osod allan brydferthwch a hawddgarwch Iesu Grist. Yr oedd holl Lyfr y Caniadau yn hynod o hyfryd gennyf, a byddwn yn arfer darllen llawer arno oddeutu yr amser hwnnw; a byddwn yn teimlo, o amser i amser, fath o hyfrydwch tufewnol ag a fyddai megis yn fy nghario ymaith mewn myfyriaeth. Byddai yr ystyriaeth a fyddwn yn ei gael o bethau dwyfol, yn fynych yn cynneu math o losgiad melus yn fy nghalon, ac awyddfryd na's gallaf ei fynegi.

"Wedi hyn fy ystyriaeth am bethau dwyfol a gynnyddodd yn raddol, ac a ddaeth yn fwyfwy bywiog, ac mi a gefais fwy o'r hyfrydwch tufewnol hwnnw. Yr oedd ymddangosiad pob peth i mi wedi newid; yr ydoedd yn ymddangos megis yn dawel; yr ydoedd dull hyfryd, neu ymddangosiad dwyfol ogoniant braidd ym mhob peth. Yr oedd ardderchawgrwydd Duw, ei ddoethineb, ei gariad, a'i burdeb yn ymddangos i mi ym mhob peth; yn yr haul, lloer, a'r sêr; yn y cymmylau, a'r awyr las; yn ngwellt y ddaear, y blodau, a'r coed; yn y dwfr, a holl natur, yr hyn bethau y byddai fy meddwl yn arfer sefydlu yn fawr arnynt. Byddwn yn fynych yn arfer myned i eistedd i edrych ar y lleuad, am hir amser; ac felly hefyd y dydd, byddwn yn treulio llawer o amser i edrych ar y cymmylau a'r awyr, ac yn gweled hyfryd ogoniant Duw yn y pethau hyn; ac ar yr un pryd, byddwn yn canu, mewn llais isel, fy myfyriaeth am y Creawdwr a'r Gwaredwr. Nid oedd braidd unrhyw beth ym mysg holl weithredoedd natur mor hyfryd gennyf a mellt a tharanau; ac o'r blaen nid oedd dim mor frawychus gennyf. Yr oeddwn wedi bod yn cael fy nychrynu yn anghyffredinol gan daranau; pan welwn dymhestl taran yn codi, byddwn yn arfer cael fy nharo â dychryn: ond y pryd hyn, yn y gwrthwyneb, yr ydoedd yn fy llawenychu yn ddirfawr. Byddwn yn yr olwg gyntaf ar dymhestl taran yn ystyried Duw, ac yn arfer cymmeryd cyfleusdra, ar y cyfryw amserau, i sefydlu fy hun i edrych ar y cymmylau, ac i weled y mellt yn chwareu, ac i wrando ar fawreddus ac arswydus lais taran Duw, yr hyn yn fynych a fyddai yn hynod o ddifyrrus gennyf, ac yn fy arwain i fyfyrdodau melus am fy Nuw mawr a gogoneddus. Tra y byddwn yn edrych ar y gwrth-

ddrychau hyn, yr oeddwn yn arfer treulio fy amser, fel yr oedd yn ymddangos yn naturiol bob amser mewn canu neu byngcio fy myfyriaeth, a llefaru fy meddyliau wrthyf fy hun mewn llais cân.

"Yr oeddwn y pryd hynny yn teimlo boddlonrwydd mawr mewn perthynas i'm cyflwr; ond nid oedd hynny yn fy ngwneud yn dawel. Yr oedd awydd awchus yn fy enaid am Dduw yn Nghrist, ac am fwy o sancteiddrwydd, o'r hyn yr oedd fy nghalon fel pe buasai yn llawn, ac yn barod i dorri, yr hyn a barodd i mi feddwl yn fynych am y geiriau hynny o eiddo y Salmydd, *Ps.* 119. 20. "Drylliwyd fy enaid gan awydd i'th farnedigaethau. Teimlais fynych alar ac wylofain yn fy nghalon, oblegid na buaswn wedi dychwelyd at Dduw yn gynt, fel y cawswn fwy o amser i gynnyddu mewn gras. Yr oeddwn braidd o hyd mewn myfyriaeth, ac yn treulio y rhan fwyaf o'm hamser i feddwl am bethau dwyfol, y naill flwyddyn ar ol y llall. Yr oeddwn hefyd yn treulio llawer o'm hamser i gerdded ar fy mhen fy hun yn y coed, a lleoedd neilltuedig, i fyfyrio, gweddïo, ac ymddiddan â Duw: a'r modd y byddwn bob amser, ar y fath brydiau, ydoedd canu fy myfyriaeth; ac mi a fyddwn yn wastadol yn anfon saeth-weddïau, pa le bynnag y byddwn. Yr oedd gweddïo yn naturiol i mi, fel anadlu, gyd â'r hyn y byddai llosgiadau tufewnol fy nghalon yn cael agorfa.

"Yr hyfrydwch oeddwn yn ei deimlo ym mhethau crefydd oedd yn hollol wahanol i'r hyn a soniais am dano o'r blaen, ac a gefais pan oeddwn yn fachgen. Yr oedd o hollol wahanol natur; ac nid oedd y dyb, neu y drych-feddyliau, oedd gennyf y pryd hynny ddim mwy am bethau ysprydol nag a all fod mewn un wedi ei eni yn ddall am liwiau prydferth a hardd. Yr oedd yr olwg oeddwn yn ei gael ar bethau yn fwy tufewnol, pur, ac o natur adnewyddawl, ac yn bywiogi fy enaid. Nid oedd yr hyfrydwch blaenorol hynny byth yn cyrhaedd y galon, nac yn tarddu oddiar yr olwg ar ddwyfol ardderchawgrwydd pethau Duw, neu 'r archwaeth, a'r boddlondeb enaid sydd ynddynt."

Y mae yn rhaid caniattau yn ddiammeu fod y gwr enwog hwn yn well barnydd ar ei deimladau ei hun na neb arall; ond yr ydys weithiau yn petruso pa un ai nid oedd ein hawdwr, a rhai dynion enwog eraill, yn camgymmeryd trwy briodoli eu hargyhoeddiad cyntaf, a'u profiad boreu mewn crefydd, i ryw achos arall, ag a ddylai yn hytrach gael ei briodoli i lywiaeth yr Yspryd Glân. Y mae yn sicr nad ydyw yn canlyn, mai oblegid fod ein golygiadau cyntaf ar bethau dwyfol yn fwy aneglur, a'n serchiadau cyntaf yn llai ysprydol, nag wedi hynny eu bod ar y cyfrif hwnnw heb ddeillio o'r un achos. Llewyrchiadau cyntaf gwawr y boreu, a phelydrau yr haul ganol dydd, er eu bod yn gwahaniaethu yn ddirfawr yn ngraddau eu goleuni a'u gwres, sydd yn sicr o'r un natur, ac yn deillio oddiwrth yr un achos. Wedi i'r Arglwydd Iesu iro llygaid y dall ar y cyntaf, efe a ganfu ddynion yn rhodio megis prenau; ond pan ddododd efe ei ddwylaw arno drachefn, efe a ganfu bob dyn yn eglur, *Marc* 8. 24. etto oddiwrth yr un dwylaw y tarddodd y ddau effaith, ac i'r un Gwaredwr yr oedd y gogoniant yn ddyledus o herwydd y ddau.

"Yr oedd fy ystyriaethau am bethau dwyfol yn cynnyddu yn raddol, hyd onid aethum i Gaer Efrog Newydd i bregethu, yr hyn ydoedd oddeutu blwyddyn a hanner wedi iddynt ddechreu. Tra yr oeddwn yno, mi a deimlais oruchwyliaethau o radd uwch o lawer nag a deimlais erioed o'r

[illegible] a sancteiddrwydd oedd yn cynnyddu yn fawr [illegible] a sanctaidd, bur a gostyngedig, oedd yn ymddang[illegible] [illegible] hawddgar. Yr oeddwn yn teimlo ynof ddymuniad [illegible] . [illegible] cyflawn ym mhob peth, ac i fod yr un ffurf a [illegible], ac am gynnorthwy i fyw ym mhob peth yn ol [illegible] a bendigaid yr efengyl. Yr oedd ynof syched awyddus [illegible] y pethau hyn; ac yr oedd fy nymuniadau yn fy ngweithio [illegible] am danynt. Fy nhrafferth barhaus ddydd a nos, [illegible], oedd, pa fodd y byddwn yn fwy sanctaidd, ac [illegible] dichlynaidd, ac yn blentyn mwy addas i Dduw, a [illegible]. Yr oeddwn yn ymgais am gynnyddu mewn gras a sanct[illegible] y byddai i mi fyw bywyd sanctaidd, gyda mwy o ymdrech [illegible] yn ymofyn am ras cyn i mi ei gael. Yr oeddwn yn [illegible] a myfyrio am y ffordd a'r moddion mwyaf tebyg i fyw yn [illegible] gyda mwy o ddiwydrwydd a difrifwch nag y buaswn [illegible] arall yn fy mywyd; ond fy llafur oedd gyda gormod o [illegible] ar fy nerth fy hun, yr hyn wedi hynny a droes allan yn fawr [illegible]. Nid ydoedd fy mhrofiad yn fy nysgu, fel y darfu iddo wedi [illegible] fy mawr wendid ym mhob peth; yr aneirif lygredigaeth[illegible] yn fy nghalon, a dyfnder diwaelod ei thwyll hi. Er hynny ym [illegible] yn myned gyd âg ymgais awyddus am fwy o sancteidd[illegible] gydymffurfiad â Christ.

"[illegible] nefoedd oeddwn yn ei dymuno ydoedd sancteiddrwydd, a [illegible] tragywyddoldeb mewn cariad dwyfol, a chymdeithas sanctaidd â Christ. Fy meddwl oedd yn ymroddi i fyfyriaeth am y nefoedd, a'r hyn y [illegible] thrigolion gwynfydedig yn ei fwynhau; a byw yno mewn sancteidd[illegible] perffaith, gostyngeiddrwydd, a chariad, oedd fy nod i gyrchu atto. Yr oedd yn ymddangos i mi y pryd hynny, mai rhan fawr o ddedwyddwch y nefoedd ydyw, fod y saint yn gallu hyspysu eu cariad at Grist. Rhwystr mawr ac attalfa tufewnol oeddwn yn ei deimlo i hyspysu fy nymuniadau i Dduw, ac i roddi anadl iddynt fel y buaswn yn dymuno. Yr oedd awydd tufewnol fy enaid fel yn cael ei attal a'i gau i fynu, ac nid ydoedd yn cael rhyddid i dorri allan fel y dymunaswn. Byddwn yn fynych yn meddwl fel y byddai yr egwyddor hyfryd yma yn anadlu yn gyflawn ac yn rhydd yn y nefoedd, ac yn hyspysu ei thuedd. Yr oedd y nefoedd yn ymddangos i mi yn hynod o hyfryd, fel gwlad o gariad; ac yr oedd yn ymddangos i mi fod pob dedwyddwch yn gynnwysedig mewn purdeb bywyd, gostyngeiddrwydd nefol, a chariad dwyfol.

"Yr wyf yn cofio y meddyliau a fyddai ynof y pryd hynny am sancteiddrwydd. Byddwn yn arfer ar rai prydiau ddywedyd wrthyf fy hun, Yr wyf yn gwybod yn sicr fy mod yn caru sancteiddrwydd, y fath ag a ddarlunir yn yr efengyl, ac nid oes dim ynddo ond sydd yn hyfryd gennyf, ac yn hawddgar yn fy ngolwg. Yr ydoedd yn ymddangos i mi y prydferthwch a'r hawddgarwch mwyaf; ie, uwchlaw pob prydferthwch arall; ac yr oedd harddwch dwyfol yn fy ngolwg yn llawer purach na dim arall ar y ddaear, a phob peth arall oedd fel tom a budreddi mewn cydmariaeth iddo.

"Sancteiddrwydd, megis yr ysgrifenais i lawr rai o fy ystyriaethau mewn perthynas iddo, oedd yn ymddangos i mi yn hyfryd, o natur dawel, siriol, a boddhaus gennyf; yr ydoedd yn dwyn purdeb, heddwch, a gor-

londedd anhraethadwy i'r enaid; yr ydoedd yn gwneud yr enaid fel gardd Duw, yn dwyn pob math o flodau prydferth, yn mwynhau tawelwch melus, a phelydrau tirion yr haul yn eu bywiogi. Enaid y gwir Gristion, fel yr ysgrifenais yn fy myfyriaeth y pryd hynny, oedd yn ymddangos i mi fel math o flodeuyn bychan, yr hwn yn y gwanwyn sydd yn isel wrth y llawr, yn agor ei fynwes i dderbyn pelydrau hyfryd yr haul gogoneddus, yn llawenychu megis mewn pêr-lesmair tawel, yn gwasgaru oddi amgylch arogl hyfryd, yn sefyll yn heddychol ac yn garedigol yn nghanol blodau eraill oddi amgylch iddo; pawb yn yr un modd yn agoryd eu mynwesau i yfed yn ngoleuni yr haul.

"Nid oedd un rhan o sancteiddrwydd creadur, ag yr oeddwn y pryd hynny, ac amserau eraill, yn ystyried eu hawddgarwch mor fawr a gostyngeiddrwydd, drylliad calon, a thlodi yspryd, ac nid oedd dim ag yr oeddwn yn hiraethu cymmaint am danynt. Fy nghalon oedd yn hiraethu am hyn, sef bod yn isel ger bron Duw, ac yn y llwch, fel y byddai i mi fod yn ddim, ac iddo ef fod yn bob peth, ac i minnau fod fel baban bach. Bum rai prydiau tra yr oeddwn yn Nghaer Efrog Newydd yn hynod o drallodedig wrth ystyried y rhan a aeth heibio o'm bywyd; byddwn yn meddwl pa mor ddiweddar oedd er pan ddaethwn yn wir grefyddol, a pha mor annuwiol y buaswn byw hyd hynny; bum felly unwaith fel y wylais heb beidio am hir amser.

"Ionawr 12, 1723, gwnaethum gyflwyniad difrifol o honof fy hun i Dduw, ac a'i hysgrifenais, gan fy rhoddi fy hun ac oll a feddwn iddo ef, ac byth i ystyried fy hun yn eiddo i mi fy hun mwyach, ac i weithredu fel un heb un hawl ynddo ei hun; ac mi a addunedais yn fwyaf difrifol i gymmeryd yr Arglwydd yn unig ran a dedwyddwch i mi; ac nid oeddwn yn edrych ar ddim arall yn un rhan o'm dedwyddwch, nac yn gweithredu fel pe buasai felly. Cymmerais ei ddeddf ef yn rheol wastadol fy ufudd-dod; ac ymrwymais i ymladd â'm holl egni yn erbyn byd, cnawd, a diafol, hyd ddiwedd fy oes. Ond y mae gennyf achos i ymostwng yn ddirfawr pan yr ystyriwyf mor ddiffygiol y bum i gyflawni fy ymrwymiadau.

"Yr oeddwn y pryd hynny yn cael helaethrwydd o gyd-ymddiddan crefyddol hyfryd yn y teulu yr oeddwn yn byw ynddo, gyda Mr. John Smith, a'i fam dduwiol. Yr oedd fy nghalon wedi ymrwymo gyd â'r rhai hynny ag y byddai arwyddion o wir dduwioldeb ynddynt; ac nis gallwn oddef meddwl am neb arall yn gyfeillion, ond y rhai ag a fyddai yn sanctaidd, ac yn ddisgyblion i'r Iesu bendigedig. Yr oeddwn yn dra awyddus am ddyrchafiad a lledaeniad teyrnas Crist yn y byd; a'm gweddïau dirgel oedd yn bennaf am hynny. Os clywn y crybwylliad lleiaf am unrhyw ddigwyddiad yn un rhan o'r byd ag a fyddai yn ymddangos mewn rhyw ystyr i mi yn tueddu at ehangu teyrnas Crist, byddai fy enaid yn ymaflyd yn awyddus yn hynny, ac fe fyddai yn adfywiad mawr ac adnewyddiad i mi. Yr oeddwn gyd âg awydd yn darllen y newyddion cyffredin, i edrych a ganfyddwn ryw beth a fyddai yn debyg o fod yn gynnorthwyol i ledaenu yr achos crefyddol yn y byd.

"Byddwn yn ymneillduo yn fynych i le dirgel ar geulan yr Afon Hudson, i fyfyrio ar bethau dwyfol, ac i gyfeillachu yn ddirgelaidd â'r Arglwydd; ac mi a fwynheais lawer o oriau melus yno. Byddai Mr. Smith a minnau yn rhodio ynghyd rai prydiau i gydymddiddan am bethau Duw; a'n hymddiddan yn fynych a fyddai am ddyrchafiad teyrnas Crist yn y byd,

a'r pethau gogoneddus a addawodd Duw eu cyflawni i'w eglwys yn y dyddiau diweddaf. Yr oeddwn yn cael mwy o hyfrydwch yn yr ysgrythyrau sanctaidd nag mewn unrhyw lyfr; ac yn fynych wrth eu darllen byddai pob gair yn cyffwrdd â'm calon. Byddwn yn teimlo rhyw beth yn fy nghalon yn cydgordio â'r geiriau melus ac awdurdodol hynny. Yr oedd cymmaint o oleuni yn ymddangos i mi yn fynych trwy bob ymadrodd a ddarllenwn, a'r fath ymborth adfywiol yn cael ei roddi i mi, fel nas gallwn fyned ym mlaen. Byddwn yn sefyll yn hir uwch ben un ymadrodd, i edrych ar y rhyfeddodau a fyddai yn gynnwysedig ynddo; ac etto byddai braidd bob ymadrodd yn ymddangos yn llawn rhyfeddodau i mi.

"Ymadewais â Chaer Efrog Newydd yn Ebrill 1723, ac yr ydoedd yn ymwahaniad mwyaf gofidus i mi oddiwrth Mrs. Smith a'i mab. Yr oedd fy nghalon fel pe buasai ar suddo ynof wrth ymadael â'r teulu a'r ddinas lle y mwynheais gymmaint o ddyddiau melus a hyfryd. Aethum o Gaer Efrog Newydd i Weathersfield ar hyd y dwfr. Fel yr oeddwn yn hwylio ymaith, yr oeddwn yn cadw golwg ar y ddinas cyhyd ag y gallwn; a phan gollais yr olwg arni, yr oedd edrych tu ag atti yn cenhedlu effeithiau dwys ar fy meddwl, yn gymmysg o brudd-der a melusder. Er hynny wedi yr ymadawiad gofidus, mi a gysurwyd yn fawr yn Nuw y nos hono yn Westchester, lle yr aethom i'r lann i lettya; a'r canlyniad a fu i mi gael amser hyfryd yr holl fordaith i Saybrook. Yr oedd yn hyfryd gennyf feddwl am gael cyfarfod â Christionogion anwyl yn y nefoedd, lle na byddai yn rhaid i mi ymadael mwy. Aethom i'r lann ddydd Sadwrn yn Saybrook i lettya; cadwasom sabboth yno, lle y cefais adfywiad melus a hyfryd wrth rodio ar fy mhen fy hun yn y meusydd.

"Wedi i mi ddychwelyd adref i Windsor, yr oedd agwedd fy meddwl yn parhau yn gyffelyb fel yr oedd yn Nghaer Efrog Newydd; ond yn unig y byddwn ar amserau yn teimlo fy nghalon yn barod i suddo wrth feddwl am fy nghyfeillion yno: a fy noddfa a'm cynnaliaeth oedd mewn myfyriaeth am y sefyllfa nefol, fel yr wyf yn canfod yn fy nydd-lyfr, Mai 1, 1723. Yr ydoedd yn gysur i mi feddwl am y sefyllfa honno, lle y mae cyflawnder o lawenydd, a'r lle y mae tawelwch nefol yn teyrnasu, a chariad hyfryd yn ddidrai; lle y mae hyspysiadau anwylaf cariad yn cael eu datgan yn wastadol; lle y mae y rhai a garwyd yn mwynhau heb ymwahanu mwy; lle y mae y personau hynny ag sydd yn ymddangos mor hawddgar yn y byd hwn, ac a fyddant yno yn annhraethadwy fwy hawddgar, ac yn gyflawn o gariad tu ag attom ni. A pha mor hyfryd y bydd y rhai hynny ag sydd yn caru eu gilydd yn ymuno i ganu mawl i Dduw a'r Oen. Pa mor gyflawn y llenwir ni o lawenydd wrth feddwl am y mwynhad hwn, yr ymarferiadau hyfryd hynny pa rai na bydd byth derfyn iddynt, ond a barhant i dragywyddoldeb.

"Yr oedd agwedd fy meddwl yn gyffelyb i'r hyn ydoedd yn Nghaer Efrog Newydd, hyd onid aethum i fyw i New Haven, i fod yn Athraw yr Athrofa. Cefais hyfrydwch anghyffredinol yn Bolton, wrth rodio ar fy mhen fy hun yn y meusydd, pan yr oeddwn ar fy nhaith o Boston. Wedi i mi fyned i New Haven, myfi a ymollyngais yn fawr mewn crefydd; yr oedd fy meddwl wedi amrywio oddiwrth yr awydd tanbaid am sancteiddrwydd, trwy ryw oruchwyliaeth oedd gennyf, yr hyn a barodd drallod a helbul dirfawr i fy meddwl.

"Yn Medi 1725, cymmerwyd fi yn glaf yn New Haven; ac wrth geisio myned adref i Windsor, aethum mor wael yn North Village, fel nad allwn fyned y'mhellach; bum yn gorwedd yn glaf yno oddeutu chwarter blwyddyn. Yn y clefyd hwn rhyngodd bodd i Dduw ymweled â mi drachefn â dylanwadau melus ei Yspryd. Yr oedd fy meddwl yn mawr ymroddi i fyfyriaeth hyfryd ar bethau dwyfol; ac yr oeddwn yn sylwi ar y rhai ag oedd yn aros ar eu traed y nos gyda mi, y byddent yn fynych yn edrych allan am y boreu, ac yn ymddangos fel yn ei fawr ddymuno; yr hyn oedd yn dwyn i fy meddwl y geiriau hynny o eiddo y Psalmydd, y rhai hefyd yr oeddwn gyda hyfrydwch yn eu cymmeryd i fod yn iaith i'm henaid: 'Fy enaid sydd yn disgwyl am yr Arglwydd yn fwy nag y mae y gwylwyr am y bore; yn fwy nag y mae y gwylwyr am y bore.' A phan y deuai goleuni y bore, a phelydran yr haul i lewyrchu yn y ffenestri, byddai yn adfywiad i'm henaid o'r naill fore i'r llall: byddai yn ymddangos i mi yn rhyw ddelw o hyfryd lewyrchiadau gogoniant Duw. Oddeutu yr amser hwnnw yr oeddwn yn hiraethu yn fawr am weled rhyw rai ag yr oeddwn yn dwyn perthynas â hwy yn cael eu dychwelyd. Yr oedd yn ymddangos i mi y buaswn gyda hyfrydwch yn eu gwasanaethu, a rhoddi pob anrhydedd iddynt, a gorwedd wrth eu traed, pe buasent yn wir sanctaidd. Ond ym mhen rhyw amser wedi hyn, fe ddyryswyd fy meddwl yn ddirfawr drachefn gyda rhyw achosion bydol, y rhai oedd yn dwyn gormod o fy meddyliau, ac yn archolli fy enaid yn fawr. Aethum trwy amryw ymarferiadau ag a fyddai yn anaddas i'w mynegi; ond a roisant i mi fwy o brawf o drueni fy nghalon fy hun nag a gawswn erioed o'r blaen.

"Wedi i mi ddyfod i Northampton, cefais fynych ymfoddloniad hyfryd yn Nuw, ac yn yr olwg ar ei berffeithiau gogoneddus ef, ac ardderchawgrwydd Iesu Grist. Yr oedd Duw yn ymddangos i mi yn Fôd hawddgar a gogoneddus, yn bennaf ar gyfrif ei sancteiddrwydd. Ei sancteiddrwydd ef oedd yn ymddangos i mi yn wastadol yn fwyaf prydferth o'i holl briodoliaethau. Yr athrawiaethau am ben-arglwyddiaeth a rhad ras Duw, yn trugarhau wrth y neb y mynno, a'r hollol angenrheidrwydd i ddyn ymddibynnu ar weithrediadau Yspryd sanctaidd Duw, oeddynt yn fynych iawn yn ymddangos i mi yn athrawiaethau hyfryd a gogoneddus. Y gwirioneddau hyn oedd fy hyfrydwch beunydd. Yr oedd pen-arglwyddiaeth Duw yn ymddangos i mi fel rhan fawr o'i ogoniant; yr oedd yn felus gennyf fyned atto ef yn fynych, a'i addoli fel Duw pen-arglwyddiaethol, a gofyn trugaredd ben-arglwyddiaethol ganddo. Yr oeddwn yn caru athrawiaethau yr efengyl; yr oeddynt i'm henaid fel porfa las. Yr oedd yr efengyl yn ymddangos i mi y trysor cyfoethoccaf, y trysor ag oeddwn yn ei ddymuno yn bennaf, ac yn hiraethu am iddo breswylio yn helaeth ynof. Y mae ffordd iechydwriaeth trwy Grist yn ymddangos mewn ystyr gyffredin yn ogoneddus ac ardderchog, yn dra hyfryd a phrydferth. Yr oedd yn ymddangos i mi yn fynych y byddai yn anrhaith mewn mesur mawr ar y nefoedd ei derbyn mewn unrhyw ffordd arall. Y testun hwnnw a fu lawer gwaith o fawr hyfrydwch i mi; 'A gwr a fydd yn ymguddfa rhag y gwynt, ac yn lloches rhag y dymestl.' *Esa.* 32. 2.

"Bod mewn undeb â Christ oedd yn ymddangos i mi beunydd y peth mwyaf hyfryd; ei gael ef yn ben, a bod yn aelod o'i gorph; ac hefyd ei gael ef yn brophwyd ac yn athraw. Bum lawer gwaith yn meddwl, ac yn

hiraethu gyda dymuniad enaid, am fod fel baban bychan, yn cymmeryd gafael yn Nghrist, a chael fy arwain ganddo trwy anialwch y byd hwn. Y geiriau hynny a fyddai yn fynych yn felus iawn i mi: 'Oddieithr eich troi chwi, a'ch gwneuthur fel plant bychain,' &c. Yr oeddwn yn hoffi meddwl dyfod at Grist i dderbyn iachawdwriaeth ganddo ef, yn dlawd yn yr yspryd, ac yn hollol ddiddim ynof fy hun; ac mewn gostyngeiddrwydd ei ddyrchafu ef yn unig; a chael fy nhorri yn hollol oddiar fy ngwreiddyn fy hun, a derbyn modd i gynnyddu o Grist, ac iddo; a chael Duw oll yn oll ynddo ef; a byw trwy ffydd Mab Duw, ie, byw bywyd gostyngedig, a hyder diffuant ynddo ef. Yr ysgrythyr honno a fyddai yn felus i mi yn fynych; *Ps.* 115. 1. 'Nid i ni, O Arglwydd, nid i ni, ond i'th enw dy hun dod ogoniant, er mwyn dy drugaredd, ac er mwyn dy wirionedd.' A'r geiriau hynny o eiddo Crist, *Luc* 10. 21. 'Yr awr honno yr Iesu a lawenychodd yn yr yspryd, ac a ddywedodd, Yr wyf yn diolch i ti, O Dad, Arglwydd nef a daear, am guddio o honot y pethau hyn oddiwrth y doethion a'r deallus, a'u datguddio o honot i rai bychain: yn wir, O Dad; oblegid felly y gwelid yn dda yn dy olwg di.' Y pen-arglwyddiaeth hwnnw o eiddo Duw ag yr oedd Crist yn llawenychu o'i herwydd, sydd yn ymddangos yn deilwng i lawenychu ynddo; ac yr oedd y llawenydd hwnnw yn Nghrist yn dangos ei ardderchawgrwydd ef, ac o ba yspryd yr oedd efe.

"Nid oddiar obaith fod fy nghyflwr yn dda yr oedd melusder y gorfoledd a'r hyfrydwch oeddwn yn ei brofi yn tarddu, ond oddiar olwg uniongyrchol ar ogoniant pethau yr efengyl. Pan y byddwn yn mwynhau yr hyfrydwch hwn, byddwn yn cael fy nghipio uwchlaw y meddyliau am fy niogelwch fy hun, fel na allwn oddef tynnu fy ngolwg oddiar y gwrthddrych gogoneddus a fyddwn yn ei ganfod oddi allan i mi, i droi i edrych i mewn i mi fy hun, a'm cyflwr dedwydd."

Y mae y fath nodiadau yn aml i'w gweled yn ysgrifeniadau duwinyddion Lloegr Newydd, ac nid oes gennym un hawl i wadu yr hyn y maent yn ei honni mewn perthynas i'w profiadau. Ond pan y byddo cyrhaeddiadau o'r natur yma yn cael eu gwneud yn faen prawf i Gristionogaeth a gwir ras, y mae yr achos yn cael ei garrio yn rhy bell. Y mae yn wir fod cariad at Dduw goruwch pob peth yn hanfodol i bob gwir grefydd; ond yn hytrach, yn lle ein haddysgu i edrych heibio, neu ddibrisio, ein hiechydwriaeth ein hunain, y mae yn anhepcorol gynnwysedig ynddo ein tueddu i edrych ar y ffordd i'n diogelu, fel un o'r cyfryngau pennaf, trwy yr hyn y mae gogoniant Duw yn cael ei amlygu. Er hynny y mae amserau ar y Cristion, yn mha rai y mae ei feddwl yn cael ei lyngcu i fynu mewn myfyriaeth ar harddwch a phrydferthwch priodoliaethau Duw, fel nad yw yn gwneuthur un sylw uniongyrchol ar un gwrthddrych arall; a pheth felly, y mae yn debyg, yw meddwl yr awdwr ardderchog hwn yn yr hyn y mae yn ei ddywedyd.

"Fy nghalon oedd yn ymroddi i edrych am ehangiad teyrnas Crist yn y byd; yr hanesiaeth am ei llwyddiant mewn amserau blaenorol oedd yn hyfryd iawn gennyf. Pan y byddwn yn darllen hanesiaeth yr oesoedd a aethant heibio, y peth mwyaf hyfryd o bob peth i mi fyddai darllen am y modd y byddai teyrnas Crist yn cael ei dwyn ym mlaen: a phan y byddwn yn disgwyl dyfod at unrhyw beth o'r natur hynny, byddwn yn syllu arno, fel y byddwn yn darllen. Byddwn yn cael hyfrydwch a difyrrwch mawr

yn yr addewidion a'r prophwydoliaethau ysgrythyrol am ehangiad gogoneddus teyrnas Crist mewn amser i ddyfod. Byddwn rai prydiau yn cael golygiadau ar ardderchawgrwydd a chyflawnder Crist, a'i gymmwysder trwy yr hyn y byddai yn ymddangos i mi fel Gwaredwr, ym mhell uwchlaw pob peth, yn rhagori ar ddeng mil. Y cymmod a wnaeth trwy ei waed oedd werthfawr gennyf, a'i gyfiawnder hefyd yn hyfryd; ac mi a fyddwn yn llawn o ymrysonfeydd tufewnol, ac anadliadau, ac ocheneidiau, na s gallaf eu hadrodd, am gael fy ngwaghau o honof fy hun, a'm llyngcu i fynu yn Nghrist.

"Unwaith yn y flwyddyn 1737, fel yr oeddwn yn marchogaeth ar farch yn y coed, er mwyn fy iechyd, disgynais, fel y byddwn yn arfer, mewn lle neillduedig, i weddïo, a myfyrio ar bethau dwyfol, dan gerdded, cefais olwg anghyffredinol i mi ar ogoniant Mab Duw, fel Cyfryngwr rhwng Duw a dyn; a'i ryfeddol ymddarostyngiad, yn llawn gras, purdeb, a llarieidd-dra. Ac mor hyfryd a thawel yr oedd y gras hwn yn ymddangos ym mhell uwchlaw y nefoedd. Yr oedd Person Crist yn ymddangos gyd ag ardderchawgrwydd digonol i lyngcu i fynu iddo ei hun bob meddyliau a dirnadaethau, yr hyn a barhaodd, cyn belled ag y gallaf farnu, oddeutu awr o amser: yr olwg oeddwn yn ei gael a'm cadwodd y rhan fwyaf o'r amser mewn llif o ddagrau, ac wylofain uchel. Yr oeddwn hefyd yn teimlo awydd enaid i fod, yr hyn na's gallaf gael geiriau i fynegi, yn amgen na bod yn ddiddim ynof fy hun, a'm gwaghau, a gorwedd yn y llwch, a'm llenwi o Grist yn unig; ei garu ef â chariad pur a sanctaidd, gobeithio ynddo, a byw arno, a'i wasanaethu a'i ganlyn, a fy hollol amwisgo yn ei gyfiawnder ef, a'm sancteiddio yn berffaith, a'm puro â phurdeb dwyfol a nefol. Cefais, amrywiol amserau eraill, olygiadau o gyffelyb natur, a'r un effeithiau yn eu canlyn.

"Cefais ystyriaethau neillduol amryw weithiau am ogoniant y trydydd Person yn y Drindod, yn ei swydd fel sancteiddydd, yn ei weithrediadau sanctaidd yn cyfrannu bywyd a goleuni i'r enaid. Yr oedd Duw yn ymddangos i mi, mewn cyfraniadau o'i Yspryd sanctaidd, fel ffynnon o anfeidrol ogoniant a hyfrydwch; yn gyflawn ddigonol i lenwi yr enaid, a'i ddigoni; yn ei dywallt ei hun mewn cyfraniadau hyfryd, fel yr haul yn ei ogoniant, yn lledaenu goleuni hyfryd, a bywyd melus. Cefais, ar rai prydiau, ystyriaethau effeithiol o ardderchawgrwydd gair Duw, fel gair y bywyd; fel goleuni y bywyd; gair ardderchog, yn dwyn bywyd hyfryd; ac yn ei ganlyn yr oedd arnaf syched am dano, fel y byddai iddo breswylio yn helaeth yn fy nghalon. Cefais yn fynych olwg effeithiol ar fy mhechadurusrwydd a'm gwaeledd, er pan ddaethym i'r dref hon i fyw; ïe, mynych iawn, hyd oni byddwn yn wylofain yn uchel, ar rai prydiau, am yspaid o amser ynghyd; o herwydd yr hyn y bu orfod i mi, yn fynych iawn, fy nghau fy hun i fynu. Cefais ystyriaethau mwy o lawer o'm hannuwioldeb, a drygioni fy nghalon, nag a gefais erioed o'r blaen, er pan y'm dychwelwyd. Mynych yr ymddangosodd i mi, pe buasai Duw yn craffu ar anwiredd yn fy erbyn, buaswn yn ymddangos y gwaethaf o holl ddynolryw ag a fu yn y byd, o'i ddechreuad hyd yr amser presennol—ac y buaswn yn is o lawer na neb yn uffern. Etto nid ydwyf, yn y radd leiaf, yn tueddu i feddwl fod fy argyhoeddiad o bechod yn fwy na chyffredin. Yr wyf yn gwybod, yn sicr, mai ychydig iawn ydyw fy ystyriaeth o'm pechadurusrwydd; ac nad

o herwydd fy mod yn cael mwy o argyhoeddiad o bechod na Christionogion eraill, y mae fy mhechodau yn ymddangos mor fawr i mi; ond oblegid fy mod yn waeth, ac yn meddu llawer mwy o ddidduwiaeth.

"Yr oeddwn yn ddiweddar yn hiraethu yn ddirfawr am galon ddrylliog, ac am orwedd yn isel ger bron Duw. A phan y byddwyf yn gofyn gostyngeiddrwydd gan Dduw, ni's gallaf gynnwys y meddwl am fod yn fwy gostyngedig na Christionogion eraill. Y mae yn ymddangos i mi, er fod y graddau o ostyngeiddrwydd, ag y maent hwy yn ei feddu, yn gweddu iddynt, etto, y byddai yn hunan-ymddyrchafiad ffiaidd ynof fi i beidio bod yn is mewn gostyngeiddrwydd na holl ddynolryw. Bydd eraill yn dywedyd, eu bod yn hiraethu am ymostwng i'r llwch: er y gall y fath ddywediad fod yn addas iddynt hwy, etto, byddaf fi yn wastad yn meddwl am danaf fy hun, y dylwn ymostwng i lawr yn is nag uffern. Y mae y dywediad hwn yn naturiol i mi, er's hir amser, ei arfer mewn gweddi ar Dduw. Myfi a ddylwn orwedd yn anfeidrol isel ger bron Duw."

Y mae yn ymddangos fod Mr. Edwards yn arfer gormodiaith ar y pen hwn: ond er hynny y mae yn dysgu i ni fod gwir ras yn darostwng un yn ddirfawr yn ei olwg ei hun. Yr oedd yr apostol mawr yn ei olygu ei hun y "pennaf o bechaduriaid," ac yn "llai na'r lleiaf o'r holl saint." Er hynny gellir arfer ymadroddion gormodol ar unrhyw beth; y fath y gellir golygu y rhai hynny, "ymostwng yn is nag uffern," neu "yn anfeidrol isel." Y mae yr hawddgar a'r gostyngedig Dr. Watts yn darlunio y gostyngeiddrwydd sydd i fod yn gynnwysedig mewn dyn yn "y farn gywir a ddylai fod ganddo am dano ei hun," ac nid mewn unrhyw ddirywiad a wna arno ei hun. Yr ydym oll yn gymmaint dyledwyr i drugaredd ddwyfol, fel nad oes ond ychydig berygl mewn gormodiaith ar y pen hwn; er hynny nid oes achos suddo iaith islaw gallueiddrwydd i'w hystyr.

"Cefais yn ddiweddar fwy o ystyriaeth o'm hollol a chyffredinol ymddibyniad ar ras Duw, a'i ewyllys da, nag a fyddwn arfer ei gael o'r blaen; a chefais brofiad helaethach o ffieidd-dra fy hunan-gyfiawnder. Y meddwl am ryw gysur neu orfoledd oddiar ystyriaeth neu olygiad ar unrhyw hawddgarwch ynof fy hun, neu rai o'm cyflawniadau a'm profiadau, neu unrhyw ddaioni yn fy nghalon neu fy muchedd, sydd ffiaidd ac atgas gennyf: ac etto yr wyf yn cael fy mlino yn fawr gan yspryd balch hunan-gyfiawn, ac yn llawer mwy teimladwy o hono nag oeddwn o'r blaen. Yr wyf yn gweled y sarph honno yn ymgyfodi ac yn estyn allan ei phen yn wastadol ym mhob man oddi amgylch i mi.

"Er fod yn ymddangos i mi fy mod yn llawer gwell Cristion, mewn rhyw ystyriaethau, ym mhen dwy neu dair blynedd wedi fy nhroedigaeth gyntaf, nag ydwyf yn bresennol, a fy mod yn byw mewn mwynhad mwy gwastadol o bethau dwyfol; etto er's ychydig flynyddau yn ol cefais ystyriaeth fwy cyflawn a gwastadol o hollol ben-arglwyddiaeth Duw, a mwy o hyfrydwch yn ei ben-arglwyddiaeth ef; a chefais hefyd fwy o ystyriaethau am ogoniant Crist, fel Cyfryngwr, megis y datguddir ef yn yr efengyl. Un nos Sadwrn yn neilltuol cefais ddatguddiad o ardderchawgrwydd efengyl Crist, uwchlaw pob athrawiaeth arall, fel nas gallwn lai na dywedyd wrthyf fy hun, Dyma fy ngoleuni dewisol, a fy newisol athrawiaeth: ac am Grist, Hwn ydyw fy mhrophwyd dewisol. Nos Sadwrn arall cefais y fath ystyriaeth pa mor hyfryd a dedwydd ydyw cael rhodio yn llwybrau dyled-

swyddau, fel y parodd i mi waeddi allan, O mor ddedwydd ydyw y rhai sydd yn gwneuthur yr hyn sydd uniawn yn ngolwg Duw. Y maent hwy yn wir wynfydedig, hwy ydynt y rhai dedwydd! Cefais ar yr un pryd ystyriaeth effeithiol pa mor addas ydyw i Dduw i lywodraethu y byd, a threfnu pob peth yn ol ei ewyllys da ei hun; ac yr oeddwn yn llawenychu yn hynny, gan fod Duw yn teyrnasu, a bod ei ewyllys ef yn cael ei wneuthur."

Yma y terfyna profiadau anghyffredinol ein hawdwr, ac mewn ffordd o ocheliad i Gristionogion cywir ag a fyddo islaw iddo ef yn eu profiadau, yr ydym yn deisyf arnynt ystyried mai *anghyffredinol* ydoedd ei brofiadau ef; ac mai ychydig o Gristionogion a geir yn gydradd ag ef yn eu cyrhaeddiadau mewn bywyd crefydd, yn enwedig yn meddu y fath gydnabyddiaeth o'r ewyllys dwyfol, a chyflwyniad calon i'r Gwaredwr. Ond na fydded i ni gymmeryd ei brofiad ef, nac un dyn arall, fel maen prawf penderfynol i brofi diogelwch ein cyflwr, neu wirionedd ein dychweliad. Gair Duw ydyw ein rheol ni, a'r unig reol y gallwn gyda sierwydd bwyso arni. Y mae cynnifer o wahanol raddau o gynnydd mewn gras ag sydd mewn natur; yr oedd y disgybl anwyl yn ysgrifennu at blant bychain, gwyr ieuaingc, a thadau yn Nghrist. Ac nid oes dim llai amrywiaeth yn null yr Yspryd Sanctaidd yn gweithredu. "Y mae y gwynt yn chwythu lle y mynno," medd yr athraw mawr, "a thi a glywi ei swn ef; ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned: felly mae pob un a'r a aned o'r Yspryd." *Ioan* 3. 8. Mor rhydd, mor ben-arglwyddiaethol, mor amrywedd ac anamgyffredadwy, ydyw goruchwyliaethau dwyfol ras; ond nid ydyw y sylw hwn wedi ei fwriadu i dueddu neb i ymorphwys yn dawel ar yr hyn y mae wedi cyrhaedd iddo. Y mae nid yn unig yn ddyledswydd ar y credadyn i ymestyn at berffeithrwydd, ond hefyd y prawf goreu ei fod yn wir Gristion ydyw ei fod felly. *Heb.* 6. 1.

Ond i alw sylw y darllenydd yn unig ar un nodiad arall ar yr hanes blaenorol, sef, fod testun y gwaith canlynol, Hanes Gwaith y Prynedigaeth, yn un o'r pyngciau mwyaf hoff gan ein hawdwr am hir amser i fyfyrio arno. Yr ydoedd yn ymhyfrydu, fel y gwelsom yn ei hanes, yn addewidion a phrophwydoliaethau yr ysgrythyr, am ehangiad gogoneddus teyrnas Crist yn y dyddiau diweddaf ar y ddaear. Ac y mae i sylwi arno yn nodedig ym mysg pethau eraill ag yr oedd yn gwrthddadleu o'u plegid rhag cymmeryd y swydd o arolygu Athrofa New Jersey, yr oedd hwn yn un—"Y mae wedi bod ar fy meddwl a'm calon, yr hyn a ddechreuais er's talm, nid gyda golwg i'w gyhoeddi, waith mawr, yr hwn yr wyf yn ei alw Hanes Gwaith y Prynedigaeth;" ac efe a alluogwyd o'r diwedd i gyflawni y gorchwyl hwn.

Nyni a ddibenwn hanes Mr. EDWARDS gyd â'r pethau canlynol ag oedd yn ansawdd ei fywyd, a'i nodweddiad.

Er nad oedd efe o ran ansawdd ei gorph ond dyn tyner a meddal, etto ychydig fyfyrwyr oedd yn gallu ymroddi i fyfyriaeth yn fwy dibaid nag ef. Efe a dreuliai yn gyffredin dair awr ar ddeg o'r pedair ar hugain yn ei fyfyrgell. Ei ddifyrwch mwyaf cyffredin yn yr haf fyddai marchogaeth ar geffyl a cherdded: byddai yn gyffredin ar ol ciniaw, oddieithr iddo gael ei attal gan gyfeillion, yn myned ddwy neu dair milltir ar geffyl i le neillduedig yn y coed, ac yno yn disgyn i gerdded am ychydig. Byddai ar yr amserau hynny yn gyffredin yn cario ei ysgrifell a'i inc gyd âg ef, i gofnodi

unrhyw beth a ddeuai i'w feddwl yn werth ei ddilyn. Yn y gauaf byddai yn arfer bron bob dydd gymmeryd bwyall i naddu coed am oddeutu hanner awr neu ychwaneg. Yr oedd ynddo syched anarferol am wybodaeth, ac nid oedd yn arbed na thraul na phoen i'w chyrhaeddyd. Byddai yn darllen pob llyfrau a gaffai afael ynddynt, yn neillduol llyfrau duwinyddiaeth, ym mha rai y byddai yn disgwyl cael help i'w ymofyniad am wybodaeth. Nid oedd yn ei gyfyngu ei hun i ddarllen awdwyr o unrhyw sect neu blaid neillduol, ond efe a gymmerai lawer o drafferth i gael gafael yn llyfrau yr awdwyr mwyaf enwog, cynllun duwinyddiaeth pa rai a fyddai yn fwyaf gwrthwyneb i'w egwyddorion ef ei hun: ond yr oedd yn myfyrio mwy ar y Bibl nag ar bob llyfrau eraill, ie, mwy hefyd nag y mae y rhan fwyaf o dduwinyddion eraill yn fyfyrio arno. Ei gydnabyddiaeth anghyffredinol â'r ysgrythyrau sydd yn ymddangos yn ei bregethau, ac yn y rhan fwyaf o'i draethodau, a'i lafur mawr mewn myfyriaeth, sydd yn amlwg yn ei nodiadau ysgrifenedig ar y Bibl. Yr oedd rhai nad oedd ganddynt ond adnabyddiaeth ammherffaith o hono yn tybied mai dyn anghymdeithasgar oedd; ond yr oedd hynny i'w briodoli i ddiffyg gwell adnabyddiaeth o hono. Y mae yn wir nad oedd efe yn ddyn siaradus, a'i feddyliau a gadwai iddo ei hun yn mysg dieithriaid; ond efe a roddai heibio hug ei feddyliau y'mysg y rhai y proffesai eu hynawsedd a'u cyfeillgarwch, ac a ymddygai yn fwyaf rhydd ac agored, ac yn hynod amyneddgar pan y gwrthwynebid ef. Nid oedd yn arfer treulio amser i enllibio ac athrodi, nac i adrodd ymadroddion ffol a choeg-ddigrifwch; ond genau y cyfiawn oedd ei enau ef, yn dwyn allan wybodaeth, a'i wefusau a wasgarent wybodaeth; fel na byddai neb o'i gyfeillion yn mwynhau ei gymdeithas heb gael buddioldeb a lles, os na byddai iddynt eu hunain fod mor ffoius a pheidio ei dderbyn. Yr ydoedd yn ei gadw ei hun yn hollol rydd oddiwrth ofalon bydol, ac yn gadael achosion tymhorol ei deulu bron yn hollol i ofal Mrs. Edwards; yr hon oedd yn fwy medrus na'r rhan fwyaf o'i rhyw i gymmeryd y fath ofal i'w dwylaw ei hun.

Fel hyn y bu gwrthddrych ardderchog y cofiant hwn fyw yn addurn i'r nodweddiad a'r enw Cristionogol, a'i farwolaeth oedd yn cydgordio yn berffaith â rhodiad ei fywyd.

# CYNNWYSIAD.

## DOSPARTH III.



---

Gwallau.—Tu dal. 1. llin. 22. yn lle hysa *dar.* hysu.—Tu dal. 9. llin. 10. yn lle *a* ellir *dar.* gellir.—Tu dal. 36. llin. 31. yn lle *yn* ddaear *dar.* *y* ddaear.—Tu dal. 46. llin. 40. yn lle yn nodedig *dar.* yn *fwy* nodedig.—Tu dal 56. llin. 36. yn lle planhigion *dar.* planhigyn.—Tu dal. 68. llin. 32. yn lle hynny wrth yr Arglwydd *dar.* *am lynu* wrth yr Arglwydd.—Tu dal. 218. llin. 16. yn lle dwy flynedd ar bymtheg *dar.* dwy flynedd ar bymtheg ar *hugain.*—Tu dal. 230. llin. 37. yn lle *wrth* dybiau *dar.* *i gyfatteb* â thybiau.—Tu dal. 245. llin. 17. yn lle ym *dar.* ymuno.—Tu dal 271. llin. 38. yn lle at ystyriaeth *dar.* at ystyriaeth *ei ganlynwyr.*—Tu dal. 276. llin. 23. yn lle addurno *dar.* addurna.

HANES

# GWAITH Y PRYNEDIGAETH.

---

ESAIAH li. 8.

"Canys y pryf a'u bwytty fel dilledyn, a'r gwyfyn a'u hysa fel gwlan: eithr fy nghyfiawnder a fydd yn dragywydd, a'm hiachawdwriaeth o genhedlaeth i genhedlaeth."

DIBEN y bennod hon ydyw cysuro yr eglwys sydd dan erlidigaethau a dioddefiadau oddiwrth ei gelynion; a'r rhesymau a ddefnyddir er ei diddanwch, ydyw dianwadalwch a pharhad trugaredd Duw tu ag atti, yr hyn a amlygir mewn parhau i weithredu iachawdwriaeth iddi, a'i hamddiffyn yn erbyn holl ymgyrch ei gelynion, a'i harwain yn ddiogel trwy holl gyfnewidiadau y byd, ac yn ddiweddaf ei choroni â buddugoliaeth ac â gwaredigaeth.

Yn y testun, y mae y dedwyddwch hwn i eglwys Dduw yn cael ei osod allan trwy ei gydmaru â'r aflwydd gwrthwyneb a oddiwedda y gelynion sydd yn ei gorthrymmu. Ac yn hynny ni a allwn sylwi,

I. Pa mor fyrr yw parhad awdurdod a llwyddiant gelynion yr eglwys: "Y pryf a'u bwytty hwynt fel dilledyn, a'r gwyfyn a'u hysa hwynt fel gwlan;" hynny yw, pa mor fawr bynnag ydyw eu llwyddiant a'u gogoniant presennol, hwy a ddifethir yn raddol, ac a ddiflanant ymaith trwy ddirgelaidd felldith Duw, hyd oni ddeuant i ddiddymdra; a'u holl awdurdod a'u gogoniant a dderfydd, ac felly eu herlidigaethau a baid yn dragywydd, a'u diwedd hwythau fydd distryw anfeddyginiaethol; megis y mae y gwisgoedd mwyaf gogoneddus a meina mewn amser yn gwisgo ymaith, ac yn cael eu hysa gan wyfyn a phydrni. Fe ddangosir i ni yn yr adnod o'r blaen pwy a ysir ymaith fel hyn, sef, y rhai hynny ag sydd yn elynion i bobl Dduw: "Gwrandewch arnaf, y rhai a adwaenoch gyfiawnder, y bobl sydd â'm cyfraith yn eu calon: nac ofnwch waradwydd dynion, ac nac arswydwch rhag eu difenwad."

II. Rhan a dedwyddol gynnysgaeth eglwys Dduw yn cael ei gosod allan yn wrthwyneb i hynny yn y geiriau hyn, "Fy nghyfiawnder a fydd yn dragywydd, a'm hiachawdwriaeth o genhedlaeth i genhedlaeth." Hefyd, ni a welwn yn yr adnod o'r blaen pwy yw y rhai hynny a gaiff y daioni yma, sef, "y rhai a adwaenant gyfiawnder, a'r bobl ag y mae cyfraith Duw yn eu calon;" neu, mewn un gair, eglwys Dduw. Ac mewn perthynas i'r dedwyddwch hwn o'r eiddynt, ni a allwn sylwi ar ddau beth; sef, ym mha bethau y mae yn gynnwysedig, ac hefyd ei barhad.

1. Y mae yn gynnwysedig yn nghyfiawnder ac iachawdwriaeth Duw tu ag attynt hwy. Wrth gyfiawnder Duw yn y lle yma, y meddylir ei ffyddlondeb yn cyflawni ei addewidion cyfammodol i'w eglwys, neu ei ffyddlondeb tu ag at ei eglwys a'i bobl yn cyfrannu iddynt fendithion y cyfammod gras; pa fendithion, er eu bod yn cael eu rhoddi o ras rhydd a phenarglwyddiaethol, fel y maent yn hollol anhaeddiannol, etto megis y gwelodd Duw yn dda ei rwymo ei hun trwy addewidion y cyfammod gras i'w rhoddi iddynt, felly y maent yn cael eu cyfrannu yn ngweithrediad ei gyfiawnder ef. Ac am hynny y dywed yr Apostol, *Heb.* 6. 10. "Canys nid ydyw Duw yn anghyfiawn, fel yr anghofio eich gwaith chwi, a'r llafurus gariad;" &c. ac 1 *Ioan* 1. 9. "Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhao oddiwrth bob anghyfiawnder." Felly y gair *cyfiawnder* a ddefnyddir yn fynych iawn yn yr ysgrythyr i osod allan ffyddlondeb cyfammodol Duw; megis yn *Neh.* 9. 8. "Ti a gyflawnaist dy eiriau, o herwydd cyfiawn wyt." Felly yr ydym i ddeall fod *cyfiawnder* a *thrugaredd gyfammodol* yn fynych yn arwyddo yr un peth; megis, *Ps.* 24. 5. "Efe a dderbyn fendith gan yr Arglwydd, a chyfiawnder gan Dduw ei iachawdwriaeth." *Ps.* 36. 10. "Estyn dy drugaredd i'r rhai a'th adwaenant, a'th gyfiawnder i'r rhai uniawn o galon." *Ps.* 51. 14. "Gwared fi oddiwrth waed, O Dduw, Duw fy iachawdwriaeth: a'm tafod a gân yn llafar am dy gyfiawnder." *Dan.* 9. 16. "O Arglwydd, yn ol dy holl gyfiawnderau, attolwg, troer dy lidiawgrwydd a'th ddigter oddiwrth dy ddinas." Ac felly mewn aneirif fannau eraill.

Y gair arall a ddefnyddir yma yw *iachawdwriaeth.* O'r ddau hyn, cyfiawnder Duw a'i iachawdwriaeth, y mae y naill yn achos o'r hyn y mae y llall yn effaith. Cyfiawnder Duw, neu drugar-

edd gyfammodol, ydyw y gwreiddyn, o ba un y mae ei iachawdwriaeth ef yn ffrwyth. Y mae pob un o honynt yn perthynu i'r cyfammod gras. Y naill ydyw trugaredd gyfammodol Duw a'i ffyddlondeb, a'r llall yn golygu y gwaith hwnnw o eiddo Duw trwy yr hwn y mae y drugaredd gyfammodol yma yn cael ei chyflawni yn y ffrwyth o hono: canys iachawdwriaeth yw swm yr holl weithredoedd hynny o eiddo Duw trwy ba rai y mae y bendithion sydd trwy y cyfammod gras wedi cael eu hennill, ac yn cael eu cyfrannu.

2. Eu *parhad* a arwyddir yma trwy ddau ymadrodd, *yn dragywydd*, ac *o genhedlaeth i genhedlaeth.* Y mae y diweddaf yn eglurhaol o'r cyntaf. Y mae yr ymadrodd *yn dragywydd* yn cael ei ddefnyddio yn amrywiol yn yr ysgrythyrau. Weithiau fe feddylir wrtho *cyhyd ag y byddo dyn byw.* Felly y dywedir am y gwas y tyllid ei glust â mynawyd wrth ddrws ei feistr, mai eiddo ei feistr fyddai *yn dragywydd.* Weithiau fe feddylir wrtho *parhad sefyllfa yr Iuddewon yn ngwlad Canaan.* Felly hefyd y dywedir am lawer o'r deddfau Seremonïaidd a Lefitaidd y byddai iddynt fod *hyd byth.* Weithiau y meddylir *cyhyd ag y saif y byd,* neu hyd ddiwedd cenhedlaethau dynion; megis yn *Preg.* 1. 4. "Un genhedlaeth a â ymaith, a chenhedlaeth arall a ddaw: ond y ddaear a saif byth." Weithiau y meddylir i *dragywyddoldeb diderfyn:* felly y dywedir fod *Duw yn fendigedig yn dragywyddol. Rhuf.* 1. 25. Ac yn *Ioan* 6. 5. y dywedir, "Os bwytty neb o'r bara hwn, efe a fydd byw *yn dragywydd.*" A pha un o'r ystyriaethau hyn sydd i'w ddeall yma, a benderfynir yn yr adnod nesaf, sef, hyd *ddiwedd y byd,* neu ddiwedd cenhedlaethau dynion. Yn y geiriau nesaf y dywedir, "a'm hiachawdwriaeth *o genhedlaeth i genhedlaeth.*" Yn wir fe fydd *ffrwythau* iachawdwriaeth Duw yn aros wedi y darfyddo y byd, fel yr ymddengys yn *adn.* 6. "Dyrchefwch eich llygaid tu a'r nefoedd, ac edrychwch ar y ddaear isod: canys y nefoedd a ddarfyddant fel mwg, a'r ddaear a heneiddia fel dilledyn, a'i phreswylwyr yr un modd a fyddant feirw, ond fy iachawdwriaeth i a fydd byth, a'm cyfiawnder ni dderfydd." Ond gwaith iachawdwriaeth yr eglwys fydd yn cael ei weithredu yn barhaus hyd hynny: hyd ddiwedd y byd yr â Duw ym mlaen i gyflawni iachawdwriaeth a gwaredigaeth i'w eglwys, oddiwrth ei holl elynion; canys hynny yw 'r peth y mae 'r prophwyd yn llefaru am dano yma. *Hyd ddiwedd y byd:* hyd oni phaid gelynion a bod, o ran meddu un gallu i aflonyddu 'r eglwys. Ac y mae

yr ymadrodd hwn, *o genhedlaeth i genhedlaeth*, yn rhoddi i ni benderfyniad megis am yr amser y mae Duw yn parhau i ddwyn y'mlaen waith iachawdwriaeth i'w eglwys, a hynny mewn perthynas i'w ddechreuad a'i ddiweddiad. Y mae "o genhedlaeth i genhedlaeth;" hynny yw, trwy yr holl genhedlaethau; yn dechreu gyda dechreuad cenhedlaethau dynion ar y ddaear, ac heb ddiweddu hyd ddiwedd y cenhedlaethau hynny yn niwedd y byd. Gan hynny nyni a gasglwn oddiwrth y geiriau yr hyn a ganlyn:

## ATHRAWIAETH.

*Y mae Gwaith y Prynedigaeth yn Waith y mae Duw yn ei ddwyn ym mlaen o Gwymp Dyn hyd ddiwedd y byd.*

Dechreuad hiliogaeth ein rhïeni cyntaf ydoedd ar ol y cwymp; canys eu holl hiliogaeth ydynt trwy genhedliad naturiol yn gydgyfrannogion o'r cwymp, ac o'r llygredigaeth natur a ddaeth i'w ganlyn; a'r cenhedlaethau hyn, trwy ba rai y mae 'r hil ddynol yn lluosogi, a bery hyd ddiwedd y byd. Felly y ddau hyn yw terfynau cenhedlaethau dynion ar y ddaear, cwymp dyn, a diwedd y byd. Y mae yr un terfynau i waith y prynedigaeth, ag sydd i'r gweithredoedd cynnyddol hynny o eiddo Duw, trwy ba rai mae 'r prynedigaeth yn cael ei gwblhau, er nad megis i'r *ffrwythau* o hono; canys hynny a fydd, fel y dywedwyd o'r blaen, i dragywyddoldeb.

Gwaith y prynedigaeth a gwaith yr iachawdwriaeth ydynt yr un peth. Yr hyn a elwir mewn rhai mannau yn yr ysgrythyr Duw yn *achub* ei bobl, a elwir mewn mannau eraill eu *prynu* hwy. Y mae Crist yn cael ei alw yn *Iachawdwr* ac yn *Brynwr* ei bobl.

Cyn dechreu ar yr Hanes am Waith y Prynedigaeth, 1. Rhoddaf eglurhâd ar yr *enwau* a'r *ymadroddion* a ddefnyddir yn yr athrawiaeth.—2. Dangosaf pa beth yw 'r *pethau* hynny a fwriadwyd eu cyflawni gan Dduw trwy 'r gwaith mawr hwn.

Y mae gwaith y prynedigaeth i'w ddeall weithiau mewn ystyr derfynol, am bwrcasiad iachawdwriaeth; canys y gair a arwydda mewn ystyr fanwl bwrcasiad gwaredigaeth. Ac os cymmerwn y gair yn yr ystyr yma, ni bu gwaith y prynedigaeth cyhyd yn cael ei wneud; ond fe'i dechreuwyd ac a'i diweddwyd gyda darostyngiad Crist. Fe'i dechreuwyd gyda chnawdoliaeth Crist, ac fe'i dygwyd ym mlaen ganddo ef trwy ei fywyd, ac a'i

gorphenwyd gyd â'i farwolaeth ef, neu tra y bu efe dan arglwyddiaeth marwolaeth, yr hyn a orphenwyd yn ei adgyfodiad. Ac felly yr ydym yn dywedyd, mai dydd adgyfodiad Crist oedd y dydd y gorphenodd efe waith y prynedigaeth, hynny yw, y pryd hynny y gorphenwyd y pwrcasiad, a'r gwaith ei hun, a'r oll sydd yn perthynu iddo, a wnaed yn *effeithiol*, ond nid yn *weithredol*.

Ond weithiau y mae gwaith y prynedigaeth i'w olygu mewn ystyr mwy helaeth, megis yn cynnwys yr hyn oll y mae Duw yn ei weithredu, ag sydd yn tueddu i'r diben hwn; nid yn unig y pwrcasiad ei hun, ond hefyd holl weithredoedd Duw ag oeddynt yn dwyn perthynas barottoawl i, neu gymmwysiadol o'r, pwrcas, a'i gwblhad yn y llwyddiant o hono; felly, gan hynny, yr holl oruchwyliaeth, megis y mae yn cynnwys y parottoad a'r pwrcasiad, y cymhwysiad a llwyddiant y prynedigaeth trwy Grist, a ellir ei alw yn waith y prynedigaeth. Yr hyn oll y mae Crist yn ei wneud yn y gorchwyl mawr yma, yn rhai o'i swyddau fel Cyfryngwr, naill ai Prophwyd, Offeiriad, ai Brenhin; naill ai pan yr oedd efe yn ei natur ddynol yn y byd hwn, neu cyn, neu wedi hynny: ac nid yn unig yr hyn a wnaeth Crist y Cyfryngwr, ond hefyd yr hyn a wnaeth y Tad, neu yr Yspryd Glân, mewn undeb cyfammodol yn y bwriad hwn o brynu dynion pechadurus; neu, mewn un gair, yr hyn oll sydd yn cael ei weithredu yn nghyflawniad cyfammod tragywyddol y prynedigaeth. Dyma y peth wyf yn ei alw gwaith y prynedigaeth yn yr *athrawiaeth;* canys nid ydyw oll ond un gwaith, ac un diben. Yr amrywiol oruchwyliaethau neu weithredoedd sydd yn perthynu iddo, nid ydynt ond amrywiol rannau o'r un cynllun. Un diben ydyw sydd wedi ei ffurfio, i'r hwn y mae holl swyddau Crist yn uniongyrchol yn gweinyddu, ac yn yr hwn y mae y Tri Pherson Dwyfol yn cyd-weithredu, a'r holl wahanol oruchwyliaethau perthynol iddo ydynt mewn undeb; a'r amrywiol olwynion ydynt un peiriant *(machine)* i atteb yr un diben, ac i ddwyn ym mlaen yr un effaith.

Pan y dywedwyf, fod y gwaith hwn yn cael ei gario ym mlaen o gwymp dyn hyd ddiwedd y byd; nid wyf yn meddwl na wnawd dim mewn trefn tu ag atto cyn cwymp dyn. Fe wnawd rhai pethau tu ag atto cyn creu y byd, ie, er tragywyddoldeb. Personau y Drindod oeddynt megis yn cyd-fwriadu yn nghynllun a chyfammod y prynedigaeth; yn yr hwn gyfammod y gosodwyd y Mab yn Ben gan y Tad, ac y cymmer-

odd y Mab y gwaith; a phob peth oedd i'w gyflawni yn y gwaith, ydoedd mewn cyttundeb ac ammod. Ac heblaw hynny, fe wnawd pethau pan y crewyd y byd, mewn trefn tu ag at y gwaith hwn, cyn i'r dyn syrthio; canys fe ymddengys i'r byd gael ei greu i'r diben i'r gwaith hwn gael ei ddwyn ym mlaen. Gwaith y greadigaeth ydoedd mewn trefn i roi lle i weithredoedd rhagluniaeth Duw: felly, pe gofynid, pa rai o'r gweithredoedd hyn ydyw y mwyaf, ai gweithredoedd y greadigaeth, neu weithredoedd rhagluniaeth? Yr wyf yn atteb, mai gweithredoedd rhagluniaeth; oblegid mai gweithredoedd rhagluniaeth Duw yw diben ei weithredoedd creadigol ef, megis ag y mae adeiladu tŷ, neu ffurfio peiriant, er mwyn y defnydd a wneir o hono wedi hynny. Ond prif waith rhagluniaeth Duw, ydyw gwaith mawr y prynedigaeth, megis yr ymddengys yn fwy cyflawn wedi hyn.

Fe grewyd y nefoedd mewn trefn tu ag at waith y prynedigaeth; sef, i fod yn breswylfa i'r prynedigion: *Mat.* 25. 34. "Yna y dywed y Brenhin wrth y rhai ar ei ddeheulaw, Deuwch, chwi fendigedigion blant fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barottowyd i chwi er seiliad y byd." Ië, fe grewyd yr angelion i fod yn wasanaethgar i'r gwaith hwn. Ac am hynny y geilw yr apostol hwy, yn "*ysprydion gwasanaethgar, wedi eu danfon i wasanaethu er mwyn y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth.*" *Heb.* 1. 14. A'r byd isod hwn yn ddiammheuol a grewyd i fod yn lle ar ba un y gweithredid y gwaith mawr a rhyfeddol hwn, sef y prynedigaeth; gan hynny y mae y byd isod hwn wedi ei gyfaddasu yn ddoeth yn ei ffurfiad, mewn llawer ystyriaeth, megis y gellid dangos, i'r fath gyflwr ag y mae dyn ynddo er y cwymp, sef dan allueiddrwydd o brynedigaeth (neu bossiblrwydd i gael ei waredu). Felly, pan y dywedir fod gwaith y prynedigaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen o gwymp dyn hyd ddiwedd y byd, nid ydys yn meddwl mai ar ol y cwymp (yn unig) y gwnawd yr hyn oll a wnawd erioed tu ag at y prynedigaeth. Ac ni feddylir hefyd na bydd ffrwythau y gwaith hwn yn aros ar ol diwedd y byd. Y gwynfydedigrwydd a'r gogoniant hwnnw a fydd yn gynnwysedig yn yr holl ffrwythau, a fydd mewn parhad i'r saint yn dragywydd. Nid ydyw gwaith y prynedigaeth yn waith a wneir yn barhaus ac byth heb ei gyflawni: ond y mae i'r gwaith ganlyniad, ac yn y canlyniad fe gyrhaeddir y diben, yr hwn ddiben ni bydd terfyn iddo byth. Ac megis bod y pethau hynny ag oeddynt mewn trefn tu ag at

y gwaith hwn cyn dechreu y byd, sef tragywyddol gariad Duw yn ethol, a chyfammod y prynedigaeth, erioed heb ddechreuad iddynt, felly ffrwythau y gwaith hwn, pa rai a erys ar ol diwedd y byd, fydd byth heb ddiweddu. A chan hynny,

Pan y dywedir yn yr athrawiaeth, fod Duw yn *dwyn y'mlaen* y gwaith hwn o gwymp dyn hyd ddiwedd y byd, y peth wyf yn ei feddwl yw, fod y pethau hynny ag sydd yn perthyn i'r gwaith ei hun, ag ydynt yn rhannau o'r cynllun, yn yr holl yspaid hynny yn cael eu cyflawni. Yr ydoedd rhyw bethau wedi eu gwneud yn barottoawl i'w ddechreuad, ac fe fydd ei ffrwythau yn aros wedi iddo gael ei orphen. Ond y gwaith ei hun a ddechreuwyd yn ddioed gyd â'r cwymp, ac a fydd yn parhau hyd ddiwedd y byd, a'r pryd hynny y gorphenir ef. Amrywiol oruchwyliaethau Duw yn yr yspaid hynny o amser ydynt yn perthynu i'r un gwaith, a'r un canlyniad a diben fydd iddynt oll; a chan hynny y maent i'w cyfrif megis amrywiol rannau o'r un gwaith, megis pe bai olynol ysgogiadau un peiriant, yn dwyn oddi amgylch ddiweddiad un digwyddiad mawr.

Ac yma hefyd y mae 'n rhaid i ni ddosparthu rhwng rhannau y prynedigaeth ei hun, a rhannau y gwaith hwnnw trwy ba un y mae y prynedigaeth yn cael ei weithredu. Y mae gwahaniaeth rhwng rhannau y bendithion a ennillwyd ac a gyfrenir, a'r rhannau hynny o waith Duw trwy ba rai yr ennillwyd y bendithion hynny, ac y cyfrenir hwynt. Fel siampl, y mae gwahaniaeth rhwng rhannau y bendithion a dderbyniodd meibion Israel yn eu gwaredigaeth o'r Aipht, a'r rhannau hynny o waith Duw trwy ba rai y gweithredwyd y waredigaeth. Gwaredigaeth meibion Israel allan o'r Aipht, a'i hystyried fel bendith ag oeddynt hwy yn ei mwynhau, oedd yn gynnwysedig mewn dwy ran, sef eu rhyddhad o'u blaenorol Aiphtaidd gaethiwed a thrueni, a'u dwyn i sefyllfa fwy dedwydd fel gweision i Dduw, ac etifeddion o Ganaan. Ond yr oedd llawer mwy o bethau ag oeddynt rannau o'r gwaith hwnnw ag a elwir gwaith Duw yn gwaredu Israel allan o'r Aipht. I hyn yr oedd galwad Moses yn perthynu, ei anfoniad ef at Pharaoh, yr arwyddion a'r rhyfeddodau a wnaeth efe yn yr Aipht, a'r barnedigaethau arswydus a ddygwyd ar yr Aiphtiaid, a llawer o bethau eraill.

Y fath ydyw y gwaith hwn ag yr ydys yn sôn am dano, trwy ba un y mae Duw yn dwyn i ben waith y prynedigaeth, ag sydd yn cael ei gario ym mlaen o gwymp dyn hyd ddiwedd y byd, mewn dwy ystyriaeth,

1. Mewn perthynas i'r effeithiau y mae yn eu gweithredu ar eneidiau y prynedigion, yr hyn sydd yn gyffredinol i'r holl oesoedd. Yr effeithiau hyn ydyw y cymhwysiad o'r prynedigaeth at eneidiau personau neillduol, yn eu dychwelyd, eu cyfiawnhau, eu sancteiddio, a'u gogoneddu. Fel hyn y mae pechaduriaid yn cael eu gwaredu yn weithredol, ac yn derbyn bendithion y prynedigaeth yn eu heffeithiolrwydd ar eu heneidiau. Ac yn yr ystyr yma y mae gwaith y prynedigaeth yn cael ei gario ym mlaen o gwymp dyn hyd ddiwedd y byd. Fe ddechreuodd Duw yn fuan ar ol y cwymp ar y gwaith o ddychwelyd eneidiau, agoryd llygaid y deillion, a chlustiau y byddarion, a chodi y meirw ysprydol i fywyd, gwaredu rhai truenus a chaeth allan o ddwylaw Satan; ac y mae'r un gwaith yn cael ei wneuthur yn y byd er hynny hyd heddyw, ac fe fydd yn cael ei wneud hyd ddiwedd y byd. Y mae gan Dduw bob amser, er pan y cododd gyntaf eglwys o brynedigion ar ol y cwymp, y fath eglwys yn y byd. Er iddi yn fynych gael ei dwyn i gylch cyfyng, ac i amgylchiadau isel, etto ni bu iddi erioed hollol ballu.

Ac megis y mae Duw yn cario ym mlaen y gwaith o ddychwelyd eneidiau dynion syrthiedig trwy yr holl oesoedd, felly y mae efe yn myned ym mlaen i'w cyfiawnhau, i ddileu eu pechodau, i'w cymmeradwyo hwy megis yn gyfiawn yn ei olwg, trwy gyfiawnder Crist, a'u mabwysiadu a'u derbyn o fod yn blant y diafol yn blant iddo ei hun; fel hyn y mae efe yn myned ym mlaen i'w sancteiddio, ac i berffeithio gwaith ei ras a ddechreuwyd ynddynt, ac i'w cysuro hwy â diddanwch ei yspryd, ac i'w cynnysgaeddu pan y byddo eu cyrph yn marw â'r gogoniant tragywyddol hwnnw, yr hwn yw ffrwyth y pwrcas a wnawd gan Grist. Yr hyn a ddywedir yn *Rhuf*. 8. 30. "Y rhai a ragluniodd efe, y rhai hynny hefyd a alwodd efe; a'r rhai a alwodd efe, y rhai hynny hefyd a gyfiawnhaodd efe; a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hynny hefyd a ogoneddodd efe!" sydd berthynol i'r holl oesoedd o'r cwymp hyd ddiwedd y byd.

Y modd y mae gwaith y prynedigaeth, o ran ei effeithiau ar eneidiau y prynedigion, yn cael ei ddwyn ym mlaen fel hyn, ydyw trwy fynych a pharhaus weithredu yr un gwaith drachefn, er mewn gwahanol bersonau, o oes i oes. Ond,

2. Y mae gwaith y prynedigaeth o ran ei brif ddiben yn gyffredinol, fel y mae yn perthynu i'r deiliaid yn gyffredin a'r diben, yn cael ei ddwyn ym mlaen mewn modd gwahanol, nid yn unig trwy fynychu neu adnewyddu yr un effeithiau yn y

gwahanol ddeiliaid o hono, ond trwy lawer o ddilynol weithredoedd a rhagluniaethau Duw, i gyd yn tueddu i un diben mawr, oll mewn undeb fel amrywiol rannau un cynllun, ac oll ynghyd yn gwneud i fynu un gwaith mawr. Megis pan y byddo tŷ neu deml yn cael ei adeiladu; yn gyntaf, y mae 'r gweithwyr yn ymrwymo i'r gwaith, yna mae 'r defnyddiau yn cael eu casglu, y lle i osod y sylfaen yn cael ei barottoi, a'r adeilad yn cael ei sylfaenu, a'r goruwch-adeilad a adeiladir, y naill ran ar ol y llall, hyd oni osodir y maen uchaf, ac yno y bydd wedi ei gwbl orphen. Yn awr, a ellir cydmaru gwaith y prynedigaeth yn yr ystyr helaeth a eglurwyd i'r fath adeilad, ag a ddygir ym mlaen o gwymp dyn hyd ddiwedd y byd. Fe ddechreuodd Duw ar y gwaith yn ddioed ar ol y cwymp, megis ag y dangosir wedi hyn; ac a'i dygodd ym mlaen, ac y mae byth wedi hynny, fel pe bai yn casglu defnyddiau, ac yn adeiladu; ac efe a'i dwg ym mlaen hyd ddiwedd y byd; a'r pryd hynny y dygir allan y maen pennaf, a'r holl waith a ymddengys yn ogoneddus ac yn gyflawn.

Yn yr ystyr flaenaf a nodwyd, y mae y gwaith hwn yn cael ei ddwyn ym mlaen o ran ei effeithiau ar eneidiau personau neillduol, trwy ei fod yn waith cyffredin i'r holl oesoedd. Ac yn yr ystyr olaf, y mae 'r gwaith yn cael ei ddwyn ym mlaen fel y mae yn perthynu i eglwys Dduw, a'r prif ddiben yn gyffredinol, nid yn unig trwy yr hyn sydd yn gyffredin i'r holl oesoedd, ond trwy ddilynol weithredoedd a weithredir mewn gwahanol oesoedd, a'r rhai hynny oll yn rhannau o'r un cynllun. Dygiad ym mlaen waith y prynedigaeth yn yr ystyr yma, wyf yn amcanu sefyll arno yn bennaf, er nad i gau allan yr ystyr blaenaf; canys y mae 'r naill mewn modd angenrheidiol yn cynnwys y llall.

Wedi egluro fel hyn yr hyn wyf yn ei feddwl wrth yr enwau a ddefnyddir yn yr athrawiaeth; fel y gwelo y darllenydd yn fwy eglur pa fodd y mae 'r diben mawr a gwaith y prynedigaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen o gwymp dyn hyd ddiwedd y byd,

Yn awr, yr wyf yn dyfod ym mlaen i ddangos pa beth yw diben y gwaith mawr hwn, neu pa bethau a fwriedir eu cyflawni trwyddo. Mewn trefn i weled pa fodd y dygir unrhyw ddiben ym mlaen, y mae yn rhaid i ni yn gyntaf wybod pa beth yw y diben. I wybod pa fodd y mae gweithydd yn myned ym mlaen, ac i ddeall yr amrywiol gamrau y mae efe yn ei gymmeryd tu ag at gwblhau dernyn o waith, y mae yn rhaid i ni gael hyspysrwydd pa beth y mae efe yn ei gylch, a pha beth y mae efe yn

fwriadu waeud; ac oni dê gallwn fod yn sefyll gerllaw, ac edrych arno yn gwneud y naill beth ar ol y llall, ac etto yn hollol yn y tywyllwch a'r dyryswch, heb weled dim o'i ddyfais, na deall pa beth y mae efe yn amcanu atto. Pe bai ben-gweithiwr, gyda rhifedi mawr o ddwylaw, yn adeiladu llys neu balas, a rhyw un a fyddai yn ddieithr i'r fath beth yn sefyll gerllaw, ac edrych ar rai dynion yn cloddio yn y ddaear, ereill yn cludo coed, ac ereill yn naddu cerrig, a'r cyffelyb, efe a welai fod yno lawer iawn o bethau yn cael eu gwneuthur; ond os na wyddai y diben, ymddangosai y cyfan iddo yn gymmysgedd annhrefnus. A chan hynny, fel na byddo i oruchwyliaethau a gweithredoedd mawrion Duw, pa rai sydd yn perthynu i'r gwaith mawr hwn, sef y prynedigaeth, ymddangos i neb yn debyg i gymmysgedd, myfi a osodaf o'ch blaen yn fyrr y prif bethau a fwriadwyd eu cyflawni trwy 'r gwaith mawr hwn, ac i gyflawni yr hyn bethau y dechreuodd Duw weithredu yn ddioed ar ol y cwymp, ac efe a weithreda yn barhaus, hyd oni byddo i'r holl waith gael ei gyflawn orphen. Yn awr y prif bethau y bwriadwyd eu cyflawni, yw y pethau canlynol:—

1. Gosod holl elynion Duw tan ei traed, fel y byddo i'w ddaioni ymddangos yn y diwedd yn fuddugoliaethus ar bob drygau. Yn fuan wedi i'r byd gael ei greu, fe ddaeth drwg i mewn iddo trwy gwymp yr angylion a dyn. Yn ddioed wedi i Dduw greu creaduriaid rhesymmol, yr oedd gelynion pa rai a ymgyfodasant yn ei erbyn ef yma. Satan a ymgyfododd yn erbyn Duw, gan ymegnio i ddiddymmu ei ddiben ef yn creu y byd hwn, a distrywio ei waith ef yma, a threisio y llywodraeth o'i ddwylaw ef, a thraws-feddiannu yr orsedd-faingc iddo ei hun, gan ei osod ei hun i fynu yn dduw y byd hwn, yn lle y Duw a'i gwnaeth. Ac i'r dibenion hyn efe a ddygodd bechod i'r byd; ac wedi gwneuthur dyn yn elyn i Dduw, efe a ddygodd euogrwydd, marwolaeth, a'r trueni mwyaf arswydus i'r byd.

Yn awr, un diben mawr gan Dduw yn ngwaith y prynedigaeth ydoedd, dadymchwelyd a darostwng ei elynion, hyd oni byddo iddynt oll gael eu gosod tan ei draed ef. 1 *Cor*. 15. 25. "Canys rhaid iddo deyrnasu hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed." Yr oedd y pethau wedi eu gwreiddiol gynllunio a'u bwriadu, yn y fath fodd ag y byddai iddo ef siomi, dyrysu, a buddugoliaethu ar Satan, ac y byddai iddo gael ei ysigo dan draed Crist. *Gen*. 3. 15. Yr addewid a roddwyd oedd, y byddai i had y wraig ysigo pen y sarph. Rhan o ddiben

gwreiddiol Duw yn y gwaith hwn, ydoedd dattod gweithredoedd y diafol, a'i ddyrysu ef yn ei holl amcanion. 1 *Ioan* 3. 8. "Canys i hyn yr ymddangosodd Mab Duw, fel y dattodai weithredoedd diafol." Rhan o'i ddiben ef ydoedd, buddugoliaethu ar bechod, a llygredigaethau dynion, ac i'w diwreiddio o galonnau ei bobl, trwy eu cyd-ymffurfio hwy âg ef ei hun. Efe hefyd a fwriadodd i'w ras fuddugoliaethu ar euogrwydd dyn, a'r annheilyngdod sydd mewn pechod. A chyda hynny, yr ydoedd yn ei fwriad fuddugoliaethu ar angau; ac er mai hwn yw y gelyn diweddaf a orchfygir, etto yn y diwedd efe a ddiddymmir.—Fel hyn fe ymddengys Duw yn ogoneddus uwchlaw pob drygioni, ac yn fuddugoliaethus ar ei holl elynion, yr hyn ydoedd un o'r prif bethau y bwriadwyd eu gwneud trwy waith y prynedigaeth.

2. Diben Duw ydoedd adferu yn hollol ddistryw y cwymp, cyn belled ag y mae yn perthynu i'r rhan a etholwyd o'r byd, trwy ei Fab ef; yr ydym yn darllen yn *Act*. 3. 21. yr *adferir pob peth*. "Yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn, hyd amseroedd *adferiad pob peth*;" ac am amseroedd *i orphwys* o olwg yr Arglwydd Iesu. *Act*. 3. 19. "Edifarhewch gan hynny, a dychwelwch, fel y dileer eich pechodau, pan ddelo yr amseroedd *i orphwys* o olwg yr Arglwydd."

Fe ddinystriwyd enaid dyn trwy y cwymp; a delw Duw a ddileŵyd oddi arno; natur dyn a lygrwyd, ac efe a ddaeth yn farw mewn pechod. Diben Duw ydoedd, adferu bywyd i enaid dyn, a rhoddi ei ddelw arno, trwy ei ddychwelyd, a dwyn y gwaith hwn ym mlaen mewn sancteiddhad, hyd oni pherffeithir mewn gogoniant. Fe ddistrywiwyd corph dyn; trwy y cwymp daeth yn ddarostyngedig i angau. Diben Duw ydoedd, i'w adferu o'r distryw hwn, ac nid yn unig ei waredu o afael marwolaeth yn yr adgyfodiad, ond oddiwrth farwoldeb ei hun, trwy ei gyfnewid i gyffelybrwydd corph gogoneddus Crist. Fe ddinystriwyd y byd, o ran dyn, fel pe buasai yn cael ei ddychwelyd yn effeithiol i gymmysgedd (*chaos*) drachefn; yr holl nefoedd a'r ddaear a ddadymchwelwyd. Ond yr oedd diben Duw i'w hadferu oll, ac i greu megis nefoedd newydd, a daear newydd. *Esa*. 65. 17. "Canys wele fi yn creu nefoedd newydd, a daear newydd: a'r rhai cyntaf ni chofir, ac ni feddylir am danynt." 2 *Petr* 3. 13. "Eithr nefoedd newydd, a daear newydd, yr ydym ni, yn ol ei addewid ef, yn eu disgwyl, yn y rhai y mae cyfiawnder yn cartrefu."

Y gwaith trwy ba un y mae hyn i gael ei wneud, a ddechreuwyd yn ddioed ar ol y cwymp, ac felly a ddygir ym mlaen hyd oni orphenir oll yn y diwedd, pan y byddo 'r byd oll, nefoedd a daear, yn cael eu hadferu; ac yna y bydd megis nefoedd newydd, a daear newydd, a hynny mewn ystyr goruchel ac ysprydol, yn niwedd y byd. Fel hyn yr arddangosir yn *Dat.* 21. 1. "A mi a welais nef newydd, a daear newydd: canys y nef gyntaf a'r ddaear gyntaf a aeth heibio."

3. Diben mawr arall gan Dduw yn ngwaith y prynedigaeth ydoedd, casglu yn un yn Nghrist bob peth yn y nefoedd a'r ddaear; hynny yw, yr holl greaduriaid etholedig, yn y nefoedd a'r ddaear, i undeb, yn un corph, dan un pen, ac i'w huno oll mewn un corph i Dduw y Tad. Fe ddechreuwyd y gwaith hwn yn fuan ar ol y cwymp, ac y mae yn cael ei ddwyn ym mlaen trwy yr holl oesoedd, ac yn niwedd y byd fe'i gorphenir.

4. Y mae Duw yn bwriadu trwy y gwaith hwn berffeithio a chyflawni gogoniant ei holl etholedigion yn Nghrist, sef eu dyrchafu hwy i uchder rhagorol mewn gogoniant, "y fath ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn." Y mae efe yn bwriadu eu dwyn hwy i berffaith ardderchawgrwydd ar ei ddelw, mewn sancteiddrwydd a harddwch, yr hyn yw priodol harddwch creaduriaid ysprydol; ac i'w dyrchafu hwy i radd ogoneddus o anrhydedd, a mwynhau annhraethadwy bleser a llawenydd, ac fel hyn i ogoneddu yr holl eglwys o ddynion etholedig, mewn corph ac enaid, a chyda hwy i ddwyn gogoniant yr angylion etholedig i'w ddyrchafiad uchaf dan un pen.

5. Yn hyn oll fe fwriadodd Duw gyflawni gogoniant y Drindod fendigaid mewn gradd ardderchog. Yr oedd efe wedi bwriadu er tragywyddoldeb i ogoneddu pob un o'r personau yn y Duwdod. Y mae yn rhaid, yn ol trefn natur, ystyried y diben yn gyntaf, ac wedi hynny y moddion; a chan hynny y mae yn rhaid i ni ddeall fod Duw wedi addef y diben hwn; ac, yn ganlynol, megis dewis y moddion; a'r prif foddion a bennodd efe yw 'r gwaith mawr hwn ag yr ydys yn llefaru am dano, sef y prynedigaeth. Ei ddiben ef yn y gwaith hwn ydoedd gogoneddu ei unig anedig Fab, Iesu Grist; ac hefyd i ogoneddu y Tad trwy y Mab. *Ioan* 13. 31, 32. "Yn awr y gogoneddwyd Mab y dyn, a Duw a ogoneddwyd ynddo ef. Os gogoneddwyd Duw ynddo ef, Duw hefyd a'i gogonedda ef ynddo ei hun, ac efe a'i gogonedda ef yn ebrwydd." Ei ddiben ef ydoedd fel

hyn i ogoneddu y Mab, ac fel y byddai i'r Tad gael ei ogoneddu trwy 'r hyn a gyflawnid gan yr Yspryd, ac i ogoniant yr Yspryd hefyd, fel y byddai i'r tri Pherson Dwyfol yn gyssylltiedig, a phob un yn wahanredol, gael eu gogoneddu. Y gwaith pa un ydoedd yn foddion appwyntiedig i hyn, a ddechreuwyd yn ddioed ar ol y cwymp, ac a ddygir ym mlaen hyd ddiwedd y byd, pryd y bydd yr holl ogoniant arfaethol hwn yn hollol gyflawn.

Wedi egluro fel hyn yr enwau y gwneir defnydd o honynt yn yr athrawiaeth, a dangos pa bethau sydd i'w cyflawni trwy 'r gwaith mawr hwn o eiddo Duw, yn awr, mi af ym mlaen â'r hanes a amcanwyd; hynny yw, i ddangos pa fodd y cyflawnwyd ac y cyflawnir bwriadau Duw trwy waith y prynedigaeth, yn yr amrywiol gamrau o hono, o gwymp dyn hyd ddiwedd y byd.

Mewn trefn i hyn, myfi a ddosparthaf yr holl yspaid hynny o amser i dri o bennau:—y 1af, yn cyrhaedd o gwymp dyn hyd ymddangosiad Crist yn y cnawd;—yr 2il, o amser cnawdoliaeth Crist hyd ei adgyfodiad ef;—a'r 3ydd, oddi yno hyd ddiwedd y byd.

Fe allai y bydd rhai yn barod i feddwl fod hyn yn ddosparthiad hynod o anghyfartal; ac yn wir felly y mae mewn rhyw olygiadau, oblegid fod yr hyn a wnawd yn yspaid yr ail amser a nodwyd yn gymmaint mwy: canys, er ei fod yn llawer byrach nag yr un o'r ddau eraill, yn cynnwys ond rhwng deg a phedair ar ddeg ar hugain o flynyddoedd, a phob un o'r ddau amser arall yn cynnwys miloedd o flynyddoedd; etto y mae 'r gwaith a wnawd yr amser hwnnw yn fwy nag a wnawd yn y ddau eraill. Gan hynny myfi a af ym mlaen i ddangos pa fodd y mae gwaith y prynedigaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen ym mhob un o'r amserau hyn, yn ddosparthiadol yn eu trefn; yr hyn a wnaf dan dri o bennau; un mewn perthynas i bob un o'r amserau crybwylledig.

I. O'r cwymp hyd ddyfodiad Crist yn y cnawd, yr oedd Duw yn gwneuthur y pethau hynny ag oeddynt yn rhag-barottoawl i'w ddyfodiad ef i weithredu y prynedigaeth, ac yr oeddynt hefyd yn rhag-redegwyr iddo, ac yn wystlon o hono.

II. Fod yr amser er pan yr ymunodd yr Arglwydd Iesu â chnawd hyd ei adgyfodiad, wedi ei dreulio i ynnill a phwrcasu y prynedigaeth.

III. Fod yspaid yr amser o adgyfodiad Crist hyd ddiwedd y byd, oll yn cael ei gymmeryd i fynu i ddwyn oddi amgylch effeithiau mawr, neu lwyddiant y pwrcas hwnnw.

Trwy ystyriaeth neillduol o'r tri chynnygiad hyn, fe allai y bydd i'r gwirionedd mawr a addysgir yn yr athrawiaeth, ymddangos mewn goleu eglur, modd y gallom weled pa fodd y mae gwaith y prynedigaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen o gwymp dyn hyd ddiwedd y byd.

# DOSPARTH I.

## *O Gwymp Dyn hyd Ymddangosiad Crist yn y Cnawd.*

Fy ngorchwyl nesaf fydd dangos, pa fodd y dygwyd ym mlaen waith y prynedigaeth, o gwymp dyn hyd yr amser yr ymunodd Crist â chnawd, dan y pen cyntaf; yr oedd Duw yn gweithredu y pethau hynny o gwymp dyn hyd ddyfodiad Crist yn y cnawd, ac yr oeddynt yn barottoawl i'w ddyfodiad ef, ac yn wystlon o'r prynedigaeth.

Tra y parhaodd yr yspaid hynny o amser, yr oedd holl weithredoedd mawrion Duw yn barottoawl i hyn. Yr oedd llawer o gyfnewidiadau mawrion â chwyldroadau (*revolutions*) yn y byd, y rhai yn unig ydoedd megis i droi olwynion rhagluniaeth mewn trefn i wneud ffordd i ddyfodiad Crist, a'r hyn ydoedd efe i'w wneuthur yn y byd. Yr oeddynt oll yn tueddu at hyn yma, ac oll yn dibennu yn hyn. At hyn yma yn neillduol yr oedd holl weithredoedd mawrion Duw tu ag at ei eglwys yn tueddu. Yr oedd yr eglwys dan wahanol oruchwyliaethau, ac mewn gwahanol amgylchiadau, cyn dyfodiad Crist; ond yr oedd yr holl oruchwyliaethau hynny yn parottoi 'r ffordd i'w ddyfodiad ef. Yr oedd Duw yn gweithredu iachawdwriaeth i eneidiau dynion trwy yr holl yspaid hynny o amser, er fod y rhifedi yn fychan iawn mewn cydmariaeth â'r hyn ydoedd wedi hynny; a'i iachawdwriaeth ef y pryd hynny ydoedd megis pe buasai mewn ffordd o flaenbrofiad. Yr holl eneidiau a achubwyd cyn dyfodiad Crist, oeddynt yn unig megis pe buasent yn wystlon o gynhauaf i ddyfod.

Fe weithredodd Duw lawer o waredigaethau llai i'w bobl a'i eglwys cyn dyfodiad Crist, na'r rhai a wnaeth efe wedi hynny; y gwaredigaethau hynny oll oeddynt megis cynnifer o ragredegwyr a lluniau o'r iachawdwriaeth fawr oedd i gael ei gwneuthur gan Grist pan y deuai. Yr oedd Duw yn ei ddatguddio ei hun yn yr amseroedd gynt, o bryd i bryd, o gwymp dyn hyd ddyfodiad Crist. Yr oedd yr eglwys, tra y parhaodd yr yspaid hynny o amser, yn mwynhau goleuni dwyfol ddat-

guddiad, ac, mewn gradd, oleuni yr efengyl. Ond nid oedd yr holl ddatguddiedigaethau hynny yn unig ond gwystlon o'r goleuni mawr a ddygai efe, yr hwn a ddaeth i fod yn oleuni y byd. Yr oedd yr holl yspaid hynny o amser, megis pe buasai yn nos, ym mha un yn wir nid ydoedd eglwys Dduw mewn hollol dywyllwch, ond yr oedd ei goleuni yn gyffelyb i oleuni y lloer a'r ser; ac nid oedd i'w gydmaru â goleuni yr haul. Nid ydoedd yn ogoneddus, o herwydd y gogoniant tra rhagorol ag oedd i'w ddatguddio. 2 *Cor.* 3. 10. Yr oedd gan yr eglwys yn wir oleuni yr haul, ond yn unig megis yn llewyrchu oddiwrth y lloer a'r ser. Fe ellir ystyried yr eglwys yr holl amser hynny fel un dan oed; yr hyn y mae 'r apostol yn ei ddangos yn eglur yn *Gal.* 4. 1,—3. "A hyn yr wyf yn ei ddywedyd: dros gymmaint o amser ag y mae yr etifedd yn fachgen, nid oes dim rhagor rhyngddo a gwas, er ei fod yn arglwydd ar y cwbl; eithr y mae efe dan ymgeleddwyr a llywodraethwyr, hyd yr amser a osodwyd gan y Tad. Felly ninnau hefyd, pan oeddym fechgyn, oeddym gaethion dan wyddorion y byd."

Ond yma, er rhoi mwy o amlygrwydd a gwahan-nodiad, myfi a adranaf y dosparth hwn, sef o gwymp dyn hyd ddyfodiad Crist, i chwech o rannau:—

1. O'r cwymp hyd y diluw.
2. O'r diluw hyd alwad Abraham.
3. O alwad Abraham hyd Moses.
4. O Moses hyd Dafydd.
5. O Dafydd hyd gaethiwed Babilon.
6. Oddi yno hyd yr amser yr ymunodd Crist â chnawd.

---

## RHAN I.

### *O'r Cwymp hyd y Diluw.*

Hwn oedd yr amser pellaf o bob pellder oddiwrth ymddangosiad Crist yn y cnawd; etto y pryd hynny fe ddechreuwyd y gwaith mawr hwn; yr adeiladaeth ogoneddus yma, yr hon ni orphenir hyd ddiwedd y byd; a hyn wyf yn awr am ei ddangos. Ac i'r diben hwn myfi a sylwaf:

1. Cyn gynted ag y syrthiodd dyn, daeth Crist i weithredu ei waith cyfryngol. Y pryd hynny y dechreuodd efe weithredu gwaith a swydd Cyfryngwr. Yr oedd efe wedi cymmeryd y gwaith arno cyn bod y byd. Efe a safodd mewn ymrwymiad

gyd â'r Tad er tragywyddoldeb i ymddangos i fod yn Gyfryngwr i ddyn, pryd nad oedd achlysur i hynny. Pan syrthiodd dyn, dechreuodd Crist yn ddioed ar ei waith, ac a gymmerodd arno yn weithredol y swydd gyfryngol. Y pryd hynny fe ddarfu i Grist, tragywyddol Fab Duw, megis ymwisgo yn ei wisg gyfryngol, ac ynddi ei gyflwyno ei hun ger bron y Tad. Efe yn ddioed a ddaeth i sefyll rhwng Mawrhydi anfeidrol sanctaidd, oedd wedi cael ei sarhau, a dynolryw oedd wedi troseddu, ac efe a dderbyniwyd yn ei gyfryngdod; ac fel hyn y rhagflaenwyd y digofaint rhag myned allan yn nghyflawn weithrediad y felldith a dynnasai dyn arno ei hun.

Y mae yn amlwg fod Crist wedi dechreu gweithredu yn ei swydd fel Cyfryngwr rhwng Duw a dyn, cyn gynted ag y syrthiodd dyn, oblegid fe ddechreuodd trugaredd weithredu tu ag at y dyn yn ddioed. Yr oedd trugaredd yn ymaros Duw tu ag atto, yn gymmaint ag na ddistrywiodd efe ef, megis ag y gwnaeth â'r angelion pan y syrthiasant. Ond nid ydyw trugaredd yn gweithredu tu ag at ddyn syrthiedig ond trwy Gyfryngwr. Pe na buasai i Dduw yn ei drugaredd attal Satan, efe yn ddioed a ddaliasai afael yn ei ysglyfaeth. Fe ddechreuodd Crist weithredu fel Eiriolwr tros ddyn, cyn gynted ag y syrthiodd efe. Nid oes un drugaredd i weithredu tu ag at ddyn, ond a geir trwy gyfryngdod Crist: felly, yn awr, Crist a ddechreuodd ar y gwaith yr hwn oedd efe i'w ddwyn ym mlaen trwy holl oesoedd y byd. Fe gymmerodd Crist ofal yr eglwys arno ei hun o'r dydd hwnnw allan yn ngweinyddiad ei holl swyddau; o'r pryd hynny y cymmerodd efe arno weithredu fel Prophwyd i ddysgu dynolryw, ac i eiriol drostynt yn ei swydd Offeiriadol; ac hefyd efe a gymmerodd arno i lywodraethu 'r eglwys a'r byd. Efe o'r pryd hwnnw allan a gymmerth arno i amddiffyn ei etholedigion rhag trais eu holl elynion. Pan y darfu i Satan, y prif elyn, orchfygu a dadymchwelyd dyn, y gwaith o'i wrthwynebu a'i orchfygu a roddwyd i Grist; ac efe a gymmerth arno i reoli y gwrthwynebwr cyfrwys a galluog hwnnw. Efe y pryd hynny a osodwyd yn Gadpen eu hiachawdwriaeth hwy, ac y mae byth wedi hynny yn gweithredu fel y cyfryw, ac efe a barha i weithredu hyd ddiwedd y byd. O hynny allan, y byd hwn, ynghyd â'i holl amgylchiadau, oedd megis pe buasai yn disgyn ar Grist: canys pan bechodd dyn, ni wnai Duw y Tad ddim âg ef mwy yn ddigyfrwng; ond yn unig trwy Gyfryngwr, naill ai ei addysgu, llywodraethu, neu gyfrannu unrhyw fendithion iddo.

A chan hynny, pan ddarllenom yn yr hanes sanctaidd yr hyn a wnaeth Duw o amser i amser er ei eglwys a'i bobl, a'r modd y datguddiodd efe ei hun iddynt, yr ydym i ddeall yn bennaf am yr ail Berson yn y Drindod. Pan y darllenom i Dduw ymddangos ar ol y cwymp, yn fynych mewn gwedd weledig, neu trwy ryw arwydd allanol o'i bresennoldeb, yr ydym i ddeall yn gyffredinol, os nad yn hollol, mai Mab Duw ydoedd. Hyn a ellir ei brofi oddiwrth *Ioan* 1. 18. "Ni welodd neb Dduw erioed: yr unig-anedig Fab, yr hwn sydd ym mynwes y Tad, hwnnw a'i hyspysodd ef." Gan hynny y gelwir ef "delw y Duw anweledig," y fath enw yn arwyddo, er fod Duw y Tad yn anweledig, etto fod Crist yn ddelw iddo, neu yn gynddrychiolwr, trwy ba un y gwelir ef.

Ac nid yn unig y byd hwn a roddwyd i Grist, i ofalu am dano, ac i'w lywodraethu a'i drefnu yn unol â'i fwriad yn ngwaith y prynedigaeth, ond hefyd yr holl greadigaeth mewn rhyw ystyriaeth. Yr angelion o'r amser hwnnw a roddwyd iddo ef, i fod yn ysprydion gwasanaethgar yn y gorchwyl goruchel hwn; a hwy a fuont o'r pryd hwnnw allan, megis y mae yn amlwg yn yr hanes ysgrythyrol, yn gweithredu fel y cyfryw yn achosion eglwys Crist, o amser i amser.

A chan hynny nyni a allwn dybied ei fod wedi cael ei wneud yn hyspys yn y nefoedd, yn ddioed ar ol y cwymp, fod gan Dduw fwriad i brynu dyn; a bod Crist yn awr wedi cymmeryd arno y swydd a'r gwaith i fod yn Gyfryngwr rhwng Duw a dyn; ac o hynny allan fod yr angelion i fod yn wasanaethgar iddo yn y swydd honno: ac megis yr oedd Crist, er yr amser hwnnw, wedi ei ddyrchafu yn Frenhin y nefoedd, felly y mae efe o hynny allan fel Cyfryngwr, yn Oleuni, ac yn Haul y nefoedd (yn ol y darlun yn *Dat.* 21, 23. "A'r ddinas nid rhaid iddi wrth yr haul, na'r lleuad i oleuo ynddi: canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi ydyw yr Oen:") felly, y datguddiad a roddwyd yn awr yn y nefoedd ym mysg yr angelion, ydoedd megis pe buasai y dyddiad cyntaf i'r goleuni hwn yno. Pan yr esgynodd efe i'w ogoniant, ar ol ei ddioddefaint, a phan y gorseddwyd ef mewn bri mawr, yna fe gododd yr haul yn y nefoedd; ond yr oedd y goleuni wedi dechreu gwawrio yno yn ddioed ar ol y cwymp.

II. Yn fuan wedi hyn y datguddiwyd yr efengyl gyntaf ar y ddaear, yn y geiriau hyn: "Gelyniaeth hefyd a osodaf rhyngot ti (y sarph) a'r wraig, a rhwng dy had di a'i had hithau: efe a

ysiga dy ben di, a thithau a ysigi ei sawdl ef." *Gen.* 3. 15. Nyni a allwn dybied, fod bwriad Duw i waredu dyn syrthiedig wedi cael ei amlygu yn y nefoedd cyn iddo gael ei amlygu ar y ddaear; oblegid fod gwaith yr angelion fel ysprydion gwasanaethgar yn gofyn hynny, fel y byddai iddynt fod yn barod yn ddioed i wasanaethu yn y swydd honno: felly, y goleuni a dywynodd yn gyntaf yn y nefoedd, ond yn fuan iawn ar ol hynny ar y ddaear. Yn y geiriau hynny o eiddo Duw y mae amlygrwydd fod mechnïydd arall wedi cael ei osod yn lle dyn, wedi i'r pen cyntaf fethu. Hwn ydoedd y datguddiad cyntaf o'r cyfammod gras; y tywyniad cyntaf o oleuni yr efengyl ar y ddaear.

Y byd hwn cyn y cwymp ydoedd yn mwynhau goleuni canolddydd; goleuni gwybodaeth am Dduw, yn ei ogoniant a'i ffafr: ond pan y syrthiodd dyn, yr holl olwg yma a ddilëwyd ar unwaith, a'r byd a ddychwelodd drachefn i hollol dywyllwch; gwaeth tywyllwch na'r tywyllwch oedd yn nechreuad y byd. *Gen.* 1. 2. Ni's gallasai dynion nac angelion gael unrhyw ffordd trwy ba un y gwasgerid y tywyllwch yma. Tuedd y tywyllwch yma a ymddangosodd pan y gwybu Adda a'i wraig eu bod yn noethion, ac y gwniasant ddail y ffigysbren yn arffedogau iddynt eu hunain, pan y clywsant lais Duw yn rhodio yn yr ardd, ac yr ymguddiasant ym mysg y prennau; pan y galwodd Duw hwy i gyfrif, gan ddywedyd, "Pa beth yw hyn a wnaethost? ai o'r pren y gorchymynaswn i ti na fwyttäit o hono, y bwytteaist?" Yna nyni a allwn dybied fod eu calonnau wedi eu llenwi â dychryn ac â chywilydd. Ond y geiriau hynny o eiddo Duw yn *Gen.* 3. 15. oeddynt y wawr gyntaf o oleuni yr efengyl ar ol y tywyllwch a grybwyllwyd. Yn awr yr ymddangosodd gyntaf ryw lewyrchiadau o oleuni; ond datguddiad aneglur o'r efengyl ydoedd, ac ni roddwyd mo hono i Adda nag Efa yn uniongyrchol, ond yr hyn a ddywedodd Duw wrth y sarph. Yr ydoedd er hynny yn hynod gynnwysfawr, megis ag y gellid yn hawdd ddangos, pe na bai hynny yn cymmeryd gormod o amser.

Yma yr oedd amlygrwydd o fwriad grasol trwy had y wraig, yr hwn ydoedd gyffelyb i'r llewyrchiadau cyntaf o oleuni yn y dwyrain pan y byddo y dydd yn gwawrio. Fe roddwyd yr amlygrwydd o'r drugaredd yma, cyn i'r ddedfryd gael ei chyhoeddi ar Adda ac Efa, a hynny a wnawd o dynerwch tu ag attynt hwy, wrth ba rai yr oedd Duw yn bwriadu trugarhau,

rhag iddynt suddo tan y ddedfryd gollfarnol, heb ddim yn cael ei osod allan oddiwrth yr hyn y gallasent gasglu unrhyw obaith.

Y mae un o'r pethau mawr a fwriadwyd ei wneud trwy waith y prynedigaeth, yn cael ei ddangos yma yn fwy eglur na dim arall, sef darostyngiad gelynion Duw tan draed ei Fab. Hyn a fygythiwyd yn ddioed ar ol y cwymp; ac yn awr bwriad Duw mewn perthynas i hynny a gyhoeddwyd gyntaf. Hwn ydoedd y gwaith a gymmerodd Crist arno, pa un a ddechreuodd efe weithredu yn fuan wedi i ddyn syrthio, ac y mae yn ei ddwyn ym mlaen yn barhaus, ac efe a'i cyflawna yn niwedd y byd. Fe allai fod Satan yn dirfawr orfoleddu yn ngwymp dyn, megis pe buasai wedi llwyddo i ddadymchwelyd bwriadau Duw; ond yn y geiriau hyn y mae Duw yn dangos yn eglur iddo, na chai efe ddim achos gorfoledd yn y diwedd, ond yr ennillid cyflawn fuddugoliaeth arno ef, trwy had y wraig.

Rhoddi y datguddiad hwn o'r efengyl oedd y peth cyntaf a wnaeth Crist fel Prophwyd. Gellwch gofio yr hyn a ddywedwyd dan y pen cyntaf o'n tri chynnygiad, sef fod Duw yn gweithredu y pethau hynny o gwymp dyn hyd ddyfodiad Crist yn y cnawd, ag oeddynt yn parottoi 'r ffordd i'w ddyfodiad ef, i weithio allan y prynedigaeth, ac yn rhag-redegwyr ac yn wystlon o hono. Ac un o'r pethau hynny a wnaeth Duw y pryd hwn, i barottoi y ffordd i ddyfodiad Crist i'r byd, oedd rhagfynegi y deuai, a rhoddi yr addewid o hono, megis y darfu iddo o amser i amser, ac o oes i oes, hyd oni ddaeth efe. Dyma oedd yr addewid gyntaf o Grist, a'r rhagfynegiad cyntaf am dano ar y ddaear.

III. Yn fuan wedi hyn, fe sefydlwyd y ddefod o aberthu, i fod yn gysgod safadwy o aberth Crist, hyd oni ddeuai efe i'w offrymmu ei hun i Dduw. Nid trwy y ddeddf Lefitaidd y sefydlwyd y ddefod o aberthu gyntaf; canys yr ydoedd yn rhan o addoliad gosodedig Duw er's amser maith, cyn iddi hi gymmeryd lle, ïe, er dechreuad eglwys weledig Duw ar y ddaear. Yr ydym yn darllen am y patrieirch, Abraham, Isaac, a Jacob, yn aberthu, ïe, o'u blaen hwy yr oedd Noah ac Abel wrth y gorchwyl. A hyn oedd trwy ddwyfol sefydliad; canys yr ydoedd yn rhan o addoliad Duw yn ei eglwys, a'r hyn ydoedd efe yn ei gymmeradwyo pan yr offrymmid mewn ffydd; yr hyn sydd yn profi ei fod o'i osodiad ef, canys nid ydyw aberthu yn un rhan o addoliad naturiol. Nid ydyw goleuni natur yn cyfarwyddo dynion i offrymmu anifeiliaid yn aberth i Dduw, ac nid ydoedd

yn orchymynedig yn neddf natur; a chan ei fod yn gymmeradwy gan Dduw, mae yn rhaid ei fod felly trwy ryw orchymyn, neu osodiad pennodol: canys y mae Duw yn cyhoeddi ei fod yn ffieiddio y fath addoliad ag a addysgir trwy orchymynion dynion, yr hwn nid ydyw o'i osodiad ef. *Esa.* 29. 13. " Am hynny y dywedodd yr Arglwydd, o herwydd bod y bobl hyn yn nesâu attaf â'u genau, ac yn fy anrhydeddu â'u gwefusau, a phellhau eu calon oddi wrthyf, a bod eu hofn tu ag attaf fi wedi ei ddysgu allan o athrawiaeth dynion; am hynny wele fi yn myned rhagof i wneuthur yn rhyfedd ym mysg y bobl hyn," &c. Ac ni's gellir offrymmu i fynu mewn ffydd, y fath addoliad ag nad ydyw awdurdodedig oddiwrth ddwyfol osodiad; oblegid nid oes sail i ffydd lle nad oes dwyfol osodiad. Ac ni's gallasid ei offrymmu mewn ffydd am gymmeradwyaeth Duw, pe na buasai o'i osodiad ef; canys nid oes gan ddyn sail i obeithio am gymmeradwyaeth Duw yn yr hyn nad ydyw o'i osodiad ef, ac i'r hyn na addawodd efe ei gymmeradwyaeth; a chan hynny y mae yn canlyn fod y ddefod o offrymmu aberthau i Dduw wedi cael ei sefydlu ganddo ef ei hun yn fuan wedi 'r cwymp; canys y mae yr ysgrythyr yn hyspysu i ni fod " Abel yn offrymmu blaenffrwyth ei ddefaid, ac o'u brasder hwynt:" *Gen.* 4. 4. ac iddo gael derbyniad gan Dduw yn yr offrwm hwnnw.* *Heb.* 11. 4. Ac nid oes dim yn yr hanes yn ymddangos fel pe buasai y sefydliad yn cael ei osod gyntaf pan yr oedd Abel yn offrymmu yr aberth hwnnw i fynu i Dduw; ond ymddengys iddo trwy hynny ufuddhau yn unig i ddefod oedd eisoes wedi ei sefydlu.

Y mae yn dra thebygol i Dduw sefydlu yr ordinhad o aberthu yn ddioed wedi iddo ddatguddio y cyfammod gras; yr hwn gyfammod ac addewid oedd y sylfaen, ar ba un yr adeiladwyd y ddefod o aberthu. *Gen.* 3. 15. Yr addewid hon o Grist oedd y garreg gyntaf a osodwyd tu ag at yr adeiladaeth ogoneddus yma, sef gwaith y prynedigaeth, yr hon a orphenir yn niwedd y byd; a'r garreg nesaf a roddwyd ar hynny, oedd yr ordinhad o aberthu, i fod yn gysgod o'r *cymmod mawr.*

Y peth cyntaf y mae gennym hanes am dano, wedi i Dduw gyhoeddi y ddedfryd ar y sarph, ar y wraig, ac ar y dyn, ydoedd iddo wneuthur iddynt beisiau crwyn, a'u gwisgo am danynt hwy; defnydd pa rai, yn ol meddwl y cyffredinolrwydd o'r duwinydd-

* Hynny yw, trwy ffydd yn Nghrist, yr hwn yr oedd ei offrwm yn gysgod o hono.

ion, oedd crwyn yr anifeiliaid a laddasid yn ebyrth; canys nid oes gennym hanes am ddim arall yn achlysur i ddynion i ladd anifeiliaid, ond yn unig i'w hoffrymmu yn aberthau, hyd ar ol y diluw. Nid oedd yn ganiattaol i ddynion fwytta cig anifeiliaid hyd ar ol hynny. Ymborth dyn cyn y cwymp ydoedd o ffrwyth coed paradwys; a phan y gyrwyd ef allan oddi yno wedi 'r cwymp, ei ymborth ydoedd llysiau 'r maes: "A llysiau 'r maes a fwyttai di." *Gen.* 3. 18. Y caniattad cyntaf a gafodd dyn i fwytta cig, fel ei ymborth cyffredin, oedd ar ol y diluw: *Gen.* 9. 3. "Pob ymsymmudydd yr hwn sydd fyw, fydd i chwi yn fwyd: fel y gwyrdd lysieuyn y rhoddais i chwi bob dim." Felly y mae yn debygol mai crwyn yr aberthau oedd y rhai hynny ag y gwisgwyd Adda ac Efa â hwynt. Yr oedd bod Duw yn eu gwisgo hwy â'r crwyn hynny, yn gyffelybiaeth fywiog o'u bod yn cael eu gwisgo â chyfiawnder Crist. Nid ydoedd y wisg honno yn eu cyrhaedd hwy eu hunain; ond Duw a'i rhoddodd iddynt: canys fe ddywedir, "A'r Arglwydd Dduw a wnaeth iddynt beisiau crwyn, ac a'u gwisgodd am danynt hwy." *Gen.* 3. 21. Nid ydyw y cyfiawnder ag y gwisgir ein heneidiau noethion âg ef, yn gyfiawnder o'n heiddo ni, ond cyfiawnder Duw. Efe yn unig sydd yn gwisgo enaid noeth.

Ein rhieni cyntaf, y rhai oeddynt yn noethion, a wisgwyd ar draul bywyd. Anifeiliaid a laddwyd, fel y byddai iddynt hwy gael eu gwisgo. Felly Crist a fu farw, fel y byddai i'n heneidiau noethion ninnau gael eu gwisgo. Fel hyn, ein rhieni cyntaf a wisgwyd â chrwyn aberthau, megis ag y töwyd y tabernacl yn yr anialwch, yr hwn oedd yn gysgodi yr eglwys, â chrwyn hyrddod wedi eu lliwio yn gochion, megis pe buasent wedi eu trochi mewn gwaed, i arwyddo cyfiawnder Crist, yr hwn a orphenwyd trwy boen angau, dan ba un y tywalltodd efe ei werthfawr waed.

Nyni a sylwiasom o'r blaen, fod y goleuni oedd yr eglwys yn ei fwynhau, o gwymp dyn hyd ddyfodiad Crist, yn debyg i'r goleuni ydym ni yn ei fwynhau yn y nos; nid goleu yr haul yn uniongyrchol, ond megis yn adlewyrchu oddiwrth y lloer a'r planedau; y goleuni hwnnw oedd yn rhagddangos Crist, Haul Cyfiawnder, yr hwn oedd i gyfodi wedi hynny. Y goleuni hwn oedd iddynt hwy yn bennaf ddwy ffordd: un ydoedd trwy ragddywediadau am Grist, ym mha rai yr oedd ei ddyfodiad yn cael ei rag-fynegi a'i addaw; a'r llall trwy rag-arwyddion a

chysgodau, ym mha rai yr oedd ei ddyfodiad a'r prynedigaeth yn cael eu rhag-ddangos. Y peth cyntaf a wnawd i barottoi 'r ffordd i ddyfodiad Crist yn yr ystyr blaenaf o'r ffyrdd hyn, oedd, rhoddi yr addewid a ystyriwyd uchod; a'r peth cyntaf yn yr ystyr olaf, ydoedd sefydliad yr aberthau a'r cysgodau. Megis ag yr oedd yr addewid o hono yn llewyrchiad cyntaf o oleuni efengylaidd mewn prophwydoliaeth ar ol y cwymp; felly yr oedd sefydliad yr aberthau yn arwydd o hono mewn cysgodau. Rhoddi yr addewid honno, oedd y peth cyntaf a wnaeth Crist tu ag at y gwaith hwn, yn ei swydd brophwydol ar ol y cwymp; a sefydliad yr aberthau oedd y peth cyntaf ar ol y cwymp, ag yr ydym yn darllen am dano, trwy yr hyn yr amlygodd Crist ei hun yn ei swydd offeiriadol.

Yr oedd sefydliad yr aberthau yn beth mawr a wnawd tu ag at barottoi 'r ffordd i ddyfodiad Crist, a gweithio allan y prynedigaeth. Canys aberthau yr Hen Destament oeddynt y pennaf oll o gysgodau yr Hen Destament, i osod allan Grist a'r prynedigaeth; ac oeddynt yn tueddu i sefydlu yn meddyliau aelodau eglwys weledig Duw, yr angenrheidrwydd am aberth dyhuddawl, mewn trefn i fod y Duwdod yn cael ei gymmodi o achos pechod; ac felly yn parottoi 'r ffordd i'r efengyl ogoneddus, yr hon sydd yn datguddio yr aberth mawr, gael derbyniad, nid yn unig yn yr eglwys weledig, ond trwy 'r byd o ddynolryw. Oddiwrth y gosodiad hwn ar ol y cwymp y deilliodd yr un arferiad ym mysg yr holl genhedloedd. Ni chanfyddwyd yr un genedl mewn un lle, pa mor farbaraidd bynnag a fyddent, heb yr arferiad hwn. Y mae hyn yn brawf cadarn o wirionedd y grefydd ddatguddiedig; canys nid oedd yr un genedl, ond yn unig yr Iuddewon, yn gallu dywedyd pa fodd y daethent i ymarfer â hyn, neu i ba ddiben yr oeddynt yn offrymmu aberthau i'w duwiau. Ni chawsant eu haddysgu trwy oleuni natur i'r fath beth. Ni ddysgodd hynny mo honynt fod eu duwiau yn newynog, ac yn ymborthi ar y cig oeddynt yn ei losgi yn aberth; ac etto yr oeddynt oll yn ymarfer â hyn; am yr hyn ni's gellir rhoi un rheswm arall, ond iddo ddeilliaw iddynt oddiwrth Noah, yr hwn a dderbyniodd y ddefod oddiwrth ei hynafiaid, y rhai yr oedd Duw wedi gorchymyn iddynt ymarfer â hynny, fel cysgod o aberth mawr Crist. Pa fodd bynnag, trwy 'r moddion hyn yr oedd meddyliau holl genhedloedd y byd yn cael eu meddiannu â'r ystyriaeth, fod cymmod neu aberth am bechod yn angenrheidiol; a gwnawd ffordd iddynt i roi der-

byniad mwy parod i athrawiaeth fawr yr efengyl, pa un sydd yn ein haddysgu am y cymmod ac aberth Crist.

IV. Duw yn fuan ar ol y cwymp a ddechreuodd yn weithredol achub eneidiau dynion trwy 'r prynedigaeth yn Nghrist. Yn hyn, Crist, yr hwn yn ddiweddar oedd wedi cymmeryd arno ei hun waith Cyfryngwr rhwng Duw a dyn, a ddechreuodd weithredu yn ei swydd frenhinol. Yn y rhag-ddywediad cyntaf am Grist, y goleuni am y prynedigaeth trwyddo ef a ddechreuodd lewyrchu yn y brophwydoliaeth am dano; yn sefydliad yr aberthau y gwawriodd y llewyrch cyntaf am dano mewn cysgodau; ac yn ei waith yn achub dynion yn weithredol y dechreuodd y wawr lewyrchu gyntaf am dano yn y ffrwyth o hono.

Y mae yn debygol, gan hynny, mai Adda ac Efa ydoedd blaenffrwyth y prynedigaeth yn Nghrist; y mae yn debygol, oddiwrth y modd yr ymddygodd Duw tu ag attynt, trwy iddo eu cysuro fel y darfu, pan yr oeddynt wedi eu deffroi tan ddychrynfeydd cydwybod. Yr oeddynt yn ddeffroedig ac yn gywilyddus mewn ystyriaeth o'u heuogrwydd, wedi eu cwymp, pan yr agorwyd eu llygaid, ac y gwelsant eu bod yn noethion, ac y gwniasant ddail ffigys i guddio eu noethni; fel y mae pechadur, yr hwn, dan ei argyhoeddiad cyntaf, sydd yn ymdrechu i guddio noethni ei enaid â'i gyfiawnder ei hun. Yna hwy a ddeffrowyd ym mhellach, ac a ddychrynwyd, trwy glywed llais Duw, fel yr oedd efe yn dyfod i'w condemnio. Ni wnai eu gwisgoedd o ddail ffigys atteb y diben; canys, er iddynt ymwisgo â'r rhai hynny, hwy a redasant i ymguddio y'mysg prennau yr ardd, ac ni feiddiasent hyderu yn eu dail ffigys i guddio eu noethni oddiwrth Dduw. Yna fe'u deffrowyd ym mhellach drachefn, trwy i Dduw eu galw hwy i gyfrif manwl. Ond tra yr oedd eu dychrynfeydd wedi cynnyddu i'r fath radd, a'u bod yn sefyll, fel y gallwn dybied, yn frawychus a dychrynedig o flaen eu Barnwr, heb unrhyw-beth i gymmeryd gafael ynddo, oddiwrth yr hyn y gallasent gasglu gobaith, yna Duw a ymostyngodd i osod allan sail iddynt i ymgalonnogi, i'w cadw tan eu deffroad rhag dychrynllyd effeithiau anobaith, gan roi amnaid am fwriad trugarog trwy Waredwr, a hynny cyn iddo gyhoeddi y ddedfryd arnynt. Ac wedi hyn, pan y daeth efe ym mlaen i gyhoeddi y ddedfryd, trwy yr hyn y gallwn dybied i'w dychrynfeydd chwanegu, fe welodd Duw yn dda i'w calonnogi hwy, a gadael iddynt weled nad oedd efe ddim wedi eu hollol fwrw

hwynt ymaith, trwy ei dadol ofal am danynt, yn gwneuthur iddynt beisiau crwyn, a'u gwisgo am danynt hwy. Yr oedd hyn hefyd yn dangos y derbyniad a gafodd yr ebyrth hynny a offrymwyd i Dduw (crwyn pa rai oedd y gwisgoedd) y rhai oeddynt gysgodau o'r peth a addawodd Duw, pan y dywedodd, y byddai i had y wraig ysigo pen y sarph; yr hon addewid, y mae lle i feddwl, a gredasant ac a gofleidiasant. Y mae yn ymddangos yn eglur i Efa ddatgan ei gobaith yn, a'i hymddibyniad ar, yr addewid honno, oddiwrth yr hyn a ddywedodd pan y ganwyd Cain, *Gen.* 4. 1. "Cefais ŵr gan yr Arglwydd;" hynny yw, megis yr addawodd Duw, y byddai i'm had ysigo pen y sarph; felly, yn awr, y mae Duw wedi rhoddi i mi y gwystl a'r arwydd hwn o hynny, sef fod gennyf had wedi ei eni. Yr oedd hi yn addef yn eglur, fod ei phlentyn hwn oddiwrth Dduw, ac yn gobeithio mai ei mab hynaf hwn oedd yr had addewedig; er ei bod wedi cam-gymmeryd, fel y darfu i Abraham mewn perthynas i Ismael, ac Isaac mewn perthynas i Esau, a Samuel mewn perthynas i fab hynaf Jesse. Hefyd, y mae yr hyn a ddywedodd hi pan y ganwyd Seth, yn dangos ei gobaith yn, a'i hymddibyniad ar, addewid Duw; (*adn.* 25,) "O herwydd Duw (ebe hi) a osododd i mi had arall yn lle Abel, am ladd o Cain ef."

Fel hyn y mae yn dra thebygol, os nid yn amlwg, mai megis ag y cymmerodd Crist arno waith Cyfryngwr pan y syrthiodd dyn, felly, yn awr, iddo yn weithredol ddechreu ar waith y prynedigaeth, ac ymladd brwydr â'i elyn mawr, y diafol, yr hwn y cymmerasai efe arno ei orchfygu, a gwaredu y ddau gaethion cyntaf hynny o'i ddwylaw ef; a thrwy hynny yn ei siomi ef, yn fuan wedi iddo gael buddugoliaeth, yn yr oruchafiaeth a gafodd ar ein rhïeni cyntaf. Ac er y gallasai dybied ei fod yn sicr o'i feddiant ynddynt hwy a'u holl hiliogaeth, Crist, y Prynwr, yn fuan a roddodd brawf iddo o'i gam-gymmeriad, a'i fod ef yn alluog i'w ddarostwng, a gwaredu dyn syrthiedig. Efe a adawodd iddo weled hynny yn ngwaredigaeth y caethion cyntaf hynny o'i feddiant; ac felly rhoddi iddo brawf y cyflawnai y bygythiad hwnnw, "had y wraig a ysiga ben y sarph;" ac yn rhag-arwydd y cyflawnai un o'r pethau mawr a gymmerasai arno i'w wneuthur, sef darostwng ei holl elynion dan ei draed.

Wedi hyn y mae amlygiad arall yn cael ei roddi o'r prynedigaeth yn un o'u plant, sef Abel gyfiawn, fel y geilw yr ysgrythyr

ef, enaid yr hwn, fe allai, oedd y cyntaf a aeth i'r nefoedd trwy y prynedigaeth yn Nghrist. Ynddo ef, o'r hyn lleiaf, y ceir y prawf cyntaf mewn hanes ysgrythyrol am farwolaeth person gwaredol. Os efe oedd y cyntaf, yna, megis y dechreuodd y prynedigaeth trwy Grist lewyrchu o'r blaen ar eneidiau dynion, yn eu dychweliad a'u cyfiawnhad, felly, ynddo ef y dechreuodd lewyrchu mewn gogoneddiad; ac ar ei farwolaeth ef y dechreuodd yr angelion gyntaf weithredu fel ysprydion gwasanaethgar i Grist, yn arwain eneidiau y rhai prynedig i ogoniant. Ac ynddo ef y cafodd yr angelion etholedig yn y nefoedd y cyfleusdra cyntaf i weled peth mor rhyfeddol ag enaid dynol, yr hwn oedd wedi suddo i'r fath lyngclyn o bechod a thrueni, wedi ei ddwyn i'r nefoedd a'i ogoneddu, yr hyn oedd yn fwy peth o lawer na phe buasent yn gweled dyn yn cael ei ddychwelyd yn ol i'r baradwys ddaearol. Cawsant olwg trwy hyn ar effaith gogoneddus y prynedigaeth yn Nghrist, yn yr anrhydedd a'r dedwyddwch mawr a enillwyd trwyddo i greaduriaid pechadurus a thruenus.

V. Y peth nodedig nesaf a wnaeth Duw i ddwyn yn mlaen yn mhellach waith mawr y prynedigaeth, ag y gwnaf sylw arno, yw, y tywalltiad cyntaf o'r Yspryd trwy Grist, yr hyn a fu yn nyddiau Enos. Yr ydym yn darllen yn *Gen.* 4. 26. "Yna y dechreuwyd galw ar enw yr Arglwydd." Mae cryn ddadl wedi bod gan dduwinyddion mewn perthynas i ystyr y geiriau hyn. Ni's gallwn dybied mai yr ystyr ydyw, mai y pryd hynny y dechreuodd dynion gyflawni y ddyledswydd o weddïo gyntaf. Y mae gweddi yn ddyledswydd yn nghrefydd natur, ac yn ddyledswydd i'r hon y mae yspryd duwioldeb yn fwyaf naturiol yn arwain dynion iddi. Y mae gweddi megis pe bai yn unig anadl y dyn duwiol, a chan hynny ni's gellir tybied fod y dynion sanctaidd hynny wedi byw fwy na dau can mlynedd heb weddïo. Gan hynny y mae rhai duwinyddion yn meddwl, mai y pryd hynny y dechreuodd dynion gyflawni addoliad cyhoeddus gyntaf, neu alw ar enw yr Arglwydd mewn cynnulleidfaoedd cyhoeddus. Pa un a ydyw i'w ddeall felly, ai nid ydyw, etto yn ddiau yr oedd yn awr ryw beth newydd yn eglwys weledig Duw, mewn perthynas i'r ddyledswydd o weddïo, neu alw ar enw yr Arglwydd, yr hyn ydoedd ganlyniadau, neu effeithiau tywalltiad Yspryd Duw.

Os y pryd hwn y cynhyrfwyd dynion gyntaf i ymgynnull ynghyd yn gynnulleidfaoedd i gynnorthwyo naill y llall i geisio Duw mewn modd na wnaethent felly erioed o'r blaen, y mae yn

rhesymmol meddwl fod rhyw beth anghyffredinol yn achos o hynny; ac na allai fod oddiwrth ddim ond dylanwadau neillduol Yspryd Duw. Nyni a allwn ddal sylw fod tywalltiadau nodedig o Yspryd Duw bob amser yn dwyn ym mlaen gynnydd mawr mewn gweddi. Pan y mae 'r Yspryd yn dechreu gweithredu ar galonnau dynion, y mae yn ddioed yn eu gosod hwy ar y gwaith o alw ar enw yr Arglwydd. Megis yr oedd gyda Paul wedi i Yspryd Duw ymaflyd ynddo ef, yna y dywedir, *Act.* 9. 11. "Wele y mae yn gweddïo." Felly yr oedd yn yr holl siamplau ag y mae gennym hanes am danynt yn yr ysgrythyr; ac felly y bydd yn y tywalltiad mawr o'r Yspryd yn y dyddiau diweddaf. Fe rag-fynegir y bydd iddo gael ei dywallt yn "yspryd gras a gweddïau." *Zech.* 12. 10. Gwel hefyd *Zeph.* 3. 9. "O herwydd yna yr adferaf i'r holl bobl wefus bur, fel y galwo pob un o honynt ar enw yr Arglwydd, i'w wasanaethu ef âg un ysgwydd."

A phan y dywedir yma, "y dechreuwyd galw ar enw yr Arglwydd," (neu, yn ol y Saesoneg, y dechreuodd dynion alw ar enw yr Arglwydd) ni feddylir yn amgen nad hwn oedd yr amser cyntaf a fu erioed i beth nodedig o'r natur yma. Yr ydoedd yn ddechreuad, neu yn gyntaf, o'r fath dywalltiad o'r Yspryd, neu y fath ddull o weithredu gan Dduw. Yn y modd hyn y mae 'r fath ddywediadau yn gyffredinol yn cael eu defnyddio yn yr ysgrythyrau: "A Saul a adeiladodd allor i'r Arglwydd. Hon oedd yr allor gyntaf a adeiladodd efe i'r Arglwydd." 1 *Sam.* 14. 35. Yn ol yr Hebraeg, megis y gwelir ar ymyl y ddalen, "Hon oedd yr allor a ddechreuodd efe adeiladu i'r Arglwydd." "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint, yr hon, wedi dechreu ei thraethu trwy yr Arglwydd?"

Gallwn sylwi yma, fod gwaith y prynedigaeth, o ran ei effeithiau, wedi cael ei ddwyn ym mlaen o gwymp dyn hyd y dydd hwn, trwy 'r un moddion. Er fod dylanwadau Yspryd Duw, mewn gradd, yn fwy gwastadol bob amser yn canlyn ei ordinhadau; etto, y modd y gwnawd y pethau mwyaf tu ag at ddwyn ym mlaen y gwaith hwn, ydoedd bob amser trwy dywalltiadau nodedig o'r Yspryd ar amserau neillduol o drugaredd, fel yr ymddengys yn fwy cyflawn wedi hyn. A hyn yma, yn nyddiau Enos, ydoedd y tywalltiad nodedig cyntaf y mae gennym hanes am dano. Yr oedd Duw wedi bod yn gweithredu yn achubol ar galonnau rhai o'r blaen; ond yn awr efe a welodd yn dda i ganiattau helaethach rhoddiad o'i Yspryd, fel ag yr ydym

yma yn gweled fod yr adeiladwaith fawr, yr hon y gosodasai Duw ei sylfaen yn ddioed ar ol y cwymp, wedi cael ei dwyn ym mlaen ym mhellach, a'i chodi yn uwch nag y buasai erioed o'r blaen.

VI. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno, yw, bywyd sanctaidd ragorol Enoch, yr hwn y mae gennym reswm i feddwl ei fod yn sant o fwy enwogrwydd na neb a fu o'i flaen; felly, yn yr ystyr yma, fe ddygwyd ym mlaen etto waith y prynedigaeth i uchder mwy. Mewn perthynas i'w effeithiau yn yr eglwys weledig yn gyffredinol, sylwasom o'r blaen iddo gael ei ddwyn yn uwch yn nyddiau Enos nag erioed o'r blaen; a thebyg ydyw fod Enoch yn un o seintiau y cynhauaf hwnnw; canys yr oedd efe yn byw yr holl ddyddiau y bu fyw ar y ddaear, yn nyddiau Enos. Ac mewn perthynas i'r gradd y dygwyd y gwaith hwn ym mlaen yn enaid person neillduol, fe'i codwyd yn uwch yn Enoch nag erioed o'r blaen. Ei enaid, fel yr oedd wedi ei adeiladu ar Grist, ydoedd wedi ei adeiladu i fynu mewn sancteiddrwydd i uwch gradd na neb o'i hynafiaid. Yr oedd efe yn gynllun rhyfeddol o'r prynedigaeth trwy Grist, ac o effeithiolrwydd ei ras ef.

VII. Fe roddodd Duw yn amser Enoch ddatguddiad mwy eglur o ddyfodiad Crist nag a roddasai cyn hynny. Y mae gennym hanes am brophwydoliaeth Enoch yn *adn.* 14, 15. o Epistol Judas: "A Enoch hefyd, y seithfed o Adda, a brophwydodd am y rhai hyn, gan ddywedyd, Wele, y mae yr Arglwydd yn dyfod, gyda myrddiwn o'i saint, i wneuthur barn yn erbyn pawb, ac i lwyr argyhoeddi yr holl rai annuwiol o honynt, am holl weithredoedd eu hannuwioldeb, y rhai a wnaethant hwy yn annuwiol, ac am yr holl eiriau caledion, y rhai a lefarodd pechaduriaid annuwiol yn ei erbyn ef." Nid yw yn ymddangos fod y brophwydoliaeth hon yn cael ei chyfyngu i unrhyw ddyfodiad neillduol o eiddo Crist; ond y mae yn cyfeirio at ei ddyfodiad yn ei deyrnas; ac yn cael ei chyflawni mewn gradd ym mhob amlygiad nodedig a roes efe o hono ei hun yn y byd, er iachawdwriaeth i'w bobl, a dinystr ei elynion. Y mae yn hynod o gyfattebol yn yr ystyr hwn i lawer o brophwydoliaethau eraill, a roddwyd dan yr Hen Destament; ac, yn neillduol, i *Dan.* vii. oddiwrth ba le y cymmerth yr Iuddewon eu tyb am deyrnas nefoedd, *adn.* 10. "Afon danllyd oedd yn rhedeg, ac yn dyfod allan oddi ger ei fron ef: mil o filoedd a'i gwasanaethent, a myrdd fyrddiwn a safent ger ei fron: y farn a eisteddodd, ac

agorwyd y llyfrau. Ac *adn*. 13, 14. "Mi a welwn mewn gweledigaethau nos, ac wele, megis Mab y dyn yn dyfod gyda chymmylau y nefoedd, ac at yr Hen ddihenydd y daeth, a hwy a'i dygasant ger ei fron ef. Ac efe a roddes iddo lywodraeth, a gogoniant, a brenhiniaeth, fel y byddai i'r holl bobloedd, cenhedloedd, a ieithoedd ei wasanaethu ef: ei lywodraeth sydd lywodraeth dragywyddol, yr hon nid â ymaith, a'i frenhiniaeth ni ddifethir." Ac er nad ydyw yn annhebyg na allai fod Enoch yn y brophwydoliaeth hon yn golygu y dinystr oedd yn nesâu ar yr hen fyd trwy 'r diluw, yr hyn oedd gyffelybrwydd nodedig i'r dull y bydd Crist yn distrywio ei elynion yn ei ail ddyfodiad; etto, yn ddiammau, yr ydoedd yn edrych heibio i'r cysgod at y sylwedd.

Ac fel y mae 'r brophwydoliaeth hon yn ddatguddiad mwy eglur o ddyfodiad Crist nag yr un flaenorol iddi, felly hefyd y mae yn brawf o gynnydd goleuni yr efengyl, yr hon a ddechreuodd dywynu yn ddioed ar ol y cwymp, neu fod yr adeiladaeth honno, yr hon yw testun ein haraith bresennol, wedi cael ei dwyn y'mlaen ym mhellach, a'i chodi yn uwch nag a gawsai o'r blaen.

Ac yma, gellir sylwi, fod cynnydd goleuni yr efengyl, a chynnydd gwaith y prynedigaeth, fel y mae yn perthynu i'r eglwys yn gyffredinol, o'i godiad cyntaf hyd ddiwedd y byd, yn dra thebyg i gynnydd yr un gwaith a'r un goleuni mewn enaid neillduol, o amser ei ddychweliad, hyd oni pherffeithir ac a'i coronir mewn gogoniant. Rai prydiau y mae 'r goleuni yn tywynnu yn ddisgleiriach; brydiau eraill y mae yn ymddangos yn fwy aneglur, fel pe bai yn nychu am yspaid maith ynghyd. Ond, yn gyffredinol, y mae teyrnas Crist yn cael ei hadeiladu i fynu yn raddol yn yr enaid, a gras yn cynnyddu o'i ddechreuad cyntaf, hyd oni chwbl orphenir mewn gogoniant. Felly y mae mewn perthynas i'r gorchwyl mawr hwn yn gyffredinol, megis y mae yn perthynu i'r holl ddeiliaid o hono, ac fel y dygir ef ym mlaen o'i ddechreuad cyntaf hyd ddiwedd y byd.

VIII. Y peth nodedig nesaf yn nygiad y'mlaen y gwaith hwn, yw, symmudiad Enoch i'r nefoedd. *Gen*. 5. 24. "A rhodiodd Enoch gyda Duw, ac ni welwyd ef: canys Duw a'i cymmerodd ef." Nid ydyw Moses, wrth roddi hanes achau y rhai hynny, ag yr oedd Noah o'u llin, yn dywedyd am Enoch, efe a fu fyw nifer o flynyddoedd, ac a fu farw, fel y mae yn dywedyd am y lleill, "ond ni welwyd ef: canys Duw a'i cymmerodd ef;" hynny yw, Duw a'i symmudodd ef, ac a'i dygodd i'r nefoedd,

gorph ac enaid, heb brofi marwolaeth; megis y dywedir yn *Heb.* 11. 5. "Trwy ffydd y symmudwyd Enoch, fel na welai farwolaeth." Trwy y gwaith rhyfeddol hwn o eiddo Duw, fe ddygwyd gwaith y prynedigaeth i uchder mwy, mewn amrywiol olygiadau, nag y buasai o'r blaen.

Gellwch gofio, pan y dangosais pa beth oedd y pethau mawr a fwriadodd Duw eu cyflawni trwy waith y prynedigaeth, i mi, ym mysg pethau eraill, grybwyll am berffaith adferiad i'r etholedigion, mewn corph ac enaid, oddiwrth ddistryw y cwymp. Yn awr, y symmudiad hwn a gafodd Enoch, ydoedd y prawf cyntaf o'r adferiad hwn i'r corph. Yr oedd amryw brofion wedi bod o'r blaen i ddangos adferiad enaid dyn, trwy y prynedigaeth yn Nghrist, ond nid yr un i'r corph hyd yn bresennol. Yn niwedd y byd, bydd cyrph yr holl seintiau yn cael eu gwaredu yn weithredol; y meirw yn Nghrist trwy yr adgyfodiad, a'r rhai a fyddant byw trwy gyfnewidiad gogoneddus. Fe adgyfododd rhyw nifer o gyrph y saint pan yr adgyfododd Crist; ac yr oedd prawf cyn hynny yn Elias fod corph yn cael ei ogoneddu; ond y prawf cyntaf oedd hwn, ag yr ydys yn llefaru am dano, sef Enoch.

Yn awr, yr oedd gwaith y prynedigaeth, yn y siampl hon, yn cael ei ddwyn ym mlaen ym mhellach, fel, trwy hyn, yr oedd cynnydd mawr ar oleuni efengylaidd, ac yr oedd yr eglwys yn cael eglurach amlygrwydd o'i sefyllfa ddyfodol, ac o ogoneddus wobr y saint yn y nefoedd, dywedir, yn 2 *Tim.* 1. 10. fod "bywyd ac anllygredigaeth wedi eu dwyn i oleuni trwy yr efengyl." A pha mwyaf a ddatguddir o'r efengyl hon, egluraf y mae bywyd ac anfarwoldeb yn ymddangos. Y mae yr hyn a ddywedir yn yr Hen Destament am sefyllfa yr eglwys yn y byd a ddaw yn hynod o aneglur, mewn cydmariaeth â'r datguddiad mwy cyflawn, eglur, a helaeth, a roddir yn y Newydd. Ond etto, yn y dyddiau boreuol hynny, cafodd eglwys Dduw, trwy y siampl hon, brawf amlwg ger bron eu llygaid o'r fath sefyllfa, gan i un o'u brodyr gael ei gymmeryd yn weithredol i fynu i'r nefoedd heb farw; yr hyn y mae gennym reswm i feddwl a wyddai yr eglwys y pryd hynny, megis ag y gwyddai y rhai hynny yn amser Elias am ei symmudiad ef. Ac yr oedd hyn yn eglurach amlygrwydd o gyflwr dyfodol y duwiolion nag a gawsai eglwys Dduw o'r blaen; ac felly yn wystl, neu yn ernes, o'r gogoniant a fydd i'r holl saint, yr hwn a fwriadodd Duw ei roddi iddynt trwy y prynedigaeth yn Nghrist.

IX. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno, yw, cynnaliad eglwys Dduw yn y teulu ag yr oedd Crist i ddyfod o hono, yn amser y dirywiad mawr a chyffredinol o flaen y diluw. Nid oedd yr eglwys, yn ol pob tebygolrwydd, ond ychydig nifer, mewn cydmariaeth âg eraill o'r byd, er yr amser y dechreuodd dynolryw luosogi ar wyneb y ddaear, neu yr amser y dirywiodd Cain, ac yr ymddidolodd o fysg pobl Dduw. *Gen.* 4. 16. Pan yr aeth "Cain allan o wydd yr Arglwydd, ac y trigodd yn nhir Nod;" yr hwn y gellir ei ddeall, tir neillduaeth. Yr wyf yn dywedyd, mai tebygol yw nad oedd eglwys Dduw ond bechan mewn cydmariaeth â'r gweddill o'r byd, o'r amser hwnnw ag yr ymddidolodd Cain oddi wrthi hyd y diluw. Fe ymddengys i'r eglwys gael ei chadw i fynu, yn bennaf, yn hiliogaeth Seth; canys hwn ydoedd yr had a roddodd yr Arglwydd yn lle Abel, yr hwn a laddwyd gan Cain. Ond gellir yn rhesymmol feddwl nad oedd hiliogaeth Seth yn gwneud i fynu y ddegfed ran a deugain o ddynolryw yn y byd yr amser hwnnw: canys yr oedd Adda yn gant a deg ar hugain oed pan y ganwyd Seth iddo. Ond Cain, yr hwn yr ymddengys ei fod yn flaenor i'r rhai hynny nad oeddynt o'r eglwys, oedd mab hynaf Adda, ac a anwyd, mae yn debygol, yn fuan wedi 'r cwymp, yr hyn, yn ddiammau, a fu yn fuan wedi creu Adda; felly, yr ydoedd amser i Cain i gael llawer o blant cyn geni Seth, heblaw fod yn debygol fod gan Adda ac Efa blant eraill cyn yr amser hwn, yn gydunol â bendith yr Arglwydd, "Ffrwythwch a lliosogwch, a llenwch y ddaear;" a llawer o blant hefyd a allasai fod gan y rhai hynny. Fe ymddengys, oddiwrth yr hanes a geir am Cain cyn genedigaeth Seth, fod lluaws mawr o bobl ar y ddaear. *Gen.* 4. 14, 15. "Wele gyrraist fi heddyw oddiar wyneb y ddaear, ac o'th wydd di y'm cuddir: gwibiad hefyd a chrwydriad fyddaf ar y ddaear; a phwy bynnag a'm caffo a'm lladd. A dywedodd yr Arglwydd wrtho, am hynny y dielir yn saith ddyblyg ar bwy bynnag a laddo Cain. A'r Arglwydd a osododd nôd ar Cain, rhag i neb a'i caffai ei ladd ef." Ac y mae yn rhaid tybied fod y rhai hynny, ag oedd mewn bod pan anwyd Seth, yn sefyll yn gydradd âg ef mewn gallu i luosogi eu hiliogaeth; a chan hynny, nid oedd ei hiliogaeth ef ond rhan fechan o drigolion y byd, fel y dywedais o'r blaen.

Ond ar ol dyddiau Enos ac Enoch (canys yr oedd Enoch wedi ei symmud cyn marwolaeth Enos); yr wyf yn dywedyd, fod eglwys Dduw wedi ei lleihau yn ddirfawr ar ol eu dyddiau

hwy, fel yn gyfartal â'r lliaws o lin Seth a anwyd yn yr eglwys, ac a syrthiasent ymaith, ac a ymunasent â'r byd annuwiol, trwy ymgymmysgu mewn priodasau. *Gen.* 6. 1, 2, 4. "Yna y bu pan ddechreuodd dynion amlhau ar wyneb y ddaear, a geni merched iddynt, weled o feibion Duw ferched dynion mai teg oeddynt hwy; a hwy a gymmerasant iddynt wragedd o'r rhai oll a ddewisasant. Cawri oedd ar y ddaear y dyddiau hynny: ac wedi hynny hefyd, pan ddaeth meibion Duw at ferched dynion, a phlanta o'r rhai hynny iddynt: dyma y cedyrn a fu wyr enwog gynt." Wrth feibion Duw yma y meddylir, yn ddiammau, plant yr eglwys: y mae yn enwad a roddir yn fynych arnynt yn yr ysgrythyr. Hwy a ymgymmysgasant mewn priodasau â'r byd annuwiol, ac felly y dygwyd ymaith eu calonnau oddiwrth Dduw; a dirywiad mawr a pharhaus a gymmerth le: ac eglwys Dduw, yr hon y mae ei harfer i attal rhwysg annuwioldeb, a leihawyd yn ddirfawr, ac annuwioldeb a gynnyddodd yn ddirwystr. Satan, yr hen sarph, y diafol, yr hwn a dwyllodd ein rhieni cyntaf, ac a'i gosododd ei hun i fynu yn dduw y byd hwn, a ymgynddeiriogodd yn ddirfawr; a holl feddylfryd calon dyn oedd yn unig yn ddrygionus bob amser, a'r ddaear a lanwyd â thrais. Fe ymddengys i'r ddaear gael ei gorlifo y pryd hwn gan annuwioldeb, fel y cafodd ei gorlifo wedi hynny gan ddyfroedd; a dynolryw oedd wedi eu llyngcu i fynu yn y dilaw hwn, sef didduwiaeth. Fe wnaeth Satan yr ymgyrch mwyaf, a'r ymosodiad galluoccaf, yr amser hwn i ddinystrio eglwys Dduw, ac a fu o fewn ychydig i wneud hynny: ond Duw a'i hadferodd hi yn nghanol y dilaw hwn o annuwioldeb a thrais. Efe a'i cadwodd hi i fynu yn y llin, o ba un yr oedd Crist i ddyfod. Ni oddefai efe iddi gael ei dinystrio, canys yr oedd bendith ynddi; a theulu neillduol ar y ddaear, a gwreiddyn o ba un yr oedd blaguryn cyfiawnder wedi hynny i ymddangos. A chan hynny, er i'r canghennau gael eu hysgythru, a'r pren ymddangos fel pe buasai wedi ei ddistrywio, etto, Duw, yn nghanol yr holl ddirywiad, a gadwodd y gwreiddyn hwn yn fyw, trwy ei ryfeddol allu, a'i ras gwaredol.

Fel hyn, dangosais y modd y dygodd Duw ym mlaen waith mawr y prynedigaeth; a'r modd yr aeth yr adeilad ym mlaen trwy 'r yspaid cyntaf o amser yr Hen Destament, sef o gwymp dyn hyd oni ddygwyd y diluw ar y ddaear. Ac yma gellir sylwi, er fod yr hanes a roddir gan Moses am weithredoedd mawrion Duw, yn yspaid hynny o amser, yn fyrr, etto y mae

yn hynod o gynnwysfawr ac addysgiadol. A gallai fod yn fuddiol hefyd i beri i ni sylwi fod effeithiolrwydd pryniad y pwrcas yn gwneud y fath effeithiau mawrion, a hynny lawer o oesoedd cyn i Grist ymddangos i bwrcasu 'r prynedigaeth, trwy ei werthfawr waed.

---

## RHAN II.

### *O'r Diluw hyd Alwad Abraham.*

Yr wyf yn awr yn dyfod ym mlaen i ddangos pa fodd y dygwyd yr un gwaith ym mlaen trwy yr ail ran o'r amser hwn, sef o ddechreuad y diluw hyd alwad Abraham; canys er fod y diluw cyffredinol hynny o ddyfroedd wedi dadymchwelyd y byd, etto ni ddarfu iddo ddadymchwelyd yr adeiladaeth yma o eiddo Duw, sef gwaith y prynedigaeth. Yr oedd hwn yn myned ym mlaen o hyd, ac yn cael ei adeiladu yn barhaus er helaethach parottoad i ddyfodiad yr Iachawdwr mawr i'r byd, i weithredu y prynedigaeth i'w bobl. Ac yma, sylwn,

1. Fod y diluw ei hun yn waith Duw ag oedd yn perthynu i'r gorchwyl mawr hwn, ac yn tueddu i'w ddwyn ym mlaen. Holl weithredoedd mawrion Duw, o'r cwymp hyd ddiwedd y byd, a'u golygu yn iawn, a ymddangosant fel rhannau o'r cynllun goruchel hwn, ac megis cynnifer o gamrau a gymmerodd Duw, mewn trefn i'w dwyn ym mlaen; a diammau fod gwaith mor fawr, a gwrthdroad mor nodedig a'r diluw, yn beth na allasid ei hepgor; fe'i dygwyd ar y ddaear, mewn trefn i symmud o'r ffordd elynion ag oedd yn barod i ddadymchwelyd y gwaith hwn.

Fe ymddengys fod Satan yn greulon arswydus ychydig o flaen y diluw, a'i greulondeb y pryd hynny, yn ddiammau, oedd, fel bob amser, yn bennaf yn erbyn eglwys Dduw. Yr oedd wedi denu braidd yr holl fyd i ymrestru tan ei faner. Yr ydym yn darllen fod yr holl ddaear wedi ei llenwi â thrais; ac y mae yn ddiammau fod y trais hwnnw yn bennaf yn erbyn yr eglwys, mewn cyflawniad o'r hyn a rag-fynegwyd, "Gelyniaeth hefyd a osodaf rhwng dy had di a'i had hithau." Gelynion yr eglwys ydoedd mor luosog, a'u gelyniaeth a'u trais mor fawr, yr oedd yr holl fyd yn ei herbyn hi, hyd onid ydoedd mewn eithaf enbydrwydd. Yr oedd rhybuddion Noah, a'i waith yn pregethu cyfiawnder, yn cael eu hollol ddiystyru ganddynt. Yn

efer yr oedd Yspryd Duw wedi ymryson ugain mlynedd a chant â hwy; yr oedd yr eglwys wedi ei dwyn i derfynau mor gyfyng, fel ag i gael ei chyfyngu i un teulu. Ac nid oedd un golygiad ar ddim arall i'r holl dduwiolion heblaw cael eu llyngcu i fynu yn hollol mewn ychydig amser; ac felly cwbl ddinystrio y gwreiddyn bychan yn yr hwn yr oedd bendith, ac o ba un yr oedd y Prynwr i ddyfod. Ac felly yr oedd bod yr Arglwydd yn dinystrio y gelynion hynny trwy ddyfroedd y diluw, yn perthynu i waith y prynedigaeth: canys yr ydoedd yn un peth ag a wnawd mewn cyflawniad o'r cyfammod gras, megis y datguddiwyd ef i Adda: "Gelyniaeth hefyd a osodaf rhyngot ti a'r wraig, a rhwng dy had di a'i had hithau: efe a ysigo dy ben di." Fel hyn y siomwyd had y sarph yn nghanol eu cynddaredd mwyaf angerddol, a'r eglwys a waredwyd pan ydoedd mewn eithaf perygl.

Braidd y darllenwn yn yr ysgrythyr am unrhyw ddinystr mawr yn dyfod ar genhedloedd, nad un prif reswm a roddir am dano, fyddai y cam a wnaethent â phobl Dduw, a'u gelyniaeth tu ag attynt; a hyn yn diammeu ydoedd un prif achos o ddinystr yr holl genhedloedd hynny trwy ddyfroedd diluw. Yn ol pob tebygolrwydd fod y cawri ag oedd yn y dyddiau hynny wedi cyrhaedd enwogrwydd trwy eu gwrolwaith yn erbyn y nef, a'u gwaith yn gorthrymmu y gweddill o feibion Duw ag oedd heb gydymlygru â hwynt.

Yr ydym yn darllen y bydd yr holl genhedloedd sydd yn mhedair congl y ddaear, ychydig cyn i'r byd gael ei ddinystrio trwy dân, "ymgasglu ynghyd fel y tywod sydd ar lann y môr, ac yr ânt i fynu ar led y ddaear, ac a amgylchant wersyll y saint, a'r ddinas anwyl; ac yna y daw tân oddiwrth Dduw i waered o'r nef, ac a'u hysa hwynt." *Dad.* 20. 8, 9. Ac fe ymddengys fod agwedd y byd yn hynod o debyg i hynny, ychydig cyn iddo gael ei ddinystrio trwy ddyfroedd. A chan hynny yr oedd eu distryw yn waith Duw ag oedd yn dwyn llawer o berthynas â gwaith y prynedigaeth, fel ag yr oedd dinystr yr Aiphtiaid yn perthynu i waredigaeth Israel o'r Aipht; neu y distryw a ddaeth ar fyddin fawr Sennacherib, ag oedd wedi amgylchu dinas Jerusalem gyda bwriad i'w dinystrio, yn waredigaeth yr Arglwydd i'r ddinas honno rhagddynt hwy.

Trwy y diluw hwnnw fe ysgubwyd ymaith holl elynion Duw ar unwaith, i wrthsefyll pa rai nid oedd nerth gan y dyrnaid bychan hwnnw o dduwiolion. Ond fe gymmerodd Duw eu

plaid, ac ymddangosodd trostynt yn erbyn eu gelynion, gan eu boddi yn y diluw, y rhai yr oedd ei bobl wedi bod yn eu hofni, megis ag y boddwyd y gelynion a erlidiodd Israel ganddo yn y Môr Coch.

Y mae yn wir y gallasai Duw gymmeryd moddion eraill i waredu ei eglwys: gallasai ddychwelyd y gelynion hynny yn lle eu boddi; ac felly y gallasai gymmeryd rhyw foddion eraill at yr Aiphtiaid yn lle eu boddi yn y Môr Coch. Ond nid yw hyn yn un rheswm nad oedd y moddion a gymmerodd efe yn foddion i ddangos ei drugaredd waredol i'w bobl.

Trwy y diluw difeddiannwyd gelynion pobl Dduw, a'r holl ddaear a roddwyd i Noah a'i deulu i'w mwynhau mewn tawelwch; yr un modd ag y gwnaeth yr Arglwydd le i Israel yn Nghanaan, trwy fwrw eu gelynion allan o'u blaen hwynt. Bod Duw yn cymmeryd meddiannau gelynion yr eglwys fel hyn, a'u rhoddi iddi hi, ydoedd yn ol addewid y cyfammod gras: *Ps.* 37. 9, 10, 11. "Canys torrir ymaith y drwg ddynion: ond y rhai a ddisgwyliant wrth yr Arglwydd, hwynt-hwy a etifeddant y tir. Canys etto ychydigyn, ac ni welir yr annuwiol: a thi a edrychi am ei le, ac ni bydd dim o hono. Eithr y rhai gostyngedig a etifeddant y ddaear; ac a ymhyfrydant gan liaws tangnefedd."

2. Peth arall ag oedd yn perthynu i'r un gwaith, ydoedd fod y teulu o ba un yr oedd y Pryniawdwr i ddyfod, yn cael ei gadw mor rhyfeddol gan Dduw, pan yr oedd y gweddill o'r byd yn cael eu boddi. Yr oedd boddi y byd, ac achub Noah a'i deulu, yn ddau beth ag oedd yn wasanaethgar i'r gwaith mawr hwn. Yr oedd achub Noah a'i deulu yn perthynu iddo ddwy ffordd; sef fel mai hwnnw oedd y teulu o ba un yr oedd y Gwaredwr i ddyfod, ac hefyd fel yr oeddynt yn eglwys a waredasai efe. Corph dirgeledig Crist ydoedd yno yn cael ei achub yn yr arch. Y modd y gwaredodd Duw y personau hynny pan yr oedd holl drigolion y byd heblaw hwynt, yn cael eu dadymchwelyd, oedd yn dra rhyfeddol a nodedig. Yr oedd yn gysgod hynod o'r prynedigaeth yn Nghrist, ac o'r rhyddhad hwnnw sydd yn cael ei selio trwy fedydd dwfr, fel y dywedir yn y Testament Newydd, 1 *Petr* 3. 20, 21. "Y rhai a fu gynt anufudd, pan unwaith yr oedd hir-amynedd Duw yn aros yn nyddiau Noë, tra y darperid yr arch, yn yr hon ychydig, sef wyth enaid, a achubwyd trwy ddwfr. Cyffelybiaeth cyfattebol i'r hwn sydd yr awrhon yn ein hachub ninnau, sef bedydd (nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, eithr ymatteb cydwybod dda tu

ag at Dduw) trwy adgyfodiad Iesu Grist." Yr oedd y dwfr hwnnw a olchodd ymaith fudreddi y byd, ac a'i glanhaodd oddiwrth ddynion annuwiol, yn gysgod o waed Crist, yr hwn sydd yn tynnu ymaith ein pechodau ni: ïe, yr oedd y dwfr hwnnw a waredodd Noah a'i feibion oddiwrth eu gelynion, yn gysgod o'r gwaed sydd yn gwaredu 'r eglwys oddiwrth ei gelynion ysprydol. Y dwfr, yr hwn oedd mor helaeth ag y gyrhaeddodd yn uwch na phennau y mynyddoedd uwchaf, a llenwi y byd, ydoedd yn gysgod o'r gwaed hwnnw, yr hwn y mae ei effeithiolrwydd mor helaeth, a'i fod yn ddigonol tros yr holl fyd, ac yn ddigon i gladdu y mynyddoedd uwchaf o bechodau. Yr arch, yr hon oedd yn noddfa ac yn ymguddfa i'r eglwys yr amser hwn o dymestl a diluw, ydoedd yn gysgod o Grist, gwir ymguddfa yr eglwys rhag y rhyferthwy a'r diluw o ddigofaint Duw.

3. Y peth nesaf i sylwi arno, ydyw y caniattâd a gafodd Noah a'i deulu i feddiannu 'r ddaear o'r newydd yn ddioed ar ol y diluw, a hynny megis ar sail y cyfammod gras. Yr oedd aberth Crist yn cael ei arddangos trwy fod Noah yn adeiladu allor i'r Arglwydd, ac yn aberthu arni o bob anifail glân, ac o bob ehediad glân. Ac y mae gennym hanes fod Duw yn derbyn yr aberth hwnnw, ac ar hynny yn bendithio Noah, ac yn cadarnhau ei gyfammod âg ef, ac â'i hâd, ac yn addaw na ddinystriai efe y ddaear mwyach yn yr un modd; yr oedd hyn yn arwyddo mai trwy aberth Crist y mae pobl Dduw yn cael eu diogelu rhag ei farnedigaethau dinystriol ef, ac yn derbyn bendith yr Arglwydd. Yn awr, yr oedd Duw, ar achlysur yr aberth a offrymmodd Noah, yn rhoddi iddo ef a'i hiliogaeth ganiattâd newydd o'r ddaear, awdurdod ac arglwyddiaeth newydd ar y creaduriaid, a hynny megis ar sail yr aberth, ac felly ar y cyfammod gras. Ac fel hyn yr oedd y caniattâd newydd hwn i fwynhau 'r ddaear, i'w olygu yn wahanol i'r hyn a roddwyd i Adda, *Gen.* 1. 28. "A Duw hefyd a'u bendigodd hwynt, a Duw a ddywedodd wrthynt, Ffrwythwch, ac amlhêwch, a llenwch y ddaear, a darostyngwch hi; ac arglwyddiaethwch ar bysg y môr, ac ar ehediad y nefoedd, ac ar bob peth byw a ymsymmudo ar y ddaear." Nid ydoedd y caniattâd hwn wedi ei sylfaenu ar y cyfammod gras; canys fe'i rhoddwyd i Adda tra yr oedd efe dan y cyfammod gweithredoedd, a chan hynny yr ydoedd y rhoddiad yn ddirym pan ballodd y cyfammod hwnnw. Yr ydoedd y caniattâd cyntaf i Adda o'r ddaear yn sylfaenedig ar y cyfammod cyntaf; gan hynny mor gynted ag y torrwyd y

cyfammod hwnnw, yr oedd wedi colli a diddymmu yr hawl i'r ddaear ag oedd yn dyfod iddo oddi wrtho, hyd oni ddaeth oddi amgylch i'r ddaear gael ei chymmeryd ymaith o feddiant dynolryw gan y diluw; canys yr oedd y caniattâd cyntaf wedi ei ddiddymmu, ac ni roddodd Duw un caniattâd arall o honi hyd ar ol y diluw. Pe buasai y cyfammod cyntaf heb gael ei dorri, ni buasai Duw byth yn boddi y byd, ac felly yn ei gymmeryd ymaith oddiar ddynolryw: canys pe felly, yna y caniattâd cyntaf a fuasai yn sefyll yn dda. Ond ym mhen yspaid o amser wedi iddo gael ei dorri, Duw a ddinystriodd y ddaear pan yr oedd annuwioldeb dynion yn fawr arni.

Ond ar ol y diluw, pan yr offrymmodd Noah aberth, yr hwn oedd yn arddangos aberth Crist, Duw trwy arogli arno arogl esmwyth, neu dderbyn yr aberth (megis yr oedd yn arddangosiad o'r gwir aberth, sef Crist, yr hwn ydoedd yn arogl peraidd i Dduw) a roddodd i Noah ganiattâd newydd i feddiannu y ddaear, yn sylfaenedig ar hynny; neu ar y cyfammod hwnnw o ras, yr hwn trwy aberth Crist sydd âg addewid yn gyssylltiedig âg ef, na bydd i'r ddaear gael ei dinystrio mwyach, hyd amser diweddiad pob peth, *Gen.* 8. 20,—22. a 9. 1,—3, 7. Y rheswm paham y rhoddwyd y fath addewid yn ychwanegol i'r caniattâd hwn i Noah, ac nid i'r hwn a roddwyd i Adda, ydoedd oblegid fod hwn yn sylfaenedig ar y cyfammod gras, i'r hwn y mae Crist yn fechnïydd, a chan hynny ni's gellir ei dorri. Ac er fod didduwiaeth dynion wedi ymgynddeiriogi yn arswydus, a'r ddaear wedi ei llenwi â thrais ac annuwioldeb filoedd o weithiau, y naill oes ar ol y llall, a mwy o aethus a chyffrous annuwioldeb nag oedd y byd yn llawn o hono cyn y diluw, gan ei fod yn erbyn llawer mwy o oleuni a thrugaredd, yn neillduol yn nyddiau yr efengyl; etto y mae Duw yn ymattal; ac nid ydyw efe yn dinystrio yn ddaear; y mae ei drugaredd a'i hirymaros yn parhau yn ol ei addewid; ac y mae 'r rhoddiad a gadarnhaodd efe i Noah a'i feibion yn aros yn ddianwadal, gan ei fod yn sylfaenedig ar y cyfammod gras.

4. Ar hyn, y mae Duw yn adnewyddu addewid y cyfammod gras i Noah a'i feibion, *Gen.* 9. 9, 10. " Ac wele myfi, ie myfi, ydwyf yn cadarnhâu fy nghyfammod â chwi, ac â'ch had ar eich ol chwi; ac â phob peth byw yr hwn sy gyda chwi," &c. y mae hyd yn nod y greadigaeth ddireswm yn cael y daioni hwn, sef, na bydd iddi gael ei dinystrio mwyach, hyd oni ddelo yr amser y bydd diwedd ar bob peth. Pan y cyfarfyddom yn yr ysgrythyr

â'r ymadrodd hwn, " fy nghyfammod," deallir yn gyffredinol y cyfammod gras. Y dull o ddywedyd, " Myfi a gadarnhaf fy nghyfammod â chwi, ac â'ch had ar eich ol chwi," a ddengys yn eglur mai cyfammod ag oedd mewn bod eisoes ydoedd, ac wedi ei wneuthur o'r blaen, fel trwy yr enwad hwn y gallai Noah ddeall pa gyfammod ydoedd, sef y cyfammod gras.

5. Yr oedd bod Duw yn siommi y bwriad o adeiladu dinas a thŵr Babel yn perthynu i waith mawr y prynedigaeth: canys fe amcanwyd adeiladu hwnnw mewn gwrthwynebiad i'r adeiladaeth yma o eiddo Duw ag yr ydys yn llefaru am dani. Bod dynion yn myned i godi y fath ddinas a thŵr, ydoedd brawf amlwg o effeithiau y llygredigaeth ag yr oedd dynolryw wedi syrthio iddo drachefn. Y ddinas a'r tŵr yma a godwyd i fynu mewn gwrthwynebiad i ddinas Duw, gan mai eu balchder oedd y duw a ba un yr oeddynt yn ei hadeiladu. Yr oeddynt wedi suddo i dueddfryd i ymwrthod â'r gwir Dduw, a'r eilun cyntaf a gyfodasant i fynu yn ei le oedd eu hunain, sef ceisio eu gogoniant a'u henwau eu hunain. Ac fel yr oedd y ddinas a'r tŵr yma â'u sail wedi cael eu gosod ar falchder a gwagedd dynion, felly yr oeddynt yn cael eu hadeiladu ar sylfaen hollol wrthwyneb i natur sylfaen teyrnas Crist, a'i ddinas waredol ef, yr hon y mae ei sylfaen wedi ei gosod ar ostyngeiddrwydd. A chan fod yr Arglwydd yn edrych ar adeiladu Babel yn tueddu at ddiddymmu diben yr adeiladaeth fawr ag oedd wedi ei sylfaenu, nid yn malchder dynion, ond yn ei fwriadau ef ei hun; felly yr oedd y peth yr oeddynt hwy yn ei wneuthur yn anfoddio yr Arglwydd, ac efe a ddyrysodd eu hamcan, ac ni oddefodd iddynt ei ddwyn i berffeithrwydd; yr un modd y diddymma efe bob bwriadau a ymgyfodant mewn gwrthwynebrwydd i'r adeiladaeth fawr hon, sef gwaith y prynedigaeth.

Yn yr ail bennod o Esaiah, lle y mae y prophwyd yn darlunio y modd y mae Duw yn codi i fynu deyrnas Crist yn y byd, y mae efe yn rhagfynegi y bydd i'r Arglwydd, mewn trefn i hynny gymmeryd lle, dynnu i lawr falchder dynion, ac y bydd dydd yr Arglwydd ar bob tŵr uchel, a phob magwyr gadarn, &c. Y mae teyrnas Crist yn cael ei sefydlu trwy dynnu i lawr bob peth uchel a fyddo yn wrthwyneb i'w natur i wneud ffordd iddi: " Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr; gan fwrw dychymmygion i lawr, a phob uchder ag sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw." Yr hyn a wneir er codi i fynu deyrnas Crist mewn

unrhyw enaid neillduol, ydyw dinystrio Babel yn yr enaid hwnnw.

Yr oeddynt hwy yn bwriadu adeiladu Babel i gyrhaeddyd i fynu i'r nefoedd. Y mae y bwriad i adeiladu yr adeiladaeth hon, yr hon ydyw ein testun presennol, mor uchel hyd oni chyrhaeddo ei nen i'r nefoedd mewn gwirionedd, fel ag y bydd yn y nefoedd uwchaf, pan y gorphenir yn niwedd y byd: gan hynny ni oddefai Duw i adeiladaeth ei elynion lwyddo; yr hon a fwriadasent ei chodi i'r nefoedd mewn gwrthwynebiad i'w un ef. Pe buasent hwy yn cael myned ym mlaen, ac yn llwyddo, i adeiladu y ddinas a'r twr hwnnw, gallasai gadw y byd o ddynion annuwiol, a gelynion yr eglwys ynghyd, yn ol eu bwriad: ac felly gallasent aros mewn undeb yn un ddinas alluog, hyd oni buasent yn rhy alluog i ddinas Duw, ac yn ei hollol lyngcu hi i fynu.

Yr un ydyw y ddinas hon Babel a Babilon; canys Babilon yn yr iaith wreiddiol yw Babel: ond lleferir yn fynych yn yr ysgrythyr am Babilon fel y ddinas bennaf yn gwrthwynebu dinas Duw. Babilon a Jerusalem, neu Sïon, ydynt yn cael eu gosod allan yn wrthwyneb y naill i'r llall yn aml yn yr Hen Destament a'r Newydd. Trigolion y ddinas hon oeddynt elynion ofnadwy a galluog i ddinas Duw wedi hynny, er yr attaliad mawr a ddaeth ar ei hadeiladu yn y dechreuad. Ond gallasai fod, ac y mae yn debygol y buasai yn llawer mwy galluog i flino a dinystrio eglwys Dduw, pe na buasai iddi gael ei hattal yn y modd hyn. Fel hyn mewn caredigrwydd i'w eglwys yn y byd, a dygiad ym mlaen ddiben mawr y prynedigaeth; fe roes Duw attalfa ar adeiladu dinas a thŵr Babel.

6. Yn ddioed wedi i Dduw roi attalfa ar adeiladu Babel, fe wasgarwyd y cenhedloedd, a rhanwyd y ddaear rhwng ei thrigolion. Yr oedd hyn yn cael ei wneuthur yn y modd mwyaf cydunol â diben mawr y prynedigaeth, ac yn neillduol fel yr oedd Duw yn hynny yn golygu lledaeniad yr efengyl ym mysg y cenhedloedd mewn amser a ddeuai. "Pan gyfrannodd y Goruchaf etifeddiaeth y cenhedloedd, pan neillduodd efe feibion Adda, y gosododd efe derfynau y bobloedd yn ol rhifedi meibion Israel." *Deut.* 32. 8. "Ac efe a wnaeth o un gwaed, bob cenedl o ddynion, i breswylio ar holl wyneb y ddaear, ac a bennodd yr amseroedd rhag-osodedig, a therfynau eu preswylfod hwynt; fel y ceisient yr Arglwydd, os gallent ymbalfalu am dano ef, a'i gael." *Act.* 17. 26, 27. Yr oedd gwlad Canaan y

sefyllfa fwyaf cyfleus o un lle yn y byd i'r diben i oleuni yr efengyl ymledaenu o honi ym mysg y cenhedloedd yn gyffredinol. Yn yr amseroedd cyntaf wedi dyddiau Crist ar y ddaear, yr oedd ymerodraeth Rhufain yn cael ei gwneuthur i fynu o'r rhan fwyaf o'r byd adnabyddus; yn neillduol y gwledydd oddi amgylch Jerusalem, pa le oedd yn sefyllfa addas i daenu ar led oleuni yr efengyl o hono yn eu mysg hwy. Yr oedd y diafol yn canfod mantais y sefyllfa yma i'r cenhedloedd er dwyn ym mlaen yn eu mysg hwy waith y prynedigaeth, a'r anfantais i'w deyrnas ef ei hun oddiwrth y sefyllfa hon; efe gan hynny a arweiniodd, fe allai, luaws i rannau pellaf y byd, er eu cael hwy allan o afael yr efengyl. Fel hyn, y mae'n debyg, yr arweiniwyd rhai i Americ, ac eraill i ardaloedd oerion y gogledd, lleoedd braidd anhygyrch.

7. Peth arall i sylwi arno yn yr amser hwn, ydoedd fod Duw yn cadw gwir grefydd yn yr âch o ba un yr oedd Crist i ddyfod o hono, pan oedd y byd yn gyffredinol wedi gwrthgilio i eilunaddoliaeth, a'r eglwys mewn dirfawr berygl o gael ei llyngcu i fynu gan yr un llygredigaeth cyffredinol. Er fod Duw yn ddiweddar wedi gweithredu gwaredigaeth mor ryfeddol i'w eglwys, ac wedi dangos trugaredd mor fawr tu ag atti, fel er ei mwyn hi distrywio pawb eraill o'r byd; ac er ei fod yn ddiweddar wedi adnewyddu ei gyfammod o ras â Noah a'i feibion; etto y fath ydyw gogwyddiad llygredig calon dyn i ymadaw oddiwrth Dduw, ac i suddo i ddyfnderoedd annuwioldeb; ac mor dueddol ydyw dynolryw i fyned i dywyllwch, twyll, a chyfeiliornad, fel y darfu i'r byd yn fuan ar ol y diluw syrthio i eilun-addoliaeth anferth, hyd onid oedd yr afiechyd wedi dyfod bron yn gyffredinol cyn amser Abraham. Yr oedd trigolion y ddaear yn hynod o lygredig yr amser yr oeddynt yn adeiladu Babel; ac yr oedd hyd yn oed pobl Dduw eu hunain, ie, y teulu o ba un yr oedd Crist i ddyfod, wedi ymlygru mewn mesur gyd âg eilun-addoliaeth. "Tu hwnt i'r afon y trigodd eich tadau chwi gynt, sef Terah tad Abraham, a thad Nachor: a hwy a wasanaethasant dduwiau dieithr." *Jos.* 24. 2. Wrth y "tu hwnt i'r afon," y meddylir y tu hwnt i'r afon Euphrates, lle yr oedd hynafiaid Abraham yn byw.

Nid ydym i ddeall eu bod hwy wedi hollol syrthio i eilunaddoliaeth, ac ymwrthodiad o'r gwir Dduw: canys dywedir fod Duw yn Dduw Terah: *Gen.* 31. 53. "Duw Abraham, a Duw Nachor, a farno rhyngom ni, Duw eu tadau hwynt." Ond yr oeddynt wedi cydgyfrannogi mewn rhyw fesur â llygredigaethau

yr amseroedd, pa rai oedd braidd yn hollol a chyffredinol, fel yr oedd Solomon mewn mesur wedi ei lygru â llygredigaeth eilun-addoliaeth; ac fel y dywedir fod meibion Israel yn gwasanaethu duwiau eraill yn yr Aipht, pan etto yr oedd gwir eglwys Dduw yn eu mysg hwy; ac fel yr oedd delwau yn cael eu cadw yn nheulu Jacob, y llygredigaeth a ddygasent i'w canlyn o Padan-Aram, o ba le y cawsai efe ei wragedd.

Hwn oedd yr ail dro; sef ychydig cyn galwad Abraham, y dygwyd yr eglwys braidd i ddiddymdra trwy lygredigaeth a dirywiad cyffredinol y byd oddiwrth wir grefydd. Ond er hynny yr oedd y wir grefydd yn cael ei chadw i fynu yn barhaus yn y teulu o ba un yr oedd Crist i ddyfod, yr hyn sydd yn brawf arall fod Duw mewn modd nodedig yn cadw ei eglwys mewn amser o ddiluw cyffredinol o annuwioldeb; ym mha amser, er fod duw y byd hwn wedi ymgynddeiriogi yn ddirfawr, a bron lyngcu i fynu eglwys Dduw, etto ni oddefodd efe i byrth uffern hollol lwyddo yn ei herbyn hi.

---

## RHAN III.

*O Alwad Abraham hyd Moses.*

Yr wyf yn awr yn dyfod i ddangos pa fodd y dygwyd y'mlaen waith y prynedigaeth trwy y drydedd ran o'r amser hwn, gan ddechreu gyda galwad Abraham, ac yn cyrhaeddyd hyd Moses.

1. Fe welodd Duw yn dda neillduo y person hwnnw, o ba un yr oedd Crist i ddyfod, oddiwrth y gweddill o'r byd, fel y byddai i'w eglwys gael ei chynnal yn ei deulu a'i hiliogaeth ef hyd yr amser yr ymddangosai y Messiah. Hyn a wnaeth efe trwy alw Abraham allan o'i wlad ei hun, ac oddiwrth ei genedl, i fyned i wlad bell, yr hon a ddangosai Duw iddo, a'i ddwyn yn gyntaf allan o Ur y Caldeaid, a'i arwain i Haran, ac oddi yno i wlad Canaan.

Fe sylwyd o'r blaen, fod llygredigaeth y byd trwy eilun-addoliaeth wedi dyfod yn awr yn gyffredinol; yr oedd dynolryw bron wedi eu gorlenwi âg ef; gan hynny yr oedd Duw yn gweled yn angenrheidiol, tu ag at ddal i fynu wir grefydd, fod un teulu yn cael ei neillduo oddiwrth y gweddill o'r byd; canys yr oedd y rhan fwyaf o genedl Abraham, a thrigolion ei wlad, wedi syrthio ymaith; ac oni buasai i ryw beth anghyffredinol yn

ngweithrediad rhaglnniaeth, yn ol pob tebygolrwydd, buasai gwir grefydd mewn oes neu ddwy ym mhellach yn cael ei diffodd. Gan hynny yr oedd Duw yn gweled yr amser hwn yn addas i alw Abraham, y person yr oedd efe yn bwriadu cynnal gwir grefydd yn ei hiliogaeth, allan o'i wlad, ac oddiwrth ei genedl, a'i arwain i wlad bell, fel y byddai i'w hiliogaeth aros yno yn bobl neillduedig oddiwrth eraill o'r byd; fel y cynnelid i fynu y wir grefydd yno, pan y byddai pawb eraill o ddynolryw, heblaw hwy, wedi cael eu llyngcu i fynu gan Baganiaeth.

Tir y Caldeaid, yr hwn y galwyd Abraham i fyned allan o hono, ydoedd y wlad oddi amgylch Babel. Babel, neu Babilon, ydoedd brif ddinas gwlad y Caldeaid. Y mae dynion dysgedig yn tybied mai yn y wlad hon y dechreuodd eilun-addoliaeth gyntaf; ac mai Babel a Chaldea ydoedd dechreuad a sefyllfa bennaf addoliad eilunod, ac i'r arferiad ymledaenu oddi yno i fysg cenhedloedd eraill: am hynny y gelwir tir y Caldeaid, neu wlad Babilon, yn yr ysgrythyr, yn wlad y delwau cerfiedig: megis, *Jer*. 50. 35, 38. "Cleddyf sydd ar y Caldeaid, medd yr Arglwydd, ac ar drigolion Babilon, ac ar ei thywysogion, ac ar ei doethion. Sychder sydd ar ei dyfroedd hi; a hwy a sychant: o herwydd gwlad delwau cerfiedig yw hi, ac mewn eilunod y maent yn ynfydu." Ond Duw a alwodd Abraham allan o'r wlad eilun-addolgar honno, ac a'i harweiniodd ef i wlad bell oddi yno. A phan ddaeth efe yno, ni roddodd efe etifeddiaeth iddo gymmaint a lled troed; ond efe a arosodd yno yn ddieithr ac yn ymdeithydd, fel y byddai iddo ef a'i deulu gael eu cadw yn neillduedig oddiwrth yr holl fyd.

Yr oedd hyn yn beth newydd: nid oedd Duw erioed o'r blaen wedi gwneuthur yn y fath ddull. Ni chafodd ei eglwys yn y modd hyn ei neillduo oddiwrth y gweddill o'r byd hyd yn awr; ond yr oedd y duwiolion yn arfer byw gyd âg eraill, heb un attalfa neu fagwyr i'w cadw yn ddidoledig; ac yr oedd mynych brawf o'r canlyniadau niweidiol i hynny wedi bod. Yr effaith cyn y diluw o fod pobl Dduw yn byw yn gymmysg â'r byd annuwiol, heb un terfyn neillduol, ydoedd i feibion Duw ymuno mewn priodasau âg eraill, a thrwy hynny daethant yn fuan mor llygredig, fel y dygwyd yr eglwys bron i ddiddymdra. Y drefn a gymmerodd Duw y pryd hynny, oedd boddi y byd annuwiol, a chadw yr eglwys yn yr arch. Ac yn awr yr oedd y byd, ychydig cyn galwad Abraham, wedi myned yn dra llygredig drachefn. Ond y pryd hyn fe gymmerth Duw drefn arall. Nid

dinystrio y byd trwy ddwfr a ddarfu iddo ef, a chadw Abraham a'i wraig, a Lot, mewn arch; ond galw y personau hynny a wnaeth efe i fyned i fyw yn neillduedig oddiwrth eraill.

Yr oedd hyn yn beth mawr, ac yn newydd, a wnaeth Duw tu ag at waith y prynedigaeth. Yr ydoedd o ddeutu canol yr yspaid amser rhwng cwymp dyn a dyfodiad Crist; ynghylch dwy fil o flynyddoedd cyn iddo ef ymddangos yn y cnawd. Ond yr oedd galwad Abraham, hynafiad Crist yn ol y cnawd, yn sail wedi ei osod er dal yr eglwys i fynu yn y byd, hyd oni ddeuai Crist: canys yr oedd y byd wedi myned yn eilun-addolgar; ac mewn trefn i'r eglwys fod yn ddidoledig oddi wrtho, yr oedd angenrheidrwydd i had y wraig gael ei neillduo fel hyn.

Yr oedd hefyd yn angenrheidiol fod cenedl neillduedig yn ddidoledig oddiwrth y gweddill o'r byd, i dderbyn y cysgodau a'r prophwydoliaethau ag oedd i gael eu rhoddi am Grist, i barottôi 'r ffordd i'w ddyfodiad ef: fel y byddai i ymadroddion Duw gael eu hymddiried iddynt hwy; fel trwyddynt hwy y cedwid yr hanes am fawrion weithredoedd Duw yn ngwaith y greadigaeth a rhagluniaeth; ac fel hynny y byddai i Grist gael ei eni o'r genedl honno; ac fel y byddai i oleuni yr efengyl lewyrchu oddi yno i'r gweddill o'r byd. Ni buasai y dibenion hyn yn iawn yn cael eu cyrhaeddyd, pe buasai pobl Dduw trwy yspaid y ddwy fil blynyddoedd hynny yn byw yn gymmysg â'r byd paganaidd. Felly fe ellir edrych ar yr alwad hon o Abraham fel math o sylfaen newydd i eglwys weledig Duw, mewn modd mwy rheolaidd a gwahanedig, i gael ei hadeiladu arni o hynny allan, hyd oni ddeuai Crist, ac wedi hynny y byddai iddi gael ei lledaenu trwy yr holl genhedloedd. Ac mai Abraham ydoedd y person, ym mha un yr oedd y sylfaen yma yn cael ei gosod, a ddangosir yn yr ysgrythyr fel pe buasai efe yn dad i'r holl eglwys, ac i'r holl rai a gredant; ac fel pe buasai yn wreiddyn i'r eglwys weledig darddu o hono; ac yn bren gwahanedig oddiwrth bawb eraill, o ba un y deuai Crist, y Blaguryn Cyfiawnder; ac o ba un, wedi dyfodiad Crist, y byddai i'r canghennau naturiol gael eu torri ymaith, a'r cenhedloedd gael eu himpio i mewn iddo. Felly y mae Abraham etto yn dad yr eglwys trwy Grist. Yr un pren ydyw, yr hwn o ddechreuad bychan yn amser Abraham, sydd yn nyddiau yr efengyl wedi lledaenu ei ganghennau dros ran fawr o'r ddaear, ac a'i lleinw oll mewn amser; ac yn niwedd y byd a gyfodir o bridd y ddaear, ac a adblennir yn mharadwys Duw.

2. Yr oedd yn canlyn hyn gadarnhad mwy neillduol, a datguddiad mwy cyflawn o'r cyfammod gras, nag a fuasai erioed o'r blaen. Fe fu cyn hyn ddau gyhoeddiad arbennig, a chadarnhad o'r cyfammod hwn; un pan y datguddiwyd i'n rhïeni cyntaf yn fuan wedi 'r cwymp; a'r llall pan y darfu i Dduw mewn modd goruchel adnewyddu yr un cyfammod â Noah a'i deulu yn fuan ar ol y diluw; ac yn awr, y drydedd waith hon, pan y galwyd Abraham, yr hyn oedd yn nes o lawer i amser dyfodiad Crist nag yr un o'r ddau eraill, fe roddwyd amlygrwydd mwy cyflawn o hono. Fe ddatguddiwyd yn awr, nid yn unig y deuai Crist, ond y byddai iddo fod o had Abraham; ac y byddai i holl deuluoedd y ddaear gael eu bendithio ynddo ef. Addawodd Duw hyn yn fynych i Abraham. Yn gyntaf pan y galwyd ef, *Gen.* 12. 2. "A mi a'th wnaf yn genhedlaeth fawr, ac a'th fendithiaf, mawrygaf hefyd dy enw: a thi a fyddi yn fendith." Yr un addewid a adnewyddwyd wedi iddo ddyfod i wlad Canaan, *pen.* 13. 14, &c. A thrachefn wedi iddo ddychwelyd o ladd y brenhinoedd, *pen.* 15. 5, 6. A'r bedwaredd waith, wedi iddo offrymmu Isaac ei fab, *pen.* 22. 16,—18.

Yn yr adnewyddiad hwn o'r cyfammod gras i Abraham, yr oedd amryw bethau perthynol iddo yn cael eu datguddio yn fwy cyflawn nag o'r blaen; nid yn unig y byddai Crist o had Abraham, ond hefyd y byddai i'r cenhedloedd gael eu galw, ac y dygid hwy oll i'r eglwys, ac y byddai i holl deuluoedd y ddaear gael eu bendithio, a wnawd yn awr yn adnabyddus. Ac ammod mawr y cyfammod gras, yr hwn yw ffydd, a ddatguddiwyd yn awr yn fwy cyflawn. *Gen.* 15. 5, 6. "Dywedodd hefyd wrtho, felly y bydd dy had di. Yntau a gredodd yn yr Arglwydd, ac efe a'i cyfrifodd iddo yn gyfiawnder." Yr hyn y gwneir sylw neillduol arno yn y Testament Newydd, ac oddiwrth yr hyn y gelwir Abraham "yn dad y rhai a gredant." *Rhuf.* 4. 2,—11.

Ac fel yr oedd yn awr amlyccach datguddiad o'r cyfammod gras, felly hefyd yr oedd ei gadernid yn cael pellach amlygiad trwy seliau a gwystlon, nag a gawsai erioed o'r blaen; a hynny yn neillduol yn y sacrament a sefydlwyd gan Dduw yn awr, sef yr enwaediad, i fod yn sel safadwy yn ei eglwys weledig o'i gyfammod, hyd oni ddeuai Crist. Enwaediad ydoedd yn sel o'r cyfammod hwn o ras, fel yr ymddengys oddiwrth ei osodiad cyntaf yn *Gen.* 17. Fe ymddengys yno, mai sel ydoedd o'r cyfammod hwnnw, trwy ba un yr oedd Duw yn addaw gwneuth-

ur Abraham yn dad llawer o genhedloedd; cymharer *adn*. 5. âg *adn*. 9. 10. Ac yn *Rhuf*. 4. 11. y dywedir i ni yn bennodol, mai "sel cyfiawnder y ffydd" ydoedd. Wrth lefaru am Abraham, y mae 'r apostol yn dywedyd iddo dderbyn yr enwaediad, yn arwydd a sel cyfiawnder. Ac yr oedd y sacrament hwn yn bennaf yn dosbarthu Abraham a'i had oddiwrth y byd, ac yn cadw i fynu neillduad rhyngddynt hwy ac eraill yn fwy nag un ddefod arall oedd ganddynt.

Heblaw hynny, fe gafodd Abraham seliau achlysurol, a chadarnhad o'r cyfammod hwn; megis yn neillduol, (1.) Ddarfod i Dduw roddi iddo wystl nodedig o gyflawniad yr addewid a roddasai iddo, yn y fuddugoliaeth a gafodd ar Gedorlaomer, a'r brenhinoedd oedd gyd âg ef. Fe ymddengys fod Cedorlaomer yn teyrnasu ar ran fawr o'r byd yn y dyddiau hynny; ac er fod ei eisteddfa lywodraethol yn Elam, pa le nid oedd lawer, os dim, llai o bellder na mil o filltiroedd o wlad Canaan, etto yr oedd efe wedi estyn ei ymerodraeth i deyrnasu ar lawer o rannau o'r wlad honno, fel yr ymddengys yn *Gen*. 14. 4,—7. Fe dybir gan ddynion dysgedig, mai brenhin ymerodraeth Assyria oedd efe, yr hon a gawsai ei dechreuad gan Nimrod yn Babel. Ac fel yr oedd yn anrhydedd gan frenhinoedd y dyddiau hynny i adeiladu dinasoedd newyddion i fod yn eisteddle eu hymerodraeth, *Gen*. 10. 12. felly fe dybir ei fod yntau wedi adeiladu dinas yn Elam, a'i gwneuthur yn anneddfa iddo ei hun; ac mai rhaglawiaid iddo mewn amrywiol ddinasoedd a gwledydd, lle yr oeddynt yn llywodraethu, oedd y brenhinoedd eraill a ddaeth gyd âg ef. Ond etto, er fod ganddo y fath ymerodraeth mor alluog, a'r fath fyddin mor fawr yn ei ganlyn yn awr, Abraham, yn unig gyd â'i hyfforddus weision a anwyd yn ei dŷ, a'u gorchfygodd ac a'u darostyngodd hwy oll. Y fuddugoliaeth hon a roddwyd iddo gan Dduw fel gwystl o'r fuddugoliaeth a gai Crist, ei had, ar holl genhedloedd y ddaear, trwy yr hon hefyd y meddiannai efe byrth ei elynion. Dywedir yn eglur am dani fel y cyfryw yn Esaiah. Yn *pen*. 41. y rhagfynegir am y fuddugoliaeth ogoneddus a gaiff yr eglwys ar genhedloedd y byd, megis y gwelir yn *adn*. 1, 10, 15. Ond yn *adn*. 2, 3, y mae y fudddugoliaeth hon a gafodd Abraham yn cael llefaru am dani fel gwystl ac ernes o'r fuddugoliaeth a gai yr eglwys. "Pwy a gyfododd y cyfiawn o'r dwyrain, a'i galwodd at ei droed, a roddodd y cenhedloedd o'i flaen ef, ac a wnaeth iddo lywodraethu ar frenhinoedd? efe a'u rhoddodd hwynt fel llwch i'w

gleddyf, ac fel sofl gwasgaredig i'w fwa ef. Y mae efe yn eu herlid hwynt,* ac yn myned yn ddiogel; ar hyd llwybr ni cherddasai efe â'i draed."

(2.) Cadarnhad nodedig arall a dderbyniodd Abraham o'r cyfammod gras, ydoedd yr hyn a gafodd efe wrth ddychwelyd o ladd y brenhinoedd; pan y cyfarfyddodd Melchisedec brenhin Salem, offeiriad y Duw Goruchaf, âg ef, yr hwn oedd yn gysgod neillduol o Grist, efe a'i bendithiodd ef, ac a ddaeth â bara a gwin iddo. Yr oedd y bara a'r gwin yn arwyddo yr un fendith o'r cyfammod gras ag y mae 'r bara a'r gwin yn sacrament swpper yr Arglwydd yn ei arwyddo. Felly, megis yr oedd gan Abraham sel o'r cyfammod yn yr enwaediad, yr oedd hyn hefyd yn gyfartal i swpper yr Arglwydd. Ac yr ydoedd bod Melchisedec yn dyfod i'w gyfarfod ef, ac yn rhoddi iddo y fath sel o'r cyfammod, ar y fath achlysur buddugoliaethus, yn brawf mai gwystl ydoedd y cyflawnai Duw yr un cyfammod; canys hynny yw 'r drugaredd y mae Melchisedec yn sylwi arni. *Gen.* 14. 19, 20.

(3.) Un arall oedd, y weledigaeth a gafodd Abraham pan y syrthiodd trwm-gwsg arno, ac y canfu ffwrn yn mygu, a lamp danllyd yn tramwyo rhwng darnau yr aberth. *Gen.* 15. Yr oedd yr aberth hwnnw, fel yr oedd yr holl ebyrth, yn cysgodi aberth Crist. Y ffwrn yn mygu, oedd yn arwyddo dioddefaint Crist; ond yr oedd y lamp losgadwy ag oedd yn canlyn gyda goleuni disglaer, yn arwyddo y gogoniant a fyddai yn canlyn ei ddioddefiadau ef, ac a ennillwyd trwyddynt.

(4.) Gwystl arall a roddodd Duw i Abraham o gyflawniad y cyfammod gras, ydoedd rhoddi y mab hwnnw iddo yn ei hen ddyddiau, o'r hwn yr oedd Crist i ddyfod. Lleferir am hyn yn yr ysgrythyr yn yr ystyr hwnnw. *Heb.* 11. 11, 12. *Rhuf.* 4. 18, &c.

(5.) Drachefn, yn y waredigaeth a gafodd Isaac wedi iddo gael ei osod ar goed yr aberth i'w ladd. Yr oedd Duw trwy hyn yn rhoddi i Abraham gadarnhad mwy i'w ffydd yn yr addewid a roddasai efe iddo am Grist, y byddai iddo ddyfod o hiliogaeth Isaac; yr hwn trwy y waredigaeth yma a gafodd, oedd yn arddangos adgyfodiad Crist. *Heb.* 11. 17,—19. Ac oblegid fod hyn yn gadarnhad o'r cyfammod gras, gan hynny

---

* Yn y cyfieithiad Saesoneg y mae amser y ferf yn wahanol: "*He pursued them*:" hynny yw, Efe a'u herlidiodd hwynt.

Duw a'i hadnewyddodd âg Abraham ar yr achlysur yma. *Gen.* 24. 15, &c.

Fel hyn gwelir pa mor mwy cyflawn y datguddiwyd ac y cadarnhawyd y cyfammod gras yn amser Abraham nag o'r blaen. Y modd hyn fe ymddengys i Abraham gael eglurach deall am, ac amlyccach golwg ar Grist, y Gwaredwr mawr, a'r pethau ag oedd i gael eu cyflawni ganddo yr amser a ddeuai, na neb o'r saint a fuasai o'i flaen; gan hynny y mae Crist yn hyspysu i ni, "Fod Abraham wedi gweled ei ddydd ef, a llawenychu." *Ioan* 8. 5, 6. Gwelwn y fath gynnydd mawr y rhyngodd bodd i Dduw yn awr ei roddi ar yr adeiladaeth hon, yr hon a ddygasai efe ym mlaen er dechreuad y byd.

3. Y peth nesaf y sylwaf arno, yw, fod Duw yn cadw y Patrieirch cyhyd o amser ym mysg trigolion annuwiol Canaan heb gael niweid oddi wrthynt hwy, na'r holl elynion eraill. Y Patrieirch, Abraham, Isaac, a Jacob, oedd y rhai hynny o ba rai yr oedd Crist i ddyfod, oeddynt yn awr wedi cael eu neillduo oddiwrth y byd, fel ynddynt hwy y byddai i'r eglwys gael ei chynnal i fynu, ac felly yr oedd diben mawr y prynedigaeth yn cael ei ddwyn y'mlaen trwy eu cadwraeth hwy. Efe a'u cadwodd hwynt, a chadwodd hefyd drigolion y tir yr oeddynt yn ymdeithio ynddo rhag eu dinystrio hwy, yr hyn oedd yn oruchwyliaeth nodedig o eiddo rhagluniaeth; canys yr oedd trigolion y wlad yn hynod o annuwiol yn y dyddiau hynny, er eu bod hwy wedi cynnyddu i fwy o annuwioldeb wedi hynny, fel yr ymddengys oddiwrth *Gen.* 15. 16. "Ac yn y bedwaredd oes y dychwelant yma; canys ni chyflawnwyd etto anwiredd yr Amoriaid:" cystal a phe dywedasid, er fod eu hanwiredd yn hynod o fawr, etto nid ydyw yn gyflawn. A bod annuwioldeb trigolion y tir yn fawr iawn, a ymddengys hefyd oddiwrth y gwrthwynebiad oedd gan Abraham ac Isaac i'w meibion briodi eu merched hwy. Abraham, pan oedd yn hen, ni allai fod yn foddlon hyd oni wnaeth i'w was dyngu na chymmerai wraig i'w fab o ferched y wlad. Ac Isaac a Rebecca oeddynt yn foddlon i anfon Jacob i le mor bell a Phadan-Aram i gymmeryd gwraig oddi yno. Ac fe ddywedir i ni, pan briododd Esau rai o ferched y wlad, eu bod hwy yn chwerwder yspryd i Isaac a Rebecca. *Gen.* 26. 35.

Prawf arall o'u mawr annuwioldeb sydd gennym yn yr hanes am Sodoma a Gomorrah, Admah a Seboim, pa rai oeddynt ddinasoedd yn ngwlad Canaan, ac oeddynt, mae 'n debygol, yn nodedig mewn annuwioldeb nag eraill o ddinasoedd y wlad.

Gan eu bod hwy fel hyn yn rhagori mewn annuwioldeb, yr oeddynt hefyd, mae 'n debygol, yn rhagori mewn gelyniaeth llidiog yn erbyn y dynion sanctaidd hynny, yn ol yr hyn a gyhoeddwyd ar y cyntaf, "Gelyniaeth a osodaf rhyngot ti a'r wraig, a rhwng dy had di a'i had hithau;" ac yr oedd bywydau sanctaidd y dieithriaid hynny yn condemnio eu hannuwioldeb hwy yn barhaus. Ac heblaw hynny, ni's gallai nad oedd raid eu bod hwy yn eu hargyhoeddi o'u drygioni, megis y gwelwn fod Lot yn Sodom; yr hwn y dywedir ei fod yn cael poeni ei enaid cyfiawn, trwy eu hanghyfreithlon weithredoedd hwynt, ac yr oedd efe yn bregethwr cyfiawnder yn eu mysg hwynt.

Ac yr oeddynt hwy yn fwy agored i gynddaredd trigolion y tir, gan nad oeddynt hwy ond dieithriaid ac ymdeithwyr yn y wlad, heb un etifeddiaeth ganddynt etto ynddi. Y mae pobl yn fwy tueddol i weled bai ar ddieithriaid, ac i gyffroi o herwydd rhyw beth yn eu hymddygiad, fel yr oeddynt tu ag at Lot yn Sodom, pan yr oedd efe mewn tiriondeb yn eu hargyhoeddi hwy o'u hannuwioldeb; yr hyn yr oeddynt yn ei ddywedyd wrth hynny, oedd, "A ddaeth efe i ymdaith yn unig, ac yn awr gan farnu y y barna efe;" ac yn bygwth yr hyn a wnaent iddo.

Ond Duw yn rhyfeddol a gadwodd Abraham a Lot, ac Isaac a Jacob, a'u teuluoedd, yn eu mysg hwynt, er nad oeddynt ond ychydig nifer, ac a allasent yn fuan eu dinystrio hwy; yr hyn y sylwir arno, yn *Ps.* 105. 12, &c. fel prawf rhyfeddol o drugaredd amddiffynol Duw i'w eglwys: "Pan oeddynt yn ychydig o rifedi, ie, ychydig, a dieithriaid ynddi: Pan rodient o genhedlaeth i genhedlaeth, o'r naill deyrnas at bobl arall: Ni adawodd efe i neb eu gorthrymmu: ie, ceryddodd frenhinoedd o'u plegid; Gan ddywedyd, Na chyffyrddwch â'm rhai enneiniog, ac na ddrygwch fy mhrophwydi."

Y cadwraeth yma a gawsant, ydoedd mewn rhai amgylchiadau yn hynod o ryfedd; yn y siamplau hynny y mae gennym hanes am danynt, ym mha rai y darfu iddynt ddigio a chyffroi yn ddirfawr drigolion y tir, megis ymddygiad Simeon a Lefi tu ag at Hemor a Sichem, *Gen.* 34. 30. Duw mewn modd dieithr a gadwodd Jacob a'i deulu, gan attal y bobl ag oedd wedi eu cyffroi i'w niweidio, trwy beri i ddychryn anarferol ddisgyn ar eu meddyliau. *Gen.* 35. 5. "Ac ofn Duw oedd ar y dinasoedd y rhai oedd o'u hamgylch hwynt, ac nid erlidiasant ar ol meibion Jacob."

Y mae i ddal sylw arno yma, nid yn unig fod Duw yn eu cadw hwy rhag y Canaaneaid, ond hefyd ei fod yn eu cadw rhag

pawb eraill ag oedd yn amcanu eu niweidio: fel hyn y diogelodd efe Jacob a'i dylwyth, pan yr oedd Laban yn llawn cynddaredd yn amcanu ei ddal ef fel gelyn; Duw a'i cyfarfu ef, ac a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd wrtho, "Cadw arnat rhag yngan o honot wrth Jacob na da na drwg." *Gen.* 31. 24. Mor rhyfeddol y cadwyd ef rhag Esau ei frawd, pan ddaeth efe allan gyda byddin mewn llawn fwriad o'i dorri ef ymaith! Y modd yr attebodd Duw ei weddi, pan yr ymdrechodd efe â Christ yn Penuel, ac y trowyd calon Esau mor rhyfeddol; a'i wneud, yn lle ei gyfarfod ef fel gelyn gyda lladdfa a dinystr, i'w gyfarfod ef fel brawd a chyfaill, heb wneuthur un niweid iddo. Fel hyn y cadwyd y dyrnaid hwn, y gwreiddyn bychan yr hwn yr oedd bendith y Gwaredwr ynddo yn nghanol gelynion a pheryglon, nid yn annhebyg i gadwraeth yr arch yn nghanol y diluw tymhestlog.

4. Y peth nesaf y sylwaf arno, ydoedd yr aethus ddinystr a ddaeth ar Sodom a Gomorrah, a'r dinasoedd cymmydogaethol. Yr oedd hyn yn tueddu i ddwyn ym mlaen y bwriad a'r gwaith mawr, yr hwn yw fy nhestun presennol, ddwy ffordd. Ac fe wnaeth hynny, fel yr oedd yn tueddu i roi rhwystr galluog ar drigolion y tir rhag niweidio y dieithriaid sanctaidd hynny ag oedd Duw wedi eu dwyn i ymdaith yn eu plith hwynt. Lot ydoedd un o'r dieithriaid hynny ag a ddaethai i'r wlad gyd âg Abraham; a thrwy eu gwaith yn ei ddiystyru ef, y pregethwr cyfiawnder a anfonasai Duw i'w plith, fe ddinystriwyd Sodom. A'u distryw a ddaeth pan yr oeddynt ar gyflawni y weithred fwyaf ffiaidd ac ysgeler ar Lot, a'r dieithriaid hynny a ddaethai i'w dŷ, sef yr angelion; pa rai, fe allai, yr oeddynt hwy yn tybied eu bod yn gydnabyddus âg ef o'r blaen, ac wedi dyfod o'r un wlad ag y buasai yntau ynddi i ymweled âg ef. Ymosodasant yn y modd mwyaf terfysgaidd ar dŷ Lot, gyda bwriad i roddi ammharch anghenfilaidd i'r dieithriaid hynny ag oedd wedi dyfod yno, a bygwth gwneud yn waeth â Lot nag â hwy.

Ond yn nghanol hyn Duw a'u tarawodd hwynt â dallineb; a'r boreu canlynol y dref a ddymchwelwyd gan dymestl ofnadwy o dân a brwmstan. Gan fod y distryw arswydus hwn yn ngolwg y gweddill o drigolion y tir, yr oedd yn tueddu yn fawr i'w hattal rhag niweidio y dieithriaid sanctaidd hynny mwyach; yr oedd yn ddiammau yn rhoi braw a dychryn ar eu meddyliau, ac yn peri iddynt ofni eu niweidio hwynt, ac yn debygol yn un prif foddion i'w rhwystro hwynt, ac i ddiogelu y Patrieirch. A

phan y rhoddir rheswm paham na ddarfu i drigolion y wlad erlid ar ol meibion Jacob, pan oeddynt wedi eu cyffroi i hynny trwy ddinystr y Sichemiaid, y dywedir, "fod arswyd Duw arnynt," ac y mae'n dra thebygol mai hyn yw y peth y cyfeirir atto fel achos o'r arswyd. Hwy a gofiasant am y distryw aethus a ddaeth ar Sodomah, a dinasoedd y gwastadedd, yr hwn a ddaeth arnynt pan yr oeddynt yn ymddwyn yn ammharchus tu ag at Lot; ac felly nid oeddynt yn beiddio niweidio Jacob a'i deulu, er eu bod wedi cael eu cyffroi yn fawr i hynny.

Y distryw aethus hwn oedd yn tueddu, mewn ffordd arall, i ddwyn ym mlaen waith mawr y prynedigaeth; gan fod Duw, trwy hyn yma, mewn modd nodedig, yn datguddio bygythion dychrynllyd ei gyfraith, i ddwyn dynion yn ystyriol o'u hangenrheidrwydd am drugaredd waredol. Ni chariwyd erioed ym mlaen waith y prynedigaeth heb hyn. Yr oedd y ddeddf yn cael ei defnyddio, o'r dechreuad, yn athraw i ddwyn dynion at Grist. *Gal.* 3. 24.

Ond dan yr Hen Destament yr oedd llawer mwy o angenrheidrwydd am ryw anghyffredinol amlygiad o ddigofaint Duw yn erbyn pechod, yn weledig ac yn deimladwy, nag yn nyddiau yr efengyl; gan fod cyflwr dyfodol, a thrueni tragywyddol yn uffern, wedi eu datguddio yn fwy eglur, a chan fod cyfiawnder mawreddig Duw yn erbyn pechodau dynion wedi cael ei amlygu mor ryfeddol yn nioddefiadau Crist. A chan hynny, fe fyddai yn arferol o ganlyn y datguddiad a roddai Duw o hono ei hun yn y dyddiau hynny lawer mwy o ddychryn nag sydd yn nyddiau yr efengyl. Felly, pan yr ymddangosodd Duw ar fynydd Sinai i roddi y gyfraith, yr ydoedd taranau a mellt, a chwmmwl tew, a llais yr udgorn yn dra uchel. Ond yr oedd rhyw amlygiadau allanol a mawreddig o ddigofaint Duw yn erbyn pechod, ar ryw gyfrifon, yn neillduol angenrheidiol cyn rhoddiad y gyfraith: a chan hynny, cyn y diluw, yr oedd bygythion y gyfraith fel yr oeddynt yn cael eu trosglwyddo mewn traddodiad oddiwrth Adda yn ddefnyddiol. Fe fu Adda ei hun fyw naw cant a deg ar hugain o flynyddoedd, i hyspysu i'r eglwys fygythion ofnadwy Duw ag oedd yn fygythiedig yn y cyfammod a wnaethpwyd âg ef, a pha mor arswydus oedd canlyniadau y cwymp, o'r hyn yr oedd efe yn llygad-dyst ac yn ddeiliad; ac yr oedd eraill, a fuasai yn ymddiddan âg Adda, yn fyw hyd amser y diluw. Ac yr oedd dinystr y byd trwy y diluw yn wasanaethgar i ddangos bygythion y ddeddf, ac i amlygu digof-

aint Duw yn erbyn pechod; ac felly i ddwyn dynion i ystyried yr angenrheidrwydd hollol am drugaredd waredol. Ac yr oedd, o'r rhai a welsai y diluw, rai yn fyw yn amser Abraham.

Ond yr oedd y diluw yn awr, mewn mesur mawr, wedi ei anghofio; gan hynny fe welodd Duw yn dda drachefn ddangos ei ddigofaint yn erbyn pechod, yn y modd mwyaf brawychus, trwy ddinystrio y dinasoedd hynny; yr hyn ydoedd yn y fath fodd a'i fod yn ddarlun mwyaf bywiog o uffern o unrhyw beth a fuasai o'r blaen; gan hynny dywed yr apostol Jude, "Eu bod hwy yn dioddef dialedd tân tragywyddol." Jude 7. Duw a wlawiodd arnynt dymhestl o dân a brwmstan. Y mae'n debygol mai y modd y dinystriwyd hwy ydoedd, trwy ffaglau breision o fellt. Y ffrydiau brwmstanaidd oeddynt mor braff fel y llosgasant i fynu yr holl ddinasoedd hynny, hyd oni ddinystriwyd hwy a'u trigolion yn y fflamau. Trwy hyn y gellir gweled aethus ddigofaint Duw yn erbyn annuwioldeb ac anghyfiawnder dynion; yr hyn oedd hefyd yn tueddu i ddangos iddynt yr angenrheidrwydd o'r prynedigaeth, ac felly i ddwyn y gwaith mawr hwn ym mlaen.

5. Duw drachefn a adnewyddodd ac a gadarnhaodd y cyfammod gras i Isaac ac i Jacob. Gwnaeth felly i Isaac, *Gen.* 26. 3, 4. "A mi a gyflawnaf fy llw a dyngais wrth Abraham dy dad di. A mi a amlhâf dy had di fel sêr y nefoedd, a rhoddaf i'th had di yr holl wledydd hyn, a holl genhedlaethau y ddaear a fendithir yn dy had di." Ac wedi hynny fe'i hadnewyddwyd ac a'i cadarnhawyd i Jacob; yn gyntaf, yn y fendith a dderbyniodd oddiwrth Isaac, wrth gyhoeddi pa un yr oedd efe (sef Isaac) yn gweithredu ac yn llefaru mewn modd anghyffredinol, a than gyfarwyddyd dwyfol. Yn y fendith honno yr oedd bendithion y cyfammod gras yn cael eu cadarnhau i Jacob ac i'w had; *Gen.* 27: 29. "Gwasanaethed pobloedd dydi, ac ymgrymmed cenhedloedd i ti: bydd di arglwydd ar dy frodyr, ac ymgrymmed meibion dy fam i ti: melldigedig fyddo a'th felldithio, a bendigedig a'th fendithio." A chan hynny yr oedd Esau, trwy golli y fendith hon, yn colli y fendith o fod yn etifedd bendithion y cyfammod gras.

Fe adnewyddwyd ac fe gadarnhawyd y cyfammod hwn drachefn i Jacob yn Bethel, trwy weledigaeth yr ysgol: yr oedd yr ysgol yn arwydd o ffordd iachawdwriaeth trwy Grist. Canys y garreg ar ba un y gorphwysodd Jacob oedd yn cysgodi Crist, maen Israel, yr hwn y mae Israel neu Jacob ysprydol yn gor-

phwys arno; megis y mae 'n eglur, gan fod y maen hwnnw, ar yr achlysur yma, yn cael ei enneinio, a'i ddefnyddio fel allor. Ond nyni a wyddom mai Crist yw enneiniog Duw, ac efe yw yr unig wir allor. Tra yr oedd Jacob yn gorphwys ar y maen hwnnw, ac yn gweled yr ysgol, fe ymddangosodd Duw iddo fel Duw mewn cyfammod âg ef, ac a adnewyddodd iddo ef y cyfammod gras. *Gen.* 28. 14. "A'th had di fydd fel llwch y ddaear, a thi a dorri allan i'r gorllewin, ac i'r dwyrain, ac i'r gogledd, ac i'r dehau: a holl deuluoedd y ddaear a fendithir ynot ti, ac yn dy had di."

Cadarnhad nodedig arall o'r cyfammod hwn a gafodd Jacob yn Penuel, lle yr ymdrechodd efe gyda Duw, ac y llwyddodd; pa le yr ymddangosodd Crist iddo mewn gwedd ddynol, yn ffurf y natur y darfu iddo wedi hynny ei chymmeryd i undeb personol â'i natur ddwyfol.

Duw a adnewyddodd ei gyfammod âg ef drachefn, pan yr aeth allan o Padanaram, ac y daeth i Bethel, ac at y maen y gorphwysasai arno; lle y cawsai weledigaeth yr ysgol. *Gen.* xxxv. Fel hyn fe adnewyddwyd y cyfammod gras yr amser hwn yn fynych, ïe, yn llawer mynychach nag o'r blaen. Yr oedd goleuni yr efengyl yn awr yn dechreu tywynu yn llawer mwy llewyrchus, fel yr oedd yr amser yn nesâu at ddyfodiad Crist.

6. Y peth nesaf y sylwaf arno ydyw, y modd rhyfeddol y cadwodd Duw y teulu o ba un yr oedd Crist i ddyfod rhag marw o newyn, yr hyn a wnawd trwy Joseph fel offeryn. Pan yr oedd amser y newyn, yr hwn a barhaodd ddwy flynedd ar bymtheg, yn nesâu, fe welodd Duw yn dda, trwy ryfeddol ragluniaeth, i anfon Joseph i'r Aipht, i fod yno yn darparu, er porthi Jacob a'i deulu, ac i gadw yn fyw yr had sanctaidd, pa un, oni buasai hynny, a fuasai yn trengu. Fe anfonwyd Joseph i'r Aipht i'r diben hwnnw, megis y mae efe yn sylwi, *Gen.* 50. 20. "Chwi a fwriadasoch ddrwg i'm herbyn; ond Duw a'i bwriadodd i ddaioni, i ddwyn i ben, fel y gwelir heddyw, i gadw yn fyw bobl lawer." Pa sawl gwaith y bu y gwreiddyn sanctaidd hwn, o'r hwn yr oedd blaguryn cyfiawnder, sef y Gwaredwr gogoneddus i ddyfod, mewn perygl o gael ei ddistrywio! ond Duw a'i cadwodd mewn modd rhyfeddol.

Y waredigaeth hon i dŷ Israel, trwy law Joseph, ydoedd, ar ryw gyfrifon, yn hynod o debyg i'r iachawdwriaeth trwy Grist. Fe achubwyd plant Israel rhag marw o newyn trwy Joseph eu brawd a'u cyfathrachwr; felly y mae efe, yr hwn sydd yn gwar-

edu eneidiau ei Israel ysprydol oddiwrth newyn ysprydol yn gyfathrachwr iddynt, ac yn un nad ydyw gywilyddus ganddo eu galw hwy yn frodyr. Yr oedd Joseph yn frawd, yr hwn y darfu iddynt hwy ei gasâu, a'i werthu, ac yr oedd megis pe buasai wedi ei ladd; canys bwriadasent ei ladd ef. Felly y mae Crist yn un ag yr ydym ni wrth natur yn ei gasâu; a thrwy ein bucheddau annuwiol nyni a'i gwerthasom am bethau gwag y byd hwn; nyni hefyd a'i lladdasom ef â'n pechodau. Joseph a fu ar y cyntaf mewn sefyllfa o ddarostyngiad, ac yn was; felly Crist a ymddangosodd mewn agwedd gwas; wedi hynny fe fwrïwyd Joseph i'r daear-dŷ, megis ag y disgynodd Crist i'r bedd; ac wedi iddo ddyfod allan o'r daear-dŷ, fe'i codwyd i sefyllfa o dderchafiad mawr ar ddeheulaw y brenhin, fel ei raglaw, i lywodraethu ei holl deyrnas ef, ac i ddarparu ymborth er cadw bywydau; felly Crist a dderchafwyd ar ddeheulaw Duw, i fod yn Dywysog ac yn Iachawdwr i'w frodyr, ac efe a dderbyniodd roddion i ddynion, ie, i rai cyndyn, a'r rhai a'i casasent ac a'i gwerthasent.

7. Wedi hyn fe roddwyd prophwydoliaeth am Grist, yr hon, ar ryw gyfrifon, ydoedd yn fwy neillduol nag yr un a fuasai erioed o'r blaen, sef yr hyn ydoedd ym mendith Jacob i'w fab Judah. Yr oedd y brophwydoliaeth hon yn dangos yn fwy neillduol o hiliogaeth pwy y deuai efe. Pan y galwodd Duw Abraham, fe ddatguddiwyd iddo mai o'i hiliogaeth ef y deuai y Gwaredwr. Cyn hynny, nid oes gennym hanes am un datguddiad ynghylch ach Crist yn cael ei gyfyngu i gulach terfynau na hiliogaeth Noah: wedi hynny fe'i cyfyngwyd i derfynau mwy cyfyng; canys, er fod gan Abraham lawer o feibion, etto fe ddatguddiwyd mai o hiliogaeth Isaac y deuai Crist. A'r amser hwn fe'i cyfyngwyd etto yn gyfyngach; canys pan yr oedd gan Isaac ddau fab, fe amlygwyd mai o hiliogaeth Israel y deuai efe. Ac yn awr, er fod gan Israel ddeuddeg o feibion, etto fe ddatguddiwyd mai o hiliogaeth Judah y deuai Crist: Llew o lwyth Judah yw efe. Golygiad a roddir yn fyrr ar ei weithredoedd mawrion, pan y dywedir yn *Gen.* 49. 8, 9. "Tithau Judah, dy frodyr a'th glodforant di: dy law fydd y'ngwarr dy elynion; meibion dy dad a ymgrymmant i ti. Cenaw llew wyt ti, Judah; o'r ysglyfaeth y daethost i fynu, fy mab: ymgrymmodd, gorweddodd fel llew, ac fel hen lew: pwy a'i cyfyd ef?" Y mae y rhagddywediad hwn drachefn yn fwy neillduol ynghylch amser ymddangosiad Crist yn y cnawd; *adn.* 10. "Nid ymedy y

deyrn-wialen o Judah, na deddfwr oddi rhwng ei draed ef, hyd oni ddel Silo; ac atto ef y bydd cynnulliad pobloedd." Y brophwydoliaeth yma, am alwad y cenhedloedd mewn canlyniad i ddyfodiad Crist, sydd yn ymddangos yn fwy amlwg nag yr un etto, "Atto ef y bydd cynnulliad pobloedd." Fel hyn gwelir fod goleuni yr efengyl, yr hwn a dywynodd yn ddioed ar ol cwymp dyn, wedi cynnyddu yn raddol.

8. Gwaith y prynedigaeth a ddygwyd ym mlaen yr amser hwn, trwy i Dduw, mewn modd rhyfeddol, gadw plant Israel yn yr Aipht, pan yr oedd awdurdod yr Aipht wedi ymosod i'w hollol ddinystrio hwy. Fe ymddengys eu bod yn hollol yn nwylaw yr Aiphtiaid; eu gweision hwy oeddynt; ac yr oeddynt yn ddarostyngedig i awdurdod Pharaoh, yr hwn oedd wedi ymroddi i'w gwanychu trwy gaethiwed caled. A phan welodd na attebai hynny y diben, efe a amcanodd ddiwreiddio eu cenedl hwy, trwy roi gorchymyn i foddi pob plentyn gwrryw. Ond er yr hyn oll a allai Pharaoh ei wneud, Duw, mewn modd rhyfeddol, a'u cadwodd hwy; ac nid hynny yn unig, ond hefyd a'u lluosogodd yn ddirfawr; ac felly, yn lle cael eu diwreiddio, hwy a amlhawyd.

9. Y mae i sylwi arno yn y fan yma, nid yn unig fod y genedl wedi cael ei chadw, ond hefyd fod Duw, mewn modd rhyfedd, wedi cadw a dal i fynu ei eglwys weledig yn y genedl hon pan yr ydoedd mewn perygl o gael ei llethu gan eilun-addoliaeth yr Aipht. Fe fu plant Israel amser hir ym mysg yr Aiphtiaid, ac yn weision danynt hwy; ac felly heb y fantais o gael cadw i fynu ordinhadau Duw yn eu plith eu hunain, na chynnal addoliad cyhoeddus, neu addysg, trwy yr hyn y cynhelid i fynu y wir grefydd; ac nid oedd y pryd hynny ddim o air Duw yn ysgrifenedig; ac yn raddol y wir grefydd a aeth i raddau mawr ar goll yn eu plith hwy, a benthycciasant arferion eilun-addolgar yr Aiphtiaid; a'r rhan fwyaf o'r bobl a wyrasant i addoli eu duwiau hwy. Gwel *Ezec.* 20. 6, 8. a 23. 8.

Y pryd hyn oedd y drydedd waith i eglwys Dduw fod agos a chael ei llyngcu i fynu a'i dwyn ymaith gan annuwioldeb y byd; y waith gyntaf o flaen y diluw; a'r ail waith cyn galwad Abraham; ac yn bresennol yn yr Aipht. Ond etto ni oddefodd Duw i'w eglwys gael ei hollol orchfygu; efe yn barhaus a'i hachubodd hi, yr un modd ag yr achubodd efe yr arch yn y diluw, a Moses y'nghanol y dyfroedd yn y cawell brwyn, pan yr oedd efe yn y perygl mwyaf o gael ei lyngcu i fynu. Yr oedd rhai o

hyd yn dal i fynu y wir grefydd; ac yr oedd gan Dduw yn wastadol bobl yn eu mysg hwy, ie, yn yr amser llygredig, tywyll, a thruenus hwn. Rhïeni Moses oeddynt yn weision i Dduw. *Heb.* 11. 23. "Trwy ffydd, Moses, pan anwyd, a guddiwyd drimis gan ei rïeni, o achos eu bod yn ei weled yn fachgen tlws: ac nid ofnasant orchymyn y brenhin."

Yr wyf yn awr wedi myned trwy y drydedd ran o amser yr Hen Destament, a dangos pa fodd y dygwyd ym mlaen waith y prynedigaeth o alwad Abraham hyd Moses; yn yr hyn yr ydym yn gweled fod llawer o bethau mawrion wedi cael eu gwneud tu ag at y gwaith hwn, a'r cynnydd mawr a fu ar yr adeiladaeth yma tu hwnt i'r hyn a fuasai o'r blaen.

---

## RHAN IV.

### *O Moses Hyd Dafydd.*

Yr wyf yn dyfod at y pedwerydd amser, yr hwn oedd yn cyrhaedd o Moses hyd Dafydd, i ddangos y modd y dygwyd ym mlaen waith y prynedigaeth trwy 'r yspaid hwn hefyd.

Y peth cyntaf sydd yn ymgynnyg i'n sylw dan y pen hwn, ydoedd gwaredigaeth eglwys Dduw allan o'r Aipht, yr hon oedd y waredigaeth fwyaf hynod o holl waredigaethau yr Hen Destament, a'r hyn oedd y gwystl mwyaf o'r prynedigaeth trwy Grist, ac hefyd yn gysgod neillduol o hono; a'r hyn sydd yn cael ei honni fwyaf o lawer yn yr ysgrythyr nag yr un arall. Y waredigaeth hon a weithredwyd gan Iesu Grist, fel y mae'n eglur; canys gelwir ef angel yr Arglwydd, *Exod.* 3. 2, 3. yr hwn a ymddangosodd i Moses yn y berth, ac a'i hanfonodd ef i waredu y bobl. Yr oedd y berth yn arddangos natur ddynol Crist, yr hwn a elwir y Blaguryn. Yr oedd y berth hon wedi tyfu ar fynydd Sinai, neu Horeb,* yr enwad olaf o'r ddau yn arwyddo lle sych; felly y dywedir mai "gwreiddyn o dir sych" oedd natur ddynol Crist. Yr oedd llosgiad y berth â thân yn arwyddo dioddefaint Crist yn nhân digofaint Duw. Yr oedd y berth yn llosgi, ac heb ei difa; felly fe ddioddefodd Crist yn

---

* Mynydd yn Arabia Garregog yw Horeb, a chyn lleied pellder rhyngddo a Sinai, fel y mae 'n ymddangos nad ydynt ond dau glogwyn yn perthyn i'r un mynydd. Sinai yn gorwedd i'r dwyrain, a Horeb i'r gorllewin, y naill a'r llall yn cael sôn am danynt fel yr un yn fynych yn yr ysgrythyrau.

ddirfawr, ond ni ddarfu am dano; eithr yn y diwedd efe a orchfygodd, ac a gyfododd o'i ddioddefiadau. Ac oblegid fod y dirgelwch hwn, sef cnawdoliaeth a dioddefaint Crist, yn cael ei arddangos yma, y dywedodd Moses, "Mi a droaf yn awr, ac a edrychaf ar y weledigaeth fawr hon," a da y gallasai ei galw yn weledigaeth fawr, pan yr oedd yn cael ei arddangos ynddi, Duw yn ymddangos yn y cnawd, ac yn dioddef marwolaeth arswydus, ac yn adgyfodi oddiwrth y meirw.

Y Person gogoneddus hwn a waredodd Israel allan o'r Aipht odditan law Pharaoh; megis y darfu iddo wedi hynny, trwy ei ddioddefiadau a'i farwolaeth, waredu ei etholedigion o afael Satan, y Pharaoh ysprydol. Y rhai hynny a waredodd efe o wasanaeth creulon, a chaledfyd trwm; ond y rhai hyn, sef yr etholedigion, o gaethiwed creulon Satan a phechod. Y rhai hynny a waredodd efe o'r ffwrn haiarn; ond y rhai hyn a achubwyd rhag llosgi yn dragywyddol. Y rhai hynny a waredodd efe â llaw gref, ac â braich estynedig, gan gospi eu gelynion â barnedigaethau mawrion ac ofnadwy; y rhai hyn trwy nerthol ras, gan fuddugoliaethu ar dywysogaethau, ac awdurdodau, a thywallt ei farnedigaethau arswydus ar eu gelynion. Y rhai hynny a achubodd efe trwy daenelliad gwaed yr oen pasg, pan yr oedd eraill yn cael eu dinystrio, y mae efe yn achub y rhai hyn rhag angau ac uffern, trwy daenelliad o'i waed ei hun. Y rhai hynny a ddygodd efe allan o'r Aipht yn hollol wrthwyneb i ewyllys yr Aiphtiaid, pan na allasent hwy eu hattal; y rhai hyn y mae efe yn eu gwaredu o ddwylaw y diafol, pan y mae yn anoddefol i'w galon falch ef gymmeryd ei orchfygu.

Yn y waredigaeth honno, yr oedd Crist yn gwaredu y bobl, nid yn unig odditan orthrymder yr Aiphtiaid, ond efe a'i gwaredodd hefyd o gaethiwed y cythreuliaid, eu duwiau hwy; canys o'r blaen yr oeddynt mewn cyflwr o gaethiwed gan dduwiau yr Aipht, cystal a chan yr Aiphtiaid eu hunain. Ac fe ddarfu i Grist, Had y Wraig, yn awr mewn modd nodedig gyflawni y felldith fygythiedig o ysigo pen y sarph. *Exod.* 12. 12. "O herwydd mi a dramwyaf trwy wlad yr Aipht y nos hon, ac a darawaf bob cyntaf-anedig o fewn tir yr Aipht, yn ddyn, ac yn anifail; a mi a wnaf farn yn erbyn holl dduwiau yr Aipht." Yr oedd y gorchwyl hynny yn gymmaint peth, ac yn fwy i uffern, nag ydoedd i'r Aipht ei hun. Yr oedd balchder a chreulondeb Satan, yr hen sarph, yn cael mwy o archoll na Pharaoh. Efe a wnaeth ei waethaf yn erbyn y bobl, ac â'i holl egni efe a wrth-

wynebodd eu gwaredigaeth. Ond fe ddywedir fod Duw, pan waredodd efe ei bobl, wedi dryllio pennau dreigiau, a'r Lefiathan, yn y dyfroedd, a'u rhoddi yn fwyd i'w bobl. *Ps.* 74. 12,—14. Duw a ddirgymmellodd eu gelynion i'w gollwng hwynt ymaith, fel y gwasanaethent ef; yr hyn y mae Zacharïas hefyd yn gwneuthur sylw arno mewn perthynas i'r eglwys tan yr efengyl. *Luc* 1. 74, 75.

Yr oedd yr Israeliaid yn myned allan o'r Aipht gyda llaw uchel, a Christ yn myned o'u blaen hwynt, mewn colofn o niwl a thân. Yr oedd yn y waredigaeth honno fuddugoliaeth ogoneddus ar y ddaear, ac uffern. A phan yr oedd Pharaoh a'i lu, a Satan trwyddynt hwy, yn erlid y bobl, Crist a'i dadymchwelodd hwy yn y Môr Coch. "Yr Arglwydd a wnaeth yn rhagorol iawn: taflodd y march a'i farchog i'r môr," ac yno yr hunasant eu hûn ddiweddaf, ac ni chanlynasant byth mwyach ar ol meibion Israel; megis ag y mae holl elynion Crist wedi eu dadymchwelyd trwy ei waed ef, cyflawnder digonoldeb yr hwn, a mawredd y dioddefiadau trwy ba rai y tywalltwyd ef, a all fod yn cael eu gosod allan trwy helaethrwydd y môr. Y Môr Coch oedd yn arddangos gwaed Crist, fel y mae 'n amlwg oddiwrth fod yr Apostol yn cydmaru mynediad plant Israel trwyddo, i fedydd; a ni a wyddom fod y dwfr yn y bedydd yn arddangos gwaed Crist. 1 *Cor.* 10. 1, 2. Fel hyn Crist, Angel cyd-ddrychioldeb Duw, yn ei gariad a'i dosturi, a waredodd y bobl yn y dyddiau gynt, ac a'u dygodd ar adenydd eryrod, fel na allai yr un o'u gelynion maleisus a balch gyffwrdd â hwynt.

Yr oedd hyn yn beth newydd arall a wnaeth Duw tu ag at waith mawr y prynedigaeth, ac ni wnaethai efe unrhyw beth cyffelyb iddo erioed o'r blaen. *Deut.* 4. 32,—34. Hwn oedd y cynnydd mwyaf a fu ar waith y prynedigaeth, yr hwn y dechreuwyd arno gyda chwymp dyn, ac a ddygwyd ym mlaen hyd yn hyn; trwy hyn fe gymmerodd rhagluniaeth ddwyfol gam pellach i barottôi 'r ffordd i ddyfodiad Crist i'r byd i weithio allan y prynedigaeth mawr a thragywyddol; canys o'r bobl yma yr oedd Crist i ddyfod. Ac yn awr y gallwn weled y modd yr oedd y planhigion a blanasai Duw yn Abraham yn blaguro. Er fod y teulu o ba un yr oedd Crist i ddyfod, wedi ei neilltuo mewn mesur oddiwrth eraill y'ngalwad Abraham, etto fe ymddengys nad oedd hynny yn ddigon o neilltuad: canys er eu bod hwy trwy hynny yn cael eu cadw fel dieithriaid ac ymdeithwyr, a rhag ymuno â phobl eraill mewn cymdeithasau gwladol; etto yr

oeddynt yn aros yn gymmysg yn eu plith, ac o herwydd hyn mewn perygl o golli yn hollol y wir grefydd; fel y dangoswyd o'r blaen, a chael eu gorchuddio âg eilun-addoliaeth eu cymmydogion. Gan hynny yn awr, Duw, trwy y waredigaeth hon, a'u neillduodd hwynt fel cenedl oddiwrth yr holl genhedloedd eraill, i fyw eu hunain, yn eu sefyllfa wledig ac eglwysig eu hun, heb un berthynas i fod rhyngddynt yn hynny â'r cenhedloedd Paganaidd, fel y byddai iddynt gael eu cadw yn ddidoledig hyd oni ddeuai Crist; ac felly y byddai i eglwys Crist gael ei chynnal, ac y byddai iddi gadw oraclau Duw, hyd yr amser y deuai efe; ac fel y gellid yn eu mysg hwy amlygu y cysgodau, a chyhoeddi y prophwydoliaethau hynny am Grist, ac addysgiadau dwyfol eraill, ynghyd â'r hanesion am bethau ag oedd yn angenrheidiol eu cadw er parottôi 'r ffordd i ddyfodiad Crist.

2. Megis yr oedd y bobl hyn yn cael eu neillduo i fod yn bobl briodol i Dduw, felly yr holl bobloedd eraill ag oedd ar wyneb yr holl ddaear a fwriwyd ymaith, ac a roddwyd i fynu i eilun-addoliaeth. Yr oedd hyn yn perthynu i'r gwaith mawr hwn ag yr ydym yn ymdrin âg ef, cyn belled ag yr oedd llaw gan ragluniaeth Duw ynddo, ac yr oedd yn un peth ag oedd efe wedi ei drefnu yn ei ragluniaeth i barottôi 'r ffordd i ddyfodiad Crist, a'r iachawdwriaeth fawr oedd i gael ei chyflawni ganddo: yr ydoedd i barottôi 'r ffordd i allu Crist a'i ras gael goruchafiaeth mwy hynod a gogoneddus ar y byd annuwiol a thruenus, ac fel y byddai i'w iachawdwriaeth ef fod yn fwy hyspys i'r byd o ddynolryw. Dyma y peth a ddywedir yn yr ysgrythyr ar yr achos, Rhuf. 11. 30,—32. Y mae 'r apostol yno yn llefaru wrth y cenhedloedd, y rhai a fuasai yn Baganiaid, "Canys megis y buoch chwithau gynt yn anufudd i Dduw, eithr yr awrhon a gawsoch drugaredd trwy anufudd-dod y rhai hyn; Felly hwythau hefyd yr awrhon a anufuddhasant, fel y caent hwythau drugaredd trwy eich trugaredd chwi. Canys Duw a'u cauodd hwynt oll mewn anufudd-dod, fel y trugarhâi wrth bawb." Hynny yw, ewyllys Duw oedd i'r holl fyd o Iuddewon a Chenhedloedd gael eu cau i fynu mewn anghrediniaeth, fel trwy hynny y byddai i'w drugaredd ef tu ag attynt fod yn fwy amlwg, ac iachawdwriaeth Crist yn fwy eglur: canys nid llefaru y mae 'r apostol yn unig am anghrediniaeth naturiol ag y mae pobl broffesedig yr Arglwydd yn dueddol iddo fel eraill, ond yr hyn sy'n amlwg ac yn weledig, y fath ag y syrthiodd yr Iudd-

ewon iddo pan y darfu iddynt wrthod Crist yn gyhoeddus. Y mae 'r apostol yn sylwi, y modd yr oedd y Cenhedloedd yn gyntaf wedi eu cau i fynu mewn anghrediniaeth a gwrthwynebrwydd cyhoeddus i wir grefydd cyn dyfodiad Crist, i barottôi 'r ffordd i'w galwad hwy, yr hyn a fu yn fuan wedi ei ddyfodiad ef, fel y byddai trugaredd Duw yn fwy amlwg tu ag attynt hwy; a bwriad ymaith yr Iuddewon o'r eglwys weledig, i barottôi 'r ffordd i'w galwad hwythau, yr hyn a fydd yn y dyddiau diweddaf; fel y gwelo pawb, Iuddewon a Chenhedloedd, mai trwy Grist y maent hwy yn cael eu gwaredu o fod yn ddieithriaid amlwg i wladwriaeth Israel, heb obaith ganddynt, ac heb Dduw yn y byd.

Nis gellir gyda sicrwydd benderfynu ym mha amser yn bendant yr ymadawodd y Cenhedloedd yn hollol oddiwrth y wir grefydd. Eu gwrthgiliad a gymmerth le yn raddol, fel y sylwyd eisoes. Yr ydoedd yn gyffredinol yn amser Abraham, ond nid yn hollol: canys yr ydym yn gweled fod Melchizedec, un o frenhinoedd Canaan, yn offeiriad i'r Duw Goruchaf y pryd hynny. Ac wedi hynny am yspaid fe gadwyd i fynu y wir grefydd, heblaw yn nheulu Jacob, ym mysg eraill o hiliogaeth Abraham; ac hefyd yn rhai o deulu Nachor, am ba rai y mae gennym hanes yn Llyfr Job, ei dri chyfaill ef, ac Elihu. Gwlad Uz, lle yr oedd Job yn byw, oedd y wlad a feddiannwyd gan hiliogaeth Uz, neu Huz mab Nachor, brawd Abraham, am yr hwn yr ydym yn darllen yn *Gen.* 22. 21. Bildad y Suhiad ydoedd un a hiliogaeth Suah, mab Abraham o Ceturah, *Gen.* 25. 1, 2. ac Elihu y Buziad o Buz, mab Nachor, brawd Abraham. Felly fe barhaodd gwir grefydd ym mysg rhai pobl eraill, heblaw yr Israeliaid, am ryw yspaid ar ol amser Abraham, ond nid yn hir: ac y mae 'n debygol eu bod hwy yn cael eu bwrw ymaith, a'u rhoddi i fynu i eilun-addoliaeth, oddeutu yr un amser ag y neilltuodd Duw blant Israel o'r Aipht i'w wasanaethu ef; canys mynych y dygir ar gof iddynt ar yr achlysur hwnnw, fod Duw yn awr wedi eu neilltuo hwy yn bobl briodol iddo ei hun, neu i fod yn wahanedig oddiwrth yr holl bobloedd eraill oedd ar wyneb yr holl ddaear, i fod yn bobl ac yn eiddo iddo ef yn unig, pan yr oedd eraill yn wrthodedig. Ymddengys fod hyn yn arwyddo fod Duw yn awr yn eu dewis hwy yn y fath fodd a bod yn canlyn y dewisiad amlwg a wnaeth efe o honynt hwy wrthodiad amlwg o'r holl genhedloedd eraill yn y byd; a bod Duw yn gwneud ei breswylfod gyda hwy, ac yn bwrw ymaith yr

holl genhedloedd eraill. Ac fel yr oedd yn canlyn galwad cyntaf y Cenhedloedd ar ol dyfodiad Crist, wrthodiad yr Iuddewon; felly yr oedd yn canlyn galwad cyntaf yr Iuddewon i fod yn bobl Dduw, pan y dygwyd hwy allan o'r Aipht, wrthodiad o'r Cenhedloedd.

Yr holl genhedloedd trwy yr holl fyd, oddieithr yr Israeliaid, a'r rhai hynny a ymunodd yn un corph â hwy, a adawyd i eilunaddoliaeth; ac felly y buont hwy am lawer o oesoedd, sef ynghylch pymtheg cant o flynyddoedd. Yr oeddynt wedi eu cau i fynu mewn anghrediniaeth am amser mor faith, fel y byddent yn brawf hollol o'r angenrheidrwydd am Iachawdwr; ac fel yr ymddangosai yn eglur trwy brofiad mor faith, fod dynolryw yn hollol annigonol i'w gwaredu eu hunain o gaethiwed y diafol, y tywyllwch dudew a'r trueni yr oeddynt wedi syrthio iddo; ie, fel yr ymddangosai na allai holl ddoethineb y philosophyddion, a'r doethineb ym mysg y Paganiaid, eu gwaredu o'u tywyllwch, ac y byddai mwy o ogoniant i Iesu Grist, yr hwn pan y daeth a'u goleuodd, ac a'u gwaredodd hwy trwy ei efengyl ogoneddus. Yr oedd doethineb Duw yn ymddangos yn rhyfeddol yn hyn, yn parottôi 'r ffordd yn y modd yma i'r prynedigaeth trwy Grist. Fel hyn y'n haddysgir yn yr ysgrythyr, 1 *Cor*. 1. 21. "Canys o herwydd yn noethineb Duw, nid adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw, fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu."

3. Y peth nesaf a wnawd tu ag at waith mawr y prynedigaeth, oedd rhoddiad y ddeddf foesol gan Dduw mewn dull mor arswydus ar fynydd Sinai. Yr oedd hyn yn beth newydd arall a wnaeth Duw tu ag at y gwaith mawr hwn: *Deut*. 4. 33. "A glybu pobl lais Duw yn llefaru o ganol y tân, fel y clywaist ti, a byw?" Yr ydoedd yn beth mawr, pa un bynnag a wneir ai ei ystyried fel amlygiad o'r cyfammod gweithredoedd, ai ynte yn cael ei rhoddi fel rheol bywyd.

Yma yr oedd y cyfammod gweithredoedd yn cael ei amlygu i fod fel athraw i arwain at Grist; nid yn unig i'r genedl honno yn oesoedd yr Hen Destament, ond y mae yn ddefnyddiol i eglwys Dduw trwy holl oesoedd y byd, fel offeryn ag y mae y Gwaredwr mawr yn ei ddefnyddio i argyhoeddi dynion o'u pechodau a'u trueni, ynghyd â'u cyflwr digymmorth, ac i ddangos ofnadwy ac arswydus fawrhydi a chyfiawnder Duw fel deddfroddwr, ac i ddwyn dynion i deimlad o'r angenrheidrwydd am Grist yn waredwr. Nid ydyw gwaith y prynedigaeth, yn ei

holl gynnydd yn eneidiau y prynedigion, yn cael ei ddwyn ym mlaen heb oruchwyliaeth y ddeddf hon.

Fe'i rhoddwyd mewn modd brawychus, gyda llais arswydus, mor hynod o uchel, fel yr oedd yr holl bobl yn y gwersyll yn dychrynu; a Moses ei hun, er ei fod yn gyfaill mor gymdeithasgar â Duw, etto efe a ddywedodd, "Yr wyf yn ofni ac yn crynu." *Heb.* 12. 21. Y mellt a'r taranau, y mynydd yn llosgi gan dân, a'r ddaear yn ysgwyd ac yn crynu, gyd â'r llais, ydoedd i ddwyn pawb i ystyried pa mor fawr ydyw 'r awdurdod, y gallu, a'r cyfiawnder hwnnw, ag sydd yn gofyn cyflawniad o'r ddeddf hon, a pha mor ofnadwy fydd digofaint Duw yn erbyn y troseddwyr o honi; ac fel y gallai dynion, trwy ystyried y pethau hyn, gael prawf trwyadl o honynt eu hunain, a phrofi eu calonnau, a gwybod pa mor ammhossibl ydyw iddynt gael iachawdwriaeth trwy weithredoedd y ddeddf, a gweled yr hollol angenrheidrwydd y maent yn sefyll yndde am gyfryngwr.

Os na olygwn y ddeddf yn gyfammod o weithredoedd, ond yn rheol bywyd, y mae yn cael ei defnyddio yn y modd hwnnw gan y Gwaredwr, o'r amser hwnnw hyd ddiwedd y byd, fel cyfarwyddyd i'w bobl, i ddangos iddynt y ffordd ym mha un y dylent rodio, os mynnant fyned i'r nefoedd; canys ufudd-dod diffuant a chyffredinol i'r ddeddf hon ydyw y ffordd gul sydd yn arwain i'r bywyd.

4. Y peth nesaf i sylwi arno yn yr amser hwn, ydoedd rhoddiad y deddfau cysgodol gan Dduw, pa rai yr wyf yn tybied oedd yn cynnwys y rhan fwyaf o'r gorchymynion a roddwyd trwy Moses, ag nad oeddynt yn briodol berthynol i'r ddeddf foesol; nid yn unig y deddfau hynny a elwir yn seremoniaidd, pa rai sydd yn pennodi seremoniau ac amgylchiadau yr addoliad Iuddewig, a sefyllfa eglwysig yr Iuddewon, ond hefyd llawer, os nad yr holl ddeddfau gwladol, pa rai ydoedd i lywodraethu y wladwriaeth Iuddewig, ac a elwir yn gyffredin y ddeddf farnol; yr oedd llawer o'r rhai hyn yn gysgodol. Yr oedd rhoddiad y deddfau cysgodol hyn yn beth newydd arall a wnaeth Duw yr amser hwn, ag oedd yn tueddu i adeiladu adeilad ogoneddus y prynedigaeth a ddygwyd ym mlaen o ddechreuad y byd. Yr oedd llawer o ddigwyddiadau cysgodol wedi bod mewn rhagluniaeth o'r blaen, ag oedd yn arddangos Crist a'r prynedigaeth; a rhai ordinhadau cysgodol, yn neillduol y ddwy ordinhad hynny, sef yr aberthau a'r enwaediad: ond yn awr y mae Duw, yn lle arddangos y Gwaredwr mawr mewn ychydig o osodiadau, yn

rhoi allan ddeddf gyflawn, heb ddim arall ynddi ond aneirif wahanol arddangosiadau cysgodol o ddaionus bethau i ddyfod, trwy ba rai yr oedd y genedl honno yn cael eu cyfarwyddo pa fodd i ymddwyn yn eu gweithrediadau crefyddol, bob blwyddyn, mis, a diwrnod; a pha fodd y dylent ymddwyn tu ag attynt eu hunain, a phob peth perthynol i'w sefydliad eglwysig a gwladol; a'r cyfan yn dangos rhywbeth o Grist; un cyflawniad yn dangos un peth, yn amlygu rhyw athrawiaeth, neu ryw fendith; un arall yn dangos peth arall; felly yr holl genedl ydoedd trwy y ddeddf hon, fel pe buasai wedi ei sefydlu mewn sefyllfa gysgodol. Fel hyn yr oedd yr efengyl mewn modd helaeth yn cael ei gosod allan i'r genedl honno; fel braidd nad oes un gangen o'i hathrawiaeth nad ydyw yn cael ei hamlygu mewn modd neillduol trwy ryw gyflawniad o'r ddeddf hon; er mai mewn cysgodau, a than orchudd, fel yr oedd wyneb Moses tan orchudd pan yr ydoedd yn disgleirio.

I'r ddeddf gysgodol hon y perthyn yr holl orchymynion ynghylch adeiladu'r tabernacl, yr hwn a godwyd i fynu yn yr anialwch, ynghyd â'i holl ffurfiau, ei amgylchiadau, a'i ddodrefn.

5. Oddeutu yr amser hwn y rhoddwyd yn gyntaf rannau o air Duw yn ysgrifenedig i fod yn rheol ffydd, addoliad, ac ymarferiad i'r eglwys trwy yr holl oesoedd; ac fe'i hychwanegwyd o amser i amser, hyd oni orphenwyd, a chyflawnwyd canon (neu reol) yr ysgrythyrau sanctaidd gan yr apostol Ioan. Nid ydyw o bwys pa un a ysgrifenwyd gyntaf, ai y deg gorchymyn ar y llechau cerrig gan fys Duw, ai llyfr Job; neu pa un ai gan Moses, fel y tybia rhai, yr ysgrifenwyd llyfr Job, ai gan Elihu, fel y tybia eraill. Os gan Elihu yr ysgrifenwyd y llyfr hwnnw, yr oedd rhannau o'r gair sanctaidd wedi eu hysgrifennu cyn hyn; ond nis gallasai fod ym mhell oddiwrth yr amser hwn, wrth ystyried hiliogaeth pwy oedd y personau y llefarir am danynt ynddo, ynghyd â hir oes Job, yr hon oedd wedi myned heibio pan ysgrifenwyd y llyfr.

Gair ysgrifenedig Duw ydyw y prif offeryn y mae Crist yn gwneud defnydd o hono i ddwyn ym mlaen waith y prynedigaeth trwy 'r holl oesoedd er pan y rhoddwyd ef. Yr oedd angenrheidrwydd yn awr am i air Duw gael ei roddi mewn ysgrifen, fel y byddai yn brawf-reol sefydlog i'r eglwys. Cyn hyn yr oedd yr eglwys yn cael gair Duw trwy draddodiad, naill ai yn ddigyfrwng trwy ddynion enwog ag oedd wedi eu hysprydoli, ag oedd yn fyw y pryd hynny; neu ynte trwy draddodiad oddi-

wrth genhedlaethau o'r blaen, yr hyn a allasid ei gael gyda gradd o sicrwydd mewn oesoedd blaenorol i hon, gan fod dynion yn byw mor hir. Gallasai Noah ymddiddan âg Adda, a derbyn traddodiadau oddi wrtho ef; ac fe fu Noah byw hyd oddeutu amser Abraham; a meibion Jacob a fuont byw gryn amser yn yr Aipht, ac felly yn traddodi i'w hiliogaeth yno y datguddiedigaethau a roddwyd i Abraham, Isaac, a Jacob. Ond yn awr yr oedd meithder yr amser o'r dechreuad gymmaint, ac oes dynion wedi cael ei gwneuthur mor fyrr (a'i dwyn i'r mesur presennol oddeutu amser Moses) ac yn awr yr oedd Duw yn didoli cenedl i fod yn bobl neilltuol, a hynny mewn rhan i'r diben fel y byddai iddynt hwy gadw ei oraclau ef, yr oedd efe yn gweled y pryd hwn yn amser angenrheidiol ac yn gyfleus i roddi ei air mewn ysgrifen, fel y byddai iddo fod trwy yr holl oesoedd. A chan hynny, heblaw llyfr Job, yr hwn a ysgrifenwyd oddeutu y pryd hwn, ysgrifenodd Duw â'i fys ei hun y deg gorchymyn ar lechau cerrig; ac wedi hyn yr holl gyfraith, sef sylwedd yr hyn a gynnwysir ym mhum llyfr Moses, a roddwyd mewn ysgrifen trwy neilltuol orchymyn yr Arglwydd, ac a ddodwyd yn y tabernacl i'w chadw yno er addysg i'r eglwys. *Deut.* 31. 24—26.

6. Y pryd hyn fe welodd Duw yn dda i arddangos mewn modd rhyfedd fynediad ei eglwys trwy y byd i'w hetifeddiaeth dragywyddol, yn nheithiau plant Israel trwy yr anialwch, o'r Aipht i Ganaan. Yma y mae holl amrywiol gamrau 'r prynedigaeth, neu waredigaeth yr eglwys gan Grist, yn cael eu harddangos, o'i ddechreuad hyd ei berffeithiad mewn gogoniant. Y cyflwr y gwaredir y prynedigion o hono, yn eu sefyllfa gaeth hwy yn yr Aipht, a'u caethiwed yno, yr hwn a adawsant. Pwrcasiad eu prynedigaeth oedd yn cael ei arddangos trwy aberthiad yr oen Pasg, yr hwn a offrymwyd y nos y lladdodd Duw holl gyntaf-anedigion yr Aipht. Dechreuad cymmwysiad y prynedigaeth yn Nghrist i'w eglwys mewn dychweliad, oedd yn cael ei arddangos ym mynediad Israel allan o'r Aipht, a'u harweiniad trwy y Môr Coch, mewn modd mor anghyffredinol a gwyrthiol. Taith yr eglwys trwy y byd drwg presennol, a'r amrywiol gyfnewidiadau, trwy ba rai y mae hi yn myned yn ei gwahanol deith-rannau, sydd yn cael eu harddangos yn nhaith yr Israeliaid trwy yr anialwch. Y modd y mae yr eglwys yn cael ei harwain gan Grist, ydoedd yn cael ei arddangos yn arweiniad yr Israeliaid gan y golofn gwmmwl y dydd, a llewyrch tân y nos. Y modd y mae yr eglwys yn cael ei chynnal yn ei myn-

ediad ym mlaen, ac yn cael ei diwallu âg ymborth ysprydol, a beunyddiol gymdeithas â Duw, o ddechreuad hyd ddiweddiad ei thaith, oedd yn cael ei arddangos yn nghynnaliad meibion Israel gan Dduw â bara, neu fanna o'r nef, ac â dwfr o'r graig. Y peryglon y mae 'r saint yn eu cyfarfod yn eu teithiau trwy 'r byd, oeddynt yn cael eu harddangos yn y seirph tanllyd a gyfarfu meibion Israel â hwy yn yr anialwch. Ymladdfeydd yr eglwys â'i gelynion oeddynt yn cael eu harddangos yn eu brwydr â'r Amaleciaid, ac eraill y cyfarfuant â hwy yn eu teithiau. Aneirif bethau o'r fath a ellid eu nodi, ag oedd yn eu cyfarfod, oedd yn gyffelybiaethau bywiog o'r pethau y mae yr eglwys a'r saint yn eu cyfarfod yn holl oesoedd y byd. Fod y pethau hynny yn cysgodi yr hyn a berthynai i'r eglwys Gristionogol, sy'n amlwg oddiwrth 1 *Cor.* 10. 11. "A'r pethau hyn oll a ddigwyddasant yn siamplau iddynt hwy, ac a ysgrifenwyd yn rhybydd i ninnau, ar y rhai y daeth terfynau yr oesoedd." Yma y mae 'r apostol yn llefaru am y pethau y buom yn eu hystyried, ac y mae efe yn dywedyd yn eglur, fod y pethau hynny wedi digwydd yn gysgodau iddynt hwy; canys felly y mae yn yr iaith wreiddiol.

7. Peth arall y mae yn rhaid peidio myned heibio iddo, ydoedd mawr a hynod oruchwyliaeth Rhagluniaeth yn byrhau oes dyn, sef ei dwyn o fod rhwng naw cant a mil o flynyddoedd, i fod ond oddeutu deg a thriugain, neu bedwar ugain mlynedd. Fe ddechreuwyd byrhau oes dyn yn ddioed ar ol y diluw: fe'i byrhawyd i chwe chan mlynedd y genhedlaeth gyntaf; a'r nesaf i rhwng pedwar a phum cant; ac felly oes dyn a gafodd ei byrhau yn raddol, hyd oddeutu yr amser y bu y farwolaeth fawr yn nghynnulleidfa Israel, o herwydd iddynt rwgnach o achos newyddion yr yspïwyr, a'u cyrph hwy a gwympwyd yn yr anialwch, a'r holl ryfelwyr a fuant feirw; a'r pryd hynny fe ddygwyd oes dyn i'r mesur y mae ynddo yn bresennol, fel y mae Moses yn sylwi yn y Salm a ysgrifenodd efe ar yr achlysur hynny: *Ps.* 90. 10. "Yn nyddiau ein blynyddoedd y mae deng mlynedd a thriugain: ac os o gryfder y cyrhaeddir pedwar ugain mlynedd, etto eu nerth sydd boen a blinder; canys ebrwydd y derfydd, a ni a ehedwn ymaith."

Yr oruchwyliaeth fawr hon oedd yn gweinyddu i'r diben goruchel hwn, sef y prynedigaeth. Y mae bod oes dyn yn cael ei thorri mor fyrr yn y byd hwn, yn parottoi ffordd i farwolion tlodion, sef dynion byrr eu hoes, i groesawu y newyddion da

am fywyd tragywyddol yn y byd arall gyda mwy o lawenydd; ac yn eu hannog i fod yn fwy parod i gofleidio 'r Iachawdwr, yr hwn a bwrcasodd, ac sydd yn cynnyg y fath fendith iddynt. Pe buasai oes dynion yn gyffredin oddeutu naw can mlynedd yn barhaus, pa faint llai o annogaeth a fuasai iddynt i barchu cynnygiad o fywyd dyfodol; pa faint mwy hudoliaethus a fuasai iddynt i ymorphwys ym mhethau y byd hwn, ac i esgeuluso ymofyn am unrhyw fywyd arall heblaw hwn, gan y buasai y bywyd hwn mor hir? Ac y mae yn debygol fod oes mor hir yn fawr gefnogaeth i annuwioldeb y cyn-ddiluwiaid. Ond pa faint mwy annogaethol ydyw i ddynion i ymofyn gwaredigaeth, a gwell bywyd na hwn, trwy y Prynwr mawr, er pan nad ydyw oes dyn y ddeuddegfed ran o'r peth a fu; gan fod dyn yn marw yn awr, yn gyffredin, mewn oedran pan nad oedd dynion, yn yr amseroedd gynt, ond megis pe buasent yn dechreu byw yn y byd?

8. Yr un gwaith oedd yn cael ei ddwyn ym mlaen yn nghadwraeth y bobl hynny, o ba rai yr oedd Crist i ddyfod, rhag hollol ddarfod am danynt yn yr anialwch, trwy wyrth barhaus am yspaid deugain mlynedd. Sylwais o'r blaen amryw weithiau, y modd y cadwodd Duw yn dra hynod y rhai yr oedd y Gwaredwr i ddyfod o honynt: ond yr oedd cadwraeth meibion Israel am amser mor faith yn yr anialwch, ar ryw gyfrifon, yn fwy hynod nag yr un o honynt. Yr oedd y gynnulleidfa honno yn cynnwys, fel y gellir barnu, ynghylch dau can myrddiwn o bobl ar y cyntaf, pa rai y buasai raid iddynt drengu mewn llai na mis o amser, pe na buasent yn cael eu cynnal mewn modd gwyrthiol. Ond etto y lluaws mawr hynny a gynnaliwyd ddeugain mlynedd mewn anialwch sych diffrwyth, heb lafurio, na hau na medi, a'u bara yn cael ei wlawio iddynt yn feunyddiol i lawr o'r nefoedd, a'u diwallu hwy oll hyd ddigon â dwfr o'r graig; a'r un gwisgoedd ag oedd ganddynt yn myned allan o'r Aipht, yn parhau heb dreulio ymaith yr holl amser hynny. *Deut.* 8. 4. Ni bu erioed hanes cyffelyb i hwn am un genedl yn cael ei chynnal yn y fath fodd.

9. Fe welodd Duw yn dda, yn yr yspaid hwn o amser, i roddi datguddiad amlyccach o Grist y Prynwr nag a roddasai efe erioed o'r blaen. Myfi a sylwaf ar dair prophwydoliaeth a roddwyd y pryd hyn. Y gyntaf ydyw un Balaam. *Num.* 24. 17, 18, 19. "Gwelaf ef, ac nid yr awr hon; edrychaf arno, ond nid o agos: daw seren o Jacob, a chyfyd teyrn-wialen o Israel, ac a ddryllia gonglau Moab, ac a ddinystria holl feibion

Seth. Ac Edom a feddiennir, Seir hefyd a berchenogir gan ei elynion; ac Israel a wna rymmusder. Ac arglwyddiaetha un o Jacob, ac a ddinystria y gweddill o'r ddinas.'* Yr oedd hon yn eglurach prophwydoliaeth am Grist nag yr un a fuasai o'r blaen, yn neillduol mewn perthynas i'w swydd frenhinol ef. Ond y mae gennym un arall, a roddodd Duw trwy Moses, yr hon sydd eglurach etto, ac yn cyfeirio yn neillduol at ei swydd ef fel Prophwyd. *Deut.* 18. 18. "Codaf Brophwyd iddynt o fysg eu brodyr, fel tithau, a rhoddaf fy ngeiriau yn ei enau ef; ac efe a lefara wrthynt yr hyn oll a orchymynwyf iddo." Yr oedd hon yn eglurach prophwydoliaeth am Grist nag yr un a fuasai o'r blaen, o'r ystyr yma, gan fod yr holl brophwydoliaethau blaenorol mewn iaith ddirgelaidd, gyffelybiaethol. Y gyntaf ydoedd, "y byddai i had y wraig ysigo pen y sarph." Yr addewidion a roddwyd i Abraham, Isaac, a Jacob, "Mai yn eu had hwy y bendithid holl deuluoedd y ddaear,"—prophwydoliaeth Jacob ym mendith Judah, a'r hyn a ddywedodd Balaam am Grist dan gyffelybiaeth seren—oeddynt oll yn gyffiniol a dirgelaidd. Ond y mae hon yn eglur ac yn llythyrenol.

Y mae amrywiol bethau yn gynnwysedig yn y brophwydoliaeth hon am Grist, a'i swydd gyfryngol, *adn.* 16. Yma y datguddir y byddai iddo fod yn ŵr canol rhwng Duw a dynion. Bôd ag sydd yn meddu y fath fawreddig fawrhydi, sancteiddrwydd, a chyfiawnder, fel na's gallent hwy ddyfod atto yn ddigyfrwng; na mwynhau cymdeithas âg ef, heb gyfryngwr i sefyll rhyngddynt: a phe buasent yn agoshau yn ddigyfrwng at un mor ofnadwy a dialgar am bechod ag ydyw Duw, buasent yn meirw; buasai efe "yn dân ysol" iddynt. Y mae yma hefyd ddatguddiad neillduol o Grist mewn perthynas i'w swydd fel Prophwyd: "Codaf brophwyd iddynt o fysg eu brodyr, fel tithau." Yma y datguddir pa fath brophwyd a fyddai efe, sef un cyffelyb i Moses, yr hwn ydoedd yn bennaeth ac yn arweinydd i'r holl bobl; a'r hwn, yn llaw Duw, a fuasai yn waredwr iddynt, i'w dwyn allan o dŷ y caethiwed, yr hwn oedd fel pe buasai eu bugail, a Duw trwyddo yn eu harwain hwy trwy y Môr Coch a'r anialwch, ac yr oedd efe yn eiriolwr trostynt hwy

* Fe gyflawnwyd y brophwydoliaeth hon mewn rhan gan Dafydd, yr hwn a ddarostyngodd y Moabiaid, ac a osododd amddiffynfeydd trwy holl wlad Edom. 2 *Sam.* 8. 2, 14. 1 *Bren.* 11. 15, 16. Ond mewn modd mwy nodedig gan Grist. *Esa.* 11. 6. *Amos* 5. 25, 26.

gyda Duw, ac yn brophwyd a brenhin yn y gynnulleidfa: canys yr oedd Moses yn meddu awdurdod brenhin yn eu mysg hwy. *Deut*. 33. 5. Efe hefyd ydoedd y prophwyd trwy yr hwn yr oedd Duw yn adeiladu ei eglwys, ac yn traddodi iddi addysgiadau ynghylch ei addoliad. Fel hyn yr oedd Crist i fod yn brophwyd cyffelyb i Moses; felly mae y brophwydoliaeth hon y gyflawnaf a'r egluraf am Grist o'r cwbl a fuasai er dechreuad y byd hyd yr amser hwn.

Y brophwydoliaeth nesaf i sylwi arni, ydyw yr un sydd yn perthynu i alwad y cenhedloedd, yr hyn oedd i gymmeryd lle ar ol dyfodiad Crist, am yr hyn y mae Duw yn rhoddi prophwydoliaeth hynod o eglur trwy Moses yn yr anialwch. *Deut*. 33. 21. Hwy a yrrasant Dduw i eiddigedd â'r peth nid oedd Dduw, trwy ei fwrw ef ymaith, a chymmeryd duwiau eraill, y rhai nid oeddynt dduwiau, yn ei le ef. Felly y mae Duw yn datgan y gyrrai yntau hwythau i eiddigedd yr un modd, trwy eu bwrw ymaith, a chymmeryd pobl eraill, y rhai nad oeddynt yn bobl iddo, yn eu lle hwy. Y mae yr apostol Paul yn gwneud sylw ar y brophwydoliaeth hon, megis yn rhagfynegi galwad y cenhedloedd, *Rhuf*. 10. 19, 20. "Eithr meddaf, Oni wybu Israel? Yn gyntaf, y mae Moses yn dywedyd, Mi a baraf i chwi wynfydu trwy rai nid yw genedl; trwy genedl anneallus y'ch digiaf chwi. Eithr y mae Esaias yn ymhyfhau, ac yn dywedyd, Cafwyd fi gan y rhai nid oeddynt yn fy ngheisio; a gwnaed fi yn eglur i'r rhai nid oeddynt yn ymofyn am danaf." Fel hyn y gwelwch y modd yr oedd goleuni yr efengyl, yr hwn yn gyntaf a ddechreuodd dywynnu yn ddioed ar ol y cwymp, yn cynnyddu, yn raddol, pa agosaf yr ydym yn dyfod at amser Crist.

10. Peth arall, trwy yr hyn y dygodd Duw ei waith ymmlaen yr amser hwn, ydoedd y tywalltiad nodedig o'r Yspryd a fu ar y genedl ieuangc yn yr anialwch. Yr oedd y genedl ag oedd wedi tyfu i fynu pan y daethant allan o'r Aipht, sef y rhai o ugain mlwydd ac uchod, yn hynod o gyndyn a gŵyr-draws. Yr oeddynt wedi eu halogi âg eilun-addoliaeth ac annuwioldeb yr Aipht, ac heb eu diddyfnu oddi wrtho, fel y mae'r prophwyd yn sylwi, *Ezec*. 20. 6, 7, 8. Ac oddiwrth hynny y gwnaethant y llo aur, i ddynwared eilun-addoliaeth yr Aiphtiaid, pa rai oeddynt yn arfer addoli tarw neu ŷch; ac oblegid hynny y gelwir anifeiliaid yn "ffieidd-dra yr Aiphtiaid," hynny yw, eu heilunod. *Exod*. 8. 26. Yr oedd yr Arglwydd wedi digio yn fawr wrth y

genhedlaeth honno, fel y tyngodd efe yn ei lid, na chaent fyned i mewn i'w orphwysfa ef. Ond nid oedd y genhedlaeth ieuengaf yn debyg i'r rhai hynny; sef y rhai oedd dan ugain mlwydd oed yn myned allan o'r Aipht, a'r rhai a anwyd yn yr anialwch, y genhedlaeth y llefarir am dani yn *Num.* 14, 31. "Ond eich plant chwi, y rhai y dywedasoch chwi y byddent yn yspail, hwynthwy a ddygaf i'r wlad, a hwy a gânt adnabod y tir a ddirmygasoch chwi." Hon oedd y genhedlaeth, â pha un yr adnewyddwyd y cyfammod (am yr hyn y mae gennym hanes yn Llyfr Deuteronomium) ac a aeth i mewn i wlad Canaan. Fe welodd Duw yn dda wneud y rhai hyn yn genhedlaeth i'w glod; ac yr oeddynt yn rhai enwog mewn duwioldeb, fel yr ymddengys oddiwrth amryw bethau a ddywedir am danynt yn yr ysgrythyr, yn neilltuol *Jer.* 2. 2, 3. "Cofiais di, caredigrwydd dy ieuengctid, a serch dy ddyweddi, pan y'm canlynaist yn y diffaethwch, mewn tir ni hauwyd. Israel ydoedd sancteiddrwydd i'r Arglwydd, a blaen-ffrwyth ei gnwd ef." Yma y rhoddir canmoliaeth uchel i'r genedl a aeth ar ol yr Arglwydd yn yr anialwch, fel rhai enwog mewn sancteiddrwydd: "Israel ydoedd sancteiddrwydd i'r Arglwydd, a blaen-ffrwyth ei gnwd ef." A'u cariad at Dduw a ddynodir yn gyffelyb i gariad priodas-ferch yn amser ei dyweddïad. Nid mynediad meibion Israel allan o'r Aipht i anialwch Sina ydyw y mynediad ar ol yr Arglwydd y sonir am dano yma, ond eu mynediad ar ol yr Arglwydd trwy yr anialwch gwag erchyll, yn yr hwn y bu y gynnulleidfa yn hir grwydro, wedi iddynt ddychwelyd yn ol o Cades-Barnea. *Deut.* 8. 15. "Yr hwn a'th dywysodd di trwy yr anialwch mawr ac ofnadwy, lle yr ydoedd seirph tanllyd, ac ysgorpionau, a syched lle nid oedd dwfr." Er fod y genhedlaeth hon wedi cael mwy o lawer o brofedigaethau nag a gawsai eu tadau cyn iddynt ddyfod i Cades-Barnea, etto, ni ddarfu iddynt, mewn un modd, rwgnach yn erbyn Duw, fel y darfu i'w tadau: ond fe gafodd eu profedigaethau effeithiau gwahanol arnynt hwy, sef eu deffroi, eu hargyhoeddi, a'u darostwng, a'u haddasu i dderbyn trugaredd fawr. Fe'u deffrowyd hwy trwy y barnedigaethau dychrynllyd a oddiweddodd eu tadau pan syrthiodd eu cyrph yn y diffaethwch. Gyd â'r rhagluniaethau deffrous hynny tu ag at eu tadau, a'u taith hwythau yn yr anialwch, fe dywalltodd Duw ei Yspryd arnynt, ac yr oedd y gair yn cael ei bregethu iddynt gan Moses; trwy y pethau hyn fe'u dygwyd i weled drygioni eu calonnau, a hwy a ddarostyngwyd, ac o'r diwedd

lluaws o honynt a ddychwelwyd yn achubol; *Deut.* 8. 2. "A chofio yr holl ffordd yr arweiniodd yr Arglwydd dy Dduw di ynddi y deugain mlynedd hyn, trwy yr anialwch, er mwyn dy gystuddio di, gan dy brofi, i wybod yr hyn oedd yn dy galon, a gedwit ti ei orchymynion ef, ai na's cedwit." Ac yn *adn.* 15. a 16. "Yr hwn a'th dywysodd di trwy yr anialwch mawr ac ofnadwy,—er dy ddarostwng, ac er dy brofi di, i wneuthur daioni i ti yn dy ddiwedd." A chan hynny y dywedir yn *Hos.* 13. 5. "Mi a'th adnabum yn y diffaethwch, yn nhir sychder mawr." Yr oedd Duw yn eu denu hwynt, ac yn eu dwyn i'r anialwch, ac yno yn llefaru wrth fodd eu calon hwy, megis ag y rhagfynegwyd y gwnai efe wedi hynny. *Hos.* 2. 16.

Y barnedigaethau dychrynllyd hynny a gyflawnwyd yn y gynnulleidfa, yn achos Corah a Peor, ar ol iddynt droi yn ol o Cades-Barnea, oeddynt yn bennaf ar yr hen genhedlaeth, pa rai a ddistrywiodd Duw yn yr anialwch. Y gwrthryfeloedd hynny oeddynt yn bennaf ym mysg henuriaid y gynnulleidfa, pa rai oedd Duw wedi eu rhoi i fynu i chwantau eu calonnau; y rhai a rodiasant yn ol eu cyngherion eu hunain, a Duw a gafodd ei ofidio â'u hymddygiadau hwy ddeugain mlynedd yn yr anialwch.

Ond yr oedd y gynnulleidfa ieuengaf hon yn rhai enwog mewn duwioldeb, fel yr ymddengys oddiwrth eu holl hanes. Y genhedlaeth o'r blaen oeddynt yn annuwiol, a melldithion a'u canlynodd hwynt; ond yr oedd y rhai hyn yn sanctaidd, a bendithion rhyfeddol a'u canlynodd hwynt. Duw a wnaeth bethau mawrion erddynt; efe a'u ceisiodd hwynt, ac a roddodd iddynt feddiant yn ngwlad Canaan. Arfer Duw ydyw, pan y byddo efe am roddi rhyw drugaredd neillduol i unrhyw bobl mewn modd amlwg, yn gyntaf, eu haddasu hwy i'w derbyn, ac yna ei chyfrannu iddynt. Felly yr ydoedd yma, hwy a gredasant yn Nuw, a thrwy ffydd gorchfygasant Sehon ac Og, a chawri Canaan; ac fe'i canmolir hwy am hynny wrth yr Arglwydd. Y mae Josuah yn dywedyd wrthynt, *Jos.* 23. 8. "Glynwch wrth yr Arglwydd eich Duw, fel y gwnaethoch hyd y dydd hwn:" ac felly y gwnaeth Israel tra bu yr holl genhedlaeth honno byw. Ond wedi marw Josuah, a'r holl rai hynny ag oedd yn cyd-oesi âg ef, fe gododd cenhedlaeth arall, yr hon nad oedd yn adnabod yr Arglwydd. Ond y genhedlaeth dduwiol hon a ddangosodd lawer o zel gwresog a chanmoladwy tros Dduw mewn amryw bethau; megis ar achlysur pechod Achan, ond yn neillduol pan y tybiasant fod y ddau lwyth a hanner

wedi codi i fynu allor mewn gwrthwynebrwydd i allor y poeth-offrwm. Ni bu erioed un genhedlaeth o Israel â chymmaint o ddaioni ynddi, a chyn lleied o sôn am ei drwg a hon. Y mae i sylwi arno ym mhellach, mai yn amser y genhedlaeth hon y bu yr ail enwaediad cyffredinol, trwy yr hyn y cyflawn fwriwyd ymaith waradwydd Israel, a hwy a lanhawyd; ac wedi hynny, pan halogwyd hwy trwy bechod Achan, hwy a ymlanhasant. *Jos.* 7. 19,—26.

Yr oedd dynion y genhedlaeth o'r blaen wedi meirw, a Duw a sancteiddiodd hon iddo ei hun, ac efe a adnewyddodd ei gyf-ammod â hwy mewn modd arbennig, fel yr ydym yn cael hanes neillduol yn *Deut.* xxix. Yr ydym yn gweled fod yn canlyn tywalltiadau nodedig o'r Yspryd yn gyffredinol, y fath adnewydd-iadau o'r cyfammod; felly y gwelwn yr ydoedd yn amser Heseciah a Josiah. Ond y mae yn beth i'w betruso pa un a fu crefydd erioed mor flodeuog yn eglwys yr Israeliaid, ag ydoedd yn y genhedlaeth honno; megis ag yr oedd crefydd yn yr amgylch-iadau mwyaf blodeuog yn yr eglwys Gristionogol, yn nydd ei dyweddiad, yn amser yr apostolion, felly yr ymddengys fod yr eglwys Iuddewig yn ei sefydliad cyntaf, yn amser Moses a Josuah.

Fel hyn fe ddarfu i Dduw yr amser hwn, ddwyn ym mlaen yn ogoneddus waith y prynedigaeth, trwy ei air a'i Yspryd. Trwy y tywalltiad hwn o'r Yspryd, fe ddygwyd y gwaith yma ym mlaen, am yr hwn yr ydys yn sôn, nid yn unig fel yr oedd ynddo ei hun yn brawf gogoneddus o'r cymmwysiad o hono, ond hefyd fel yr oedd hyn yn beth y gwnaeth Duw ddefnydd o hono, fel moddion i sefydlu eglwys Israel, ar ei dechreuad cyntaf, pan sefydlwyd hi yn ngwlad Canaan, i ymarfer yn rhe-olaidd â'i ordinhadau ef: megis ag yr oedd y tywalltiad o'r Ys-pryd, ar ddechreuad yr eglwys Gristionogol, yn foddion neill-tuol ag yr oedd Duw yn gwneud defnydd o hono, er iawn sef-ydlu yr eglwys trwy holl oesoedd y byd.

11. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno, yw arweiniad Israel gan Dduw trwy law Josuah, a'u sefydlu yn y wlad yr oedd Crist i gael eni ynddi, yr hon oedd yn gysgod o'r Canaan nefol a bwr-casodd Crist. Hyn a wnawd trwy Josuah, yr hwn oedd o hil-iogaeth Joseph, ac yr oedd efe (sef Joseph) yn gysgod enwog o Grist, ac oblegid hynny gelwir ef y bugail, a maen Israel, ym mendith Jacob i'w fab Joseph. *Gen.* 49. 24. Yr oedd Josuah hefyd yn gysgod o Grist; yr oedd o'r un enw âg ef. Josuah

a Iesu ydynt yr un enw, ond fod y naill yn Hebraeg a'r llall yn Groeg; am hynny, y gelwir Josuah yn Iesu yn y Testament Newydd, yr hwn yn wreiddiol a ysgrifenwyd yn Groeg: "Yr hwn a ddarfu i'n tadau ni ei gymmeryd, a'i ddwyn i mewn gyd âg Iesu." *Act.* 7. 45. "Canys pe dygasai Jesus (neu Josuah) hwynt i orphwysfa, ni soniasai efe ar ol hynny am ddiwrnod arall." *Heb.* 4. 8.

Duw a roes feddiant i'w bobl yn ngwlad yr addewid mewn modd rhyfeddol, gan orchfygu y cawri galluog, a'r trigolion oedd ynddi o'u blaen, yr un modd ag y gorchfygodd Crist y diafol; yn gyntaf, efe a ddarostyngodd y brenhinoedd galluog hynny, ag oedd yn yr ochr ddwyreiniol i'r Iorddonen o'r tir addawedig, Sehon brenhin yr Amoriaid, ac Og brenhin Basan; ac yna agoryd afon yr Iorddonen o'u blaen hwy, yr un modd ag yr agorasai efe y Môr Coch iddynt o'r blaen; a pheri i gaerau Jericho syrthio i lawr trwy sain udgyrn yr offeiriaid; (yr hyn oedd yn cysgodi sain yr efengyl, trwy bregethiad ei gweinidogion, a chaerau Jericho felldigedig, sef teyrnas Satan, yn syrthio) ac wedi hynny mewn modd rhyfeddol yn dinystrio llu galluog yr Amoriaid, dan eu pum brenhin, ac yn peri i'r haul a'r lleuad i sefyll yn llonydd trwy weddi yr Iesu cysgodol, i gynnorthwyo y bobl i ddial ar eu gelynion. *Jos.* 10. 12. Y fath bethau yn arwyddo yn eglur, fod Duw yn gwneuthur holl redfa natur yn wasanaethgar i waith y prynedigaeth, fel megis y gorfyddai i bob peth ymostwng i'r bwriadau perthynol i'r gwaith hwn, a rhoi lle i lwyddiant pobl waredol yr Arglwydd.

Fel hyn y dangosodd Crist ei fawr gariad tu ag at ei etholedigion, fel y darfu iddo wneuthur i yrfa natur roddi lle i'w dedwyddwch a'u llwyddiant: efe a ddangosodd fod yr haul a'r lleuad, a phob peth, gweledig ac anweledig, yn eiddo iddynt, trwy ei bwrcasiad ef. Ar yr un pryd, Crist a ymladdodd trostynt, fel cadpen eu llu, ac a fwriodd genllysg mawrion i lawr ar eu gelynion, yr hyn a laddodd fwy o honynt na chleddyf meibion Israel. Ac wedi hyn efe a roddodd i'r bobl fuddugoliaeth alluog ar fyddin fwy etto, yn y rhan ogleddol o'r wlad, pa rai oedd wedi ymgasglu ynghyd, fel y tywod ar lân y môr o ran amldra, wrth ddyfroedd Merom. *Jos.* 11. 4.

12. Peth arall a wnaeth Duw tu ag at ddwyn ym mlaen y gwaith hwn, oedd gosod i fynu ei addoliad i fod yn sefydlog ym mysg y bobl, megis yr ydoedd wedi ei osod i fynu o'r blaen yn yr anialwch. Yr addoliad yma a drefnwyd o'r blaen yn yr an-

ialwch i fod yn hollol wasanaethgar i waith y prynedigaeth; yr ydoedd i wneud ffordd i ddyfodiad Crist; a'r aneirif ddefodau perthynol iddo, oeddynt gysgodau o hono ef, a'r prynedigaeth. Yr addoliad yma a sefydlwyd yn bennaf yn mynydd Sinai, ond a ddygwyd yn raddol i ymarferiad. Fe'i codwyd i fynu mewn rhan yn yr anialwch, lle y gwnawd y tabernacl a'i lestri; ond yr oedd llawer o rannau o'r addoliad gosodedig hwn, na's gallasid eu rhoddi mewn ymarferiad yn yr anialwch, o herwydd eu sefyllfa ansefydlog a theithiol hwy yno; canys yr oedd yn cynnwys llawer o orchymynion ag oedd yn perthynu i wlad Canaan, eu dinasoedd a'u trigfannau hwy yno; gan hynny ni's gallasid rhoddi y fath mewn ymarferiad hyd oni ddaethant i'r wlad. Ond yn awr, wedi i hynny gael ei ddwyn i ben, efe a osododd ei dabernacl ym mysg ei bobl, fel yr addawsai, "Rhoddaf hefyd fy nhabernacl yn eich mysg." *Lef.* 26. 11. Pabell y cyfarfod a osodwyd i fynu yn Siloh, *Jos.* 18. 1. a'r Offeiriaid a'r Lefiaid a gawsant eu swyddau wedi eu trefnu, a'r dinasoedd noddfa oedd wedi eu pennodi; ac yn awr yr oedd y bobl mewn sefyllfa ag y gallent gadw eu gwyliau gosodedig, o flaen-ffrwythau a chasgliadau i mewn, a dwyn eu holl ddegymmau ac offrymmau i'r Arglwydd; a'r rhannau pennaf o addoliad Duw oedd yn awr mewn ymarferiad, er fod rhyw bethau nac ymarferwyd â hwy tan ar ol hynny.

13. Y peth nesaf y sylwaf arno yw, i Dduw mewn modd rhyfeddol gadw yr Israeliaid, o'r amser hwn allan, rhag niweid oddiwrth eu gelynion, pan y byddai yr holl wrrywiaid yn myned i'r lle y byddai yr arch, i addoli dair gwaith yn y flwyddyn. Y bobl oedd wedi eu hamgylchu yn gyffredinol â gelynion, ag oedd yn chwilio am bob cyfleusdra i'w dinystrio, a'u difeddiannu o'u tir; ac hyd amser Dafydd yr oedd lluaws mawr o weddill y Canaaneaid yn preswylio yn y wlad, ac eraill o'i hen drigolion, pa rai oeddynt yn elynion chwerw i Israel: ac yn meddu cyfleusdra têg dair gwaith yn y flwyddyn, a hynny bob blwyddyn, i redeg trwy y wlad, a chymmeryd meddiant yn eu dinasoedd hwy, pan y byddai yr holl wrrywiaid yn absennol, a neb ond y gwragedd yn unig, a'r rhai hynny ag oedd yn analluog i fyned wedi aros ar ol: etto fe'u cadwyd hwy mewn modd nodedig trwy yr holl genhedlaethau hynny ar y fath amserau, yn ol yr addewid honno a roddasai yr Arglwydd, *Exod.* 34. 24. "Ac ni chwennych neb dy dir di, pan elych i fynu i ymddangos ger bron yr Arglwydd dy Dduw, dair gwaith yn y flwyddyn." Mor rhyfeddol

y trefnodd Duw bethau, ac y gweithredodd ar galonnau eu gelynion, pa rai, er eu bod yn llawn gelyniaeth tu ag at Israel, ac yn deisyf gymmaint eu difeddiannu o'u tir, ac yn cael mynych gyfleusderau i hynny; etto nid ydym yn darllen, yn eu holl hanes, fod eu gelynion yn cymmeryd y fantais i ddefnyddio y cyfleusderau hynny yn eu herbyn. Yr oedd hyn yn sicr yn oruchwyliaeth ryfeddol o eiddo Rhagluniaeth, i gynnal a dwyn ym mlaen ddiben mawr Duw, sef y prynedigaeth.

14. Fod Duw yn cadw ei eglwys a gwir grefydd rhag hollol ddiffoddi, trwy fynych wrthgiliadau yr Israeliaid yn amser y Barnwyr. Pa mor dueddol oedd y bobl i wrthod y gwir Dduw, yr hwn a wnaethai y fath bethau rhyfedd erddynt, a throi at eilunod! A'r tir a fu, o amser i amser, fel pe buasai wedi ei orlifo gan eilun-addoliaeth. Ond etto ni oddefodd Duw erioed i'w wir addoliad gael ei hollol ddiwreiddio: ei dabernacl ef oedd yn sefyll i fynu, yr arch yn cael ei gadw, llyfr y gyfraith yn ddiogel heb ei ddistrywio, yr offeiriadaeth yn cael ei chynnal; ac yr oedd gan Dduw, y naill amser ar ol y llall, yn wastadol eglwys ym mysg y bobl; a phan y byddai gwir grefydd yn y perygl mwyaf i golli yn eu plith hwy, Duw a roi adfywiad arni, ac efe a anfonai ryw angel, neu efe a gyfodai ryw un enwog, i'w diwygio.

15. Fod Duw yn cadw ac yn diogelu y genedl honno rhag cael eu distrywio, ac yn eu gwaredu o amser i amser, er eu bod mor fynych yn cael eu darostwng tan arglwyddiaeth eu gelynion. Y mae yn rhyfeddod, nid yn unig fod gwir grefydd heb ei hollol ddiwreiddio, ac hefyd yr eglwys heb ei chwbl ddinystrio; ond fod y genedl, ym mha un yr oedd yr eglwys, heb gael ei hollol ddinystrio. Un tro y darostyngwyd hwy gan Cusanrusathaim brenhin Mesopotamia, bryd arall gan y Moabiaid; a hwy a werthwyd i law Jabin brenhin Canaan; ac a ddygwyd dan lywodraeth y Midianiaid; cystuddiwyd hwy yn ddirfawr gan feibion Ammon, ac wedi hynny gan y Philistiaid. Ond etto, yn yr holl beryglon hyn, Duw a'u cadwodd hwy rhag cael eu hollol ddadymchwelyd; ac o amser i amser, pan y deuai syfyngdra arnynt, ac y byddent ar derfyn dinystr, Duw a gyfodai waredwr iddynt, *Deut.* 32. 36. "Canys yr Arglwydd a farna ei bobl, ac a edifarhâ am ei weision; pan welo ymadaw o'u nerth, ac nad oes na gwarchaëedig, na gweddilledig." Y mae y goruchwyliaethau nodedig hyn o eiddo rhagluniaeth tu ag attynt yn cael eu gosod allan mewn modd bywiog ac eglur yn *Ps.* 106.

Y gwaredwyr a gododd Duw iddynt, o bryd i bryd, oeddynt oll yn gysgodau o Grist, Gwaredwr mawr ei eglwys; a rhai o honynt yn hynod o nodedig; yn neillduol, megis Baruch, Jephtha, Gideon, a Samson, pa rai oeddynt, mewn llawer o bethau, yn cysgodi Crist; yn neillduol gweithredoedd Samson, fel y gellid dangos, pe na bai hynny yn cymmeryd gormod o amser.

16. Y mae 'n beth i sylwi arno, pan y byddai Crist yn dyfod i arolygu achos ei eglwys yn yr amseroedd hynny, byddai yn fynych yn ymddangos yn ffurf y natur a gymmerodd arno yn ei gnawdoliaeth. Y mae yn debygol mai felly yr ymddangosodd efe i Moses y naill amser ar ol y llall, ac yn neillduol yr amser hwnnw pan y dywedir fod Duw yn llefaru wrtho ef wyneb yn wyneb, fel y llefara gwr wrth ei gyfaill, ac efe a welodd yr Arglwydd mewn gweledìad, *Num.* 12. 8. wedi iddo erfyn arno ddangos iddo ei ogoniant; y weledigaeth hon oedd yr amlygrwydd mwyaf hynod o Grist o'r un a gafodd efe. Fe gafodd Moses ddatguddiad deublyg o Grist: un yn ysprydol, pan y cyhoeddodd efe ei enw, "A'r Arglwydd a aeth heibio o'i flaen ef, ac a lefodd, Jehofah, Jehofah, y Duw trugarog a graslawn, hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd; yr hwn sydd yn cadw trugaredd i filoedd, gan faddeu anwiredd, a chamwedd, a phechod, a heb gyfrif yr anwir yn gyfiawn; yr hwn a ymwel âg anwiredd y tadau ar y plant, ac ar blant y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth." *Exod.* 34. 6, &c. Un arall yn allanol; pan y gosododd efe ef yn agen y graig, ac yr aeth heibio, gan ei orchuddio ef â'i law, ac felly Moses a gafodd olwg ar ei du cefn ef. Y peth a welodd efe, yn ddiammheuol, ydoedd y tu cefn i'r ffurf ddynol ogoneddus, yn yr hon yr ymddangosodd Crist iddo, a chyda phob tebygolrwydd ffurf y natur ddynol wedi ei gogoneddu, yn yr hon yr ymddangosodd efe wedi hynny. Ni's gwelodd efe ei wyneb ef; canys ni's gellir tybied y gallasai un dyn ymgynnal dan yr olwg ar natur ddynol Crist fel yr oedd yn awr yn ymddangos.

Ac felly mewn gwedd ddynol yr ymddangosodd Crist i'r deng henuriad a thriugain. *Exod.* 24. 9,—11. "Yna yr aeth Moses i fynu, ac Aaron, Nadab ac Abihu, a deg a thriugain o henuriaid Israel. A gwelsant Dduw Israel; a than ei draed megis gwaith o faen Saphir, ac fel corph y nefoedd o ddisgleirdeb. Ac ni roddes ei law ar bendefigion meibion Israel; ond gwelsant Dduw, a bwyttasant ac yfasant." Felly Crist a ymddangosodd wedi hynny i Josuah mewn ffurf ddynol. *Jos.* 5.

13, 14. "A phan oedd Josuah wrth Jericho, yna efe a ddyrchafodd ei lygaid, ac a edrychodd; ac wele, ŵr yn sefyll gyferbyn âg ef, â'i gleddyf noeth yn ei law. A Josuah a aeth atto ef, ac a ddywedodd wrtho, Ai gyda ni yr ydwyt ti, ai gyd â'n gwrthwynebwyr? Dywedodd yntau, Nagê; eithr yn dywysog llu yr Arglwydd yn awr y daethum." Ac efe a ymddangosodd yr un wedd i Gideon, ac hefyd i Manoah. *Barn.* 6. 11. a 13. 17. Crist a ymddangosodd i Manoah mewn arddangosiad o'i gnawdoliaeth a'i farwolaeth; ei gnawdoliaeth oedd yn cael ei harddangos trwy iddo ymddangos mewn gwedd ddynol; a'i farwolaeth, trwy ei esgyniad i fynu yn fflam yr aberth; yr oedd efe trwy hynny yn dangos, mai efe ydoedd yr aberth mawr a offrymmid i fynu yn nhân digofaint Duw, yn arogl peraidd, fel yr oedd y mŷn hwnnw yn cael ei losgi, ac yn esgyn i fynu yn y fflam. Fel hyn Crist a ymddangosodd, y naill amser ar ol y llall, yn ffurf y natur a wisgodd, neu a gymmerodd efe wedi hynny; oblegid ei fod efe yn awr yn dyfod ar yr un diben, ac i ddwyn ym mlaen yr un gwaith ag a orphenodd efe yn y natur honno.

17. Peth arall y gwnaf sylw arno, a wnaed yr amser hwn tu ag at waith y prynedigaeth, ydyw dechreuad olynol ddilyniad o brophwydi, a chodi ysgol i'r prophwydi yn amser Samuel. Yr oedd rhyw faint o yspryd prophwydoliaeth wedi aros yn Israel ar ol dyddiau Moses, a chyn amser Samuel. Yr oedd Josuah, ac amryw o'r Barnwyr, yn meddu gradd o hono. Deborah ydoedd yn brophwydes, a rhai o'r arch-offeiriaid oeddynt wedi eu cynnysgaeddu â'r un yspryd, ac yn neilltuol Eli; ac ni bu yr yspaid hynny o amser, sef o Moses hyd Samuel, yn hollol heb brofion, fod rhai yn cael eu neilltuo i'r swydd hon, ac felly y gelwid hwy yn brophwydi. Fel hyn y dywedir i'r Arglwydd anfon prophwyd at feibion Israel, a gwr i Dduw at Eli. *Barn.* 6. 8. 1 *Sam.* 3. 1. Ond nid ydoedd urdd o'r fath ddynion yn cael eu cynnal yn barhaus yn Israel, cyn amser Samuel. A'r diffyg o hynny y sylwir arno yn 1 *Sam.* 3. 1. "A gair yr Arglwydd oedd werthfawr yn y dyddiau hynny; nid oedd weledigaeth eglur." Ond yn Samuel y dechreuodd olynol ddilyniad y prophwydi gymmeryd lle, yr hyn a gynnaliwyd yn barhaus o amser i amser, gyd âg ychydig, o'r hyn lleiaf, o rwystr hyd oddeutu amser Malachi, pan ballodd yspryd prophwydoliaeth; ac oblegid hynny y llefarir am Samuel, yn y Testament Newydd, fel y cyntaf o'r prophwydi, am mai ynddo ef y dechreuodd yr olynol

ddilyniad o honynt. *Act.* 3. 24. "A'r holl brophwydi hefyd o Samuel, ac o'r rhai wedi, cynnifer ag a lefarasant, a rag-fynegasant hefyd am y dyddiau hyn. Ac ar ol Samuel y bu Nathan, Gad, Ido, Heman, ac Asaph, ac eraill. Ac yr ydym yn darllen am Ahijah yn y rhan olaf o deyrnasiad Solomon: ac yr ydym yn darllen hefyd am brophwydi yn amser Jeroboam a Rehoboam; ac felly yn wastad yr ydoedd un prophwyd yn dilyn un arall, hyd y caethiwed. Prophwydi oeddynt urdd o ddynion a gynhelid yn wastadol yn y tir yn yr amseroedd hynny; ac yn amser y caethiwed yr oedd Ezeciel a Daniel; ac wedi y caethiwed yr oedd Zechariah, Haggai, a Malachi.

Ac oblegid fod Duw yn bwriadu cadw i fynu olynol ddilyniad o brophwydi o amser Samuel allan, gan hynny yn awr y dechreuwyd ysgol y prophwydi; sef ysgol i bobl ieuaingc i gael eu haddysgu, tan olygiad rhyw brophwyd enwog, yr hwn a fyddai eu hathraw i'w hyfforddi mewn myfyriaeth ar bethau dwyfol, ac ymarferiadau sanctaidd, i'w haddasu i'r swydd honno, fel y byddai Duw yn eu galw hwy iddi. Y dynion ieuaingc hynny, ag oedd yn perthyn i'r ysgolion hyn, a elwid yn feibion y prophwydi; ac y maent hefyd yn fynych yn cael eu galw yn brophwydi. Y rhai hyn oeddynt ar y cyntaf tan hyfforddiant Samuel. 1 *Sam.* 19. 20. "A phan welsant gynnulleidfa y prophwydi yn prophwydo, a Samuel yn sefyll, wedi ei osod arnynt hwy." Yr un oeddynt a'r gynnulleidfa o brophwydi y darllenwn am dani yn 1 *Sam.* 10. 5. Wedi hynny yr ydym yn darllen am danynt dan Elïas. Eliseus ydoedd un o'i feibion ef; ac efe a erfyniodd ddau barth o'i yspryd ef, fel ei fab hynaf, neu ei gyntaf-anedig: megis ag y byddai y mab hynaf yn cael dwy gyfran o etifeddiaeth ei dad; a chan hynny y lleill o feibion y prophwydi, pan y gwybuont fod yspryd Elïas yn gorphwys ar Eliseus, a ymostyngasant iddo, fel eu hathraw, megis ag y gwnaethent i Elïas o'i flaen ef. 2 *Bren.* 2. 15. "A phan welodd meibion y prophwydi ef, y rhai oedd yn Jericho ar ei gyfer, hwy a ddywedasant, Gorphwysodd yspryd Elïas ar Eliseus. A hwy a ddaethant i'w gyfarfod ef, ac a ymgrymasant hyd lawr iddo." Gwelwch hefyd 2 *Bren.* 4. 38.

Yn amser Elias ac Eliseus, yr oedd amrywiol leoedd lle y preswyliai y cynnulleidfaoedd hynny o feibion y prophwydi. Yr oedd ganddynt sefydliad yn Bethel, un arall yn Jericho, ac un arall yn Gilgal, oddieithr mai yr un oedd yn Gilgal a Jericho; ac fe allai mai un arall yn Jerusalem, ydoedd y lle a elwid

yn athrofa, lle y preswyliai y brophwydes Huldah. Yn 2 *Bren.* 22. 14. y dywedir fod Huldah y brophwydes, "yn trigo yn Jerusalem yn yr ysgoldy." Yr oedd ganddynt dai wedi eu hadeiladu, lle yr arferent fyw ynghyd; a chan fod y rhai hynny yn Jericho wedi lluosogi, ae yn gweled fod eu tŷ yn rhy fychan iddynt, hwy a ofynasant i'w meistr Eliseus, a gaent hwy fyned i dorri coed i adeiladu un mwy. 2 *Bren.* 6. 1, 2. Fe fyddai yn Israel rai prydiau nifer mawr o'r rhai hynny, sef meibion y prophwydi; canys pan y torrodd Jezebel ymaith brophwydi yr Arglwydd, dywedir fod Obadiah wedi cymmeryd cant o honynt, a'u cuddio bob yn ddeg a deugain mewn ogof. 1 *Bren.* 18. 4.

Y mae yn rhaid fod yr ysgolion hynny i'r prophwydi, y rhai a godwyd gyntaf gan Samuel, ac a gadwyd wedi hynny gan y fath brophwydi ag Elias ac Eliseus, o ddwyfol sefydliad; ac o ganlyniad, yr ydym yn gweled fod meibion y prophwydi hynny yn cael eu cynnysgaeddu â gradd o ysprydoliaeth, tra y byddent dan addysgiadau yn ysgolion y prophwydi; ac yn gyffredinol, pan y byddai Duw yn galw rhyw brophwyd i weinyddu yn wastadol yn y swydd honno, neu ryw wasanaeth anghyffredinol, efe a fyddai yn ei gymmeryd ef o'r ysgolion hyn; er nad y rhai hynny yn hollol. Canys pan y mae 'r prophwyd Amos yn llefaru am ei alwad i brophwydo, y mae yn dywedyd, na chawsai ef ddygiad i fynu yn ysgolion y prophwydi, ac nad oedd efe yn un o feibion y prophwydi. *Amos* 7. 14, 15. Ac y mae bod Amos yn gwneud sylw ar ei alwad i fod yn brophwyd, fel peth nodedig, ac yntau heb gael ei addysgu yn ysgolion y prophwydi, yn dangos mai arfer gyffredin Duw ydoedd cymmeryd ei brophwydi o'r ysgolion hynny, a'i fod yn bendithio y sefydliad ag oedd efe ei hun wedi ei sefydlu.

Yn awr yr oedd yr oruchwyliaeth nodedig hon o eiddo rhagluniaeth, sef fod Duw, yn amser Samuel, yn dechreu olynol ddilyniad o brophwydi, y rhai oedd felly i barhau am lawer o oesoedd, ac i'r diben hwnnw yn sefydlu ysgol dan olygiad Samuel, pa un oedd i fod yn Israel o hynny allan, yn beth neillduol ag oedd mewn trefn i ddwyn ym mlaen orchwyl mawr y prynedigaeth, ag yr ydys yn sôn am dano. Canys prif orchwyl y dilynol brophwydi hynny, oedd rhag-ddangos Crist, a'r prynedigaeth gogoneddus oedd i gael ei gwblhau ganddo, ac hefyd i barottoi 'r ffordd i'w ddyfodiad ef. *Act.* 3. 18,—24.

Megis y sylwais o'r blaen, fod amser yr hen Destament fel nos, ym mha un nid oedd yr eglwys yn hollol heb oleuni, er

nad oedd ganddi oleuni yr haul yn union-gyrchol, ond fel yn llewyrchu oddiwrth y ser. Yn awr y prophwydi oeddynt fel ser yn adlewyrchu goleu yr haul; ac yn ol hynny yr oeddynt yn llefaru yn helaeth am Iesu Grist, fel yr ymddengys oddiwrth eu prophwydoliaethau sydd gennym yn argraphedig. Ac yr oeddynt yn ei wneuthur y rhan bennaf o'u gorchwyl, yn eu myfyriaeth yn eu hysgolion, neu eu hathrofeydd, a lleoedd eraill, i chwilio allan waith y prynedigaeth, yn ol yr hyn y mae yr apostol Petr yn ei ddywedyd am danynt: "Am yr hon iachawdwriaeth yr ymofynodd, ac y manwl-chwiliodd y prophwydi, y rhai a brophwydasant am y gras a ddeuai i chwi: gan chwilio pa bryd, neu pa ryw amser, yr oedd Yspryd Crist, yr hwn oedd ynddynt, yn ei hyspysu, pan oedd efe yn rhag-dystiolaethu dioddefaint Crist, a'r gogoniant ar ol hynny." 1 *Petr* 1. 10, 11. Ac fe ddywedir i ni yn *Eph.* 2. 20. fod eglwys y Prynwr yn cael ei hadeiladu "ar sail yr apostolion a'r prophwydi, ac Iesu Grist ei hun yn ben congl-faen."

Hwn oedd y peth cyntaf o'r natur yma a wnawd erioed yn y byd; ac yr oedd yn beth mawr a wnaeth Duw tu ag at gynnyddu ym mhellach yr adeiladaeth fawr hon, sef gwaith y prynedigaeth. Fe fu o'r blaen brophwydoliaethau achlysurol o Grist, fel y dangoswyd eisoes; ond yn awr, wedi i'r amser ddynesu yn agosach at ddyfodiad y Gwaredwr, fe welodd Duw yn dda i sefydlu urdd neillduol o ddynion i fod yn ddilynol barhaus, prif orchwyl pa rai oedd rhag-ddangos Crist a'r prynedigaeth, ac i fod megis rhag-redegwyr iddo, ac i barottoi 'r ffordd i'w ddyfodiad; ac felly, fe sefydlodd Duw ysgolion, ym mha rai yr oedd lluaws yn cael eu haddysgu, a'u dwyn i fynu i'r diben hynny. "Cyd-was ydwyf i ti, ac i'th frodyr y rhai sydd ganddynt dystiolaeth Iesu: canys tystiolaeth Iesu ydyw yspryd y brophwydoliaeth." *Dat.* 19. 10.

---

## RHAN V.

*O Amser Dafydd hyd Gaethiwed Babilon.*

Yr wyf yn awr yn dyfod at y bummed ran o amserau yr Hen Destament, gan ddechreu gyda Dafydd, ac i gyrhaeddyd hyd gaethiwed Babilon; ac yn awr yr wyf yn dyfod i ddangos pa fodd y dygwyd ym mlaen waith y prynedigaeth yn yr yspaid hynny o amser. Ac yma,

Y peth cyntaf y gwnaf sylw arno, yw, i Dduw enneinio y person hwnnw, ag oedd i fod yn gyndad i Grist yn ol y cnawd, yn frenhin ar ei bobl. Yr oedd goruchwyliaeth rhagluniaeth trwy yr yspaid o'r blaen o amser, ag y buom yn sylwi arno, sef o amser Moses hyd yn bresennol, yn perthynu i'r genedl honno; ond yn awr y mae 'r hanes ysgrythyrol yn ein harwain i ystyried rhagluniaeth Duw tu ag at y person neilltuol hwnnw, o ba un yr oedd Crist i ddyfod, sef Dafydd. Fe welodd Duw yn dda yr amser hwn i ddewis y person yma allan o holl filoedd Israel, ac i'w nodi ef â'r neillduad mwyaf anrhydeddus, trwy ei enneinio i fod yn frenhin ar ei bobl. Nid oedd neb ond Duw yn unig a allasai ei nodi ef allan. Fe ddywedir nad oedd tŷ ei dad ond bychan yn Israel, ac yntau yn ieuengaf o feibion ei dad, ac yn un nad oedd gan Samuel y disgwyliad lleiaf mai efe a ddewiswyd gan Dduw i fod yn frenhin ar Israel. Fe ddarfu i Dduw mewn oesoedd o'r blaen, mewn modd hynod, neilltuo y personau o ba rai yr oedd Crist i ddyfod; megis Seth, Noah, Abraham, Isaac, a Jacob. Y siampl ddiweddaf o hyn sy gennym ym mendith Jacob i'w fab Judah; oddieithr i ni gyfrif y dyrchafiad a gafodd Nashon i fod yn bennaeth ar lwyth Judah yn yr anialwch yn un o honynt. *Num.* 1. 7. Ond yr oedd y neillduad yma ym mherson Dafydd yn hynod o anrhydeddus: canys Duw a'i enneiniodd ef yn frenhin ar ei bobl, a thrwy hynny yr oedd rhyw beth mwy yn cael ei arwyddo nag oedd yn enneiniad Saul. Nid oedd Saul yn cael ond enneiniad personol; ond yr oedd Duw yn bwriadu rhyw beth pellach trwy anfon Samuel i enneinio Dafydd, sef sefydlu coron Israel ynddo ef, a'i deulu, cyhyd ag yr oedd Israel i barhau yn deyrnas; ac nid hynny yn unig, ond peth oedd anfeidrol fwy, sef sefydlu coron ei eglwys gyffredinol, ei Israel ysprydol, yn ei had ef, hyd ddiwedd y byd, ac i dragywyddoldeb diderfyn.

Goruchwyliaeth fawr o eiddo Duw oedd hyn, ac yr oedd hyn yn gynnyddiad pellach ar waith y prynedigaeth, gan fod yr amser wedi nesâu, ym mha un yr oedd Crist i ymddangos yn y cnawd. Megis yr oedd Dafydd yn gyndad i Grist, felly efe oedd y cysgod personol pennaf o hono ef dan yr Hen Destament. Cysgodau o Grist oeddynt dri math; sef rhai gosodedig, rhagluniaethol, a phersonol. Ordinhad yr aberthau oedd y cysgodau mwyaf mewn gosodiadau; y waredigaeth o wlad yr Aipht, y fwyaf mewn rhagluniaeth; a Dafydd oedd y person ag oedd yn cysgodi Crist fwyaf o neb. Gan hynny y gelwir Crist dan yr

enw Dafydd yn fynych yn yr Ysgrythyrau. *Ezec.* 34. 23, 24. "Cyfodaf hefyd un bugail arnynt, ac efe a'u portha hwynt, sef fy ngwas Dafydd;—a'm gwas Dafydd yn dywysog yn eu mysg." Fel hyn, mewn llawer o leoedd eraill, y mae yn fynych yn cael llefaru am dano fel Mab neu had Dafydd.

Yr oedd Dafydd yn gyndad i Grist, ac yn gysgod o hono, trwy ei fod yn cael ei enneinio gan Dduw, mewn modd parchus, i fod yn frenhin ar ei bobl, a bod teyrnas ei eglwys ef i barhau yn nheulu Dafydd dros byth, a ellir ei olygu, mewn rhyw ystyr, fel enneiniad Crist ei hun. Yr oedd Crist megis pe buasai yn cael ei enneinio ynddo ef; gan hynny y mae enneiniad Dafydd a Christ yn cael llefaru am danynt megis un yn yr ysgrythyrau. *Ps.* 89. 20. "Cefais Dafydd fy ngwasanaethwr: enneiniais ef â'm holew sanctaidd." Ac y mae gorsedd-fainge Dafydd a Christ yn cael eu golygu fel un. "Ac iddo y rhydd yr Arglwydd orseddfa ei dad Dafydd." *Luc* 1. 32. "Ac am hynny, ac efe yn brophwyd, yn gwybod dyngu o Dduw iddo trwy lw, Mai o ffrwyth ei lwynau ef o ran y cnawd, y cyfodai efe Grist i eistedd ar ei orseddfa ef." *Act.* 2. 30.

Fod Duw fel hyn yn gosod ei deyrnas a'i eglwys yn nhŷ Dafydd, oedd yn sefydliad newydd ar deyrnas Crist; ei dechreuad ar osodiad o'r fath amlygrwydd ag oedd o hynny allan i barhau byth. Duw a blanodd y gwreiddyn o ba un yr oedd Blaguryn Cyfiawnder wedi hynny i darddu, yr hwn ydoedd i fod yn frenhin tragywyddol ei eglwys; gan hynny y gelwir y Brenhin tragywyddol hwn yn Flaguryn o gyff Jesse. *Esa.* 11. 1. "Yna y daw allan wialen o gyff Jesse; a Blaguryn a dŷf o'i wraidd ef." *Jer.* 23. 5. "Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, y cyfodaf i Dafydd Flaguryn cyfiawn, a Brenhin a deyrnasa ac a lwydda." *Pen.* 33. 15. "Yn y dyddiau hynny, ac yn yr amser hwnnw, y paraf i Flaguryn cyfiawnder flaguro i Dafydd; ac efe a wna farn a chyfiawnder yn y tir." Felly hefyd y mae Crist yn cael ei alw yn y Testament Newydd yn "wreiddyn a hiliogaeth Dafydd." *Dat.* 22. 16.

Y mae i sylwi arno, fod Duw wedi enneinio Dafydd i deyrnasu ar ol Saul, ac yn ei le ef. Efe a gymmerodd y goron oddiar Saul, yr hwn oedd yn uwch o gorpholaeth na neb o'i bobl, ac yn eu golwg yr addasaf i gario y llywodraeth, ac a'i rhoddodd i Dafydd, yr hwn oedd o gorpholaeth byrr, ac mewn cymmhariaeth i Saul o olygiad dirmygus: felly fe welodd Duw yn dda i ddangos y modd y byddai i Grist, yr hwn a ymddangosodd heb

na phryd na thegwch iddo, ac a ddiystyrwyd ac a wrthodwyd gan ddynion, gymmeryd y deyrnas oddiar fawrion y byd hwn. Y mae hefyd i sylwi arno, mai yr ieuengaf o feibion Jesse oedd Dafydd, a ddaeth fel hyn i'r frenhiniaeth; fel y darfu i Jacob y brawd ieuengaf ddisodli Esau, a chymmeryd yr enedigaeth fraint a'r fendith oddi arno; ac fel y darfu i Phares, brawd hynaf un o hynafiaid Crist, ddisodli Zarah yn yr enedigaeth; ac fel y darfu i Isaac, un arall o hynafiaid Crist, fwrw Ismael ei frawd hynaf allan: fel hyn yr oedd y dywediad mynych hwnnw o eiddo Crist yn cael ei gyflawni, "Y rhai olaf a fyddant flaenaf, a'r rhai blaenaf yn olaf."

2. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno ydyw, i Dduw, mewn modd rhyfeddol, trwy gyfres o ragluniaethau, ddiogelu bywyd Dafydd hyd farwolaeth Saul. Sylwais o'r blaen ar y modd rhyfeddol y cadwyd eraill o hynafiaid Crist; megis Noah, Abraham, Isaac, a Jacob; ac o ganlyniad fod Crist y Gwaredwr mawr i ddyfod o honynt, ac mai yn eu cadwraeth hwy y gellir edrych ar waith y prynedigaeth yn cael ei ddiogelu rhag ei ddadymchwelyd, a'r holl eglwys, yr hon a waredir trwyddo ef, rhag cael ei gorchfygu. Ond nid oedd cadwraeth Dafydd yn llai rhyfeddod na diogelwch eraill, fel y sylwyd eisoes. Pa mor fynych y bu efe heb ddim ond megis cam rhyngddo ac angau. Y siampl gyntaf o hyn sy gennym yn yr ymladdfa a fu rhyngddo a'r llew a'r arth, pa rai, oni buasai cynnorthwyon gwyrthiol, a fuasai mor hawdd iddynt rwygo y llengcyn ieuangc hwn yn ddarnau, a'r oen a waredodd efe o'u crafangau. Felly y cadwyd gwreiddyn a hiliogaeth Dafydd wedi hynny rhag y llew rhuadwy, yr hwn sydd yn rhodio oddiamgylch gan geisio y neb a allo lyngcu; yr hwn hefyd a orchfygodd efe, ac a achubodd eneidiau dynion fel wyn allan o enau y llew creulon hwnnw. Gwaredigaeth nodedig arall a gafodd efe rhag y cawr galluog Goliah, yr hwn oedd yn ddigon cryf i roddi ei gnawd ef yn fwyd i anifeiliaid y maes, ac ehediaid y nefoedd, fel yr oedd yn bwgwth: ond Duw a gadwodd Dafydd, ac a roddodd iddo fuddugoliaeth ar Goliah, fel y torrodd efe ei ben ef â'i gleddyf ei hun. Crist a laddodd y Goliah ysprydol â'i arf ei hun, sef y groes; ac felly a waredodd ei bobl. A pha mor ryfedd y cadwodd Duw Dafydd rhag cael ei ladd gan Saul, pan y ceisiodd efe ei fywyd ef y waith gyntaf, trwy roddi ei ferch i fod yn fagl iddo, fel y byddai y Philistiaid arno: ac wedi hynny, pan y gorchymynodd efe i Jonathan, ac i'w weision, ei ladd ef; a Jonathan,

yn lle ei lofruddio, yn cael ei dueddu i'w garu fel ei enaid ei hun, ac i fod yn offeryn neilltuol i'w ddiogelu ef, ie, er ei fod trwy hynny yn rhoddi ei fywyd ei hun mewn perygl, ac er y gallesid meddwl na buasai neb yn fwy ewyllysgar i ladd Dafydd na Jonathan, gan ei fod yn gyd-ymgeisiwr âg ef am y goron. Drachefn, yr Arglwydd a'i cadwodd ef mewn modd rhyfedd, pan y taflodd Saul ei waywffon i'w daro ef, ac y disgynodd yn y pared; a phan yr anfonodd genhadau i'w dŷ ef, i'w wylied ac i'w ladd, pan y darfu i Michal, merch Saul, ei ollwng ef trwy y ffenestr; yr un modd pan y darfu iddo wedi hynny anfon cenhadau unwaith a thrachefn, i Naioth yn Ramah, i'w gymmeryd ef, ac y daliwyd hwy mewn modd gwyrthiol gan argraphiadau oddiwrth yspryd Duw; ie, pan yr oedd Saul yn benderfynol yn y gorchwyl, ac yr aeth ei hun, ac efe hefyd a gaed ym mysg y prophwydi. Drachefn, pa mor ryfedd wedi hynny y cadwyd bywyd Dafydd ym mysg y Philistiaid yn Gath, pan yr aeth efe at Achis, brenhin Gath, ac yr ydoedd yno yn llaw y Philistiaid; pa rai, y buasid yn meddwl, a fuasai yn ei ladd ef yn ddioed, gan ei fod, trwy ei orchestion yn eu herbyn, wedi eu cyffroi mor fynych i hynny. Pa mor ryfedd y gwaredwyd ef yn Ceilah, pan yr aeth efe i mewn i'r ddinas gaerog, lle yr oedd Saul yn meddwl ei fod yn sicr o hono. A phan oedd efe yn ei hela ac yn ei erlid ef yn y mynyddoedd; a'r fyddin wedi ei amgylchynu ef yn anialwch Maon. Mor ryfedd y gwaredwyd ef yn ogof Engedi, pan, yn lle i Saul ladd Dafydd, y rhoddwyd Saul yn llaw Dafydd, ac y torrodd efe gwrr ei fantell ef yn yr ogof; ac wedi hynny yn anialwch Ziph; a thrachefn eilwaith yn nhir y Philistiaid, er fod Dafydd wedi eu gorchfygu hwy yn Ceilah, fel mai efe ei hun oedd y diwoddaf yn eu mysg hwy yno. Gallasai un feddwl y buasai hyn yn ddigon o rybydd iddynt i beidio ymddiried ynddo, neu adael iddo ddiangc yr ail waith; ond etto, Duw mewn modd rhyfedd a drodd eu calonnau hwy i fod yn gyfeillion iddo, ac i'w amddiffyn, yn lle ei ddistrywio.

Fel hyn yr had gwerthfawr, yr hwn, mewn ystyr, oedd yn cynnwys y Gwaredwr, a holl fendithion y prynedigaeth, a gadwyd yn rhyfeddol, pan yr oedd byd ac uffern wedi cyd-fwriadu i'w erbyn, i geisio ei ddifetha. Pa mor fynych y mae Dafydd ei hun, gyda mawl a syndod, yn gwneud sylw ar hyn yn llyfr y Salmau.

3. Oddeutu yr amser hwn, fe helaethwyd gair ysgrifenedig Duw gan Samuel. Sylwais o'r blaen, fod canon yr ysgrythyr

wedi cael ei ddechreu, a bod y rhan gyntaf o air ysgrifenedig Duw wedi ei rhoddi i'r eglwys oddeutu amser Moses: ac y mae llawer o'r duwinyddion, a hyd yr wyf yn gwybod, y rhan fwyaf o honynt, yn meddwl iddo gael ei ychwanegu gan Josuah, ac mai efe a ysgrifenodd y bennod olaf o Deuteronomium, a'r llyfr a elwir ar ei enw. Y mae eraill yn meddwl fod Josuah, Barnwyr, Ruth, a rhan o lyfr cyntaf Samuel, wedi eu hysgrifennu gan Samuel. Pa un bynnag am hynny, y mae gennym brawf fod Samuel wedi gwneud ychwanegiad at ganon yr ysgrythyr; canys fe ddywedir yn eglur am dano yn y Testament Newydd, fel un o'r prophwydi, ac y mae eu hysgrifeniadau gennym yn yr ysgrythyrau. "A'r holl brophwydi hefyd o Samuel, ac o'r rhai wedi, cynnifer ag a lefarasant, a rag-fynegasant hefyd am y dyddiau hyn." *Act.* 3. 24. Wrth yr ymadrodd, "cynnifer ag a lefarasant," ni's gellir meddwl, cynnifer ag a lefarasant eiriau â'u geneuau; canys yr oedd yr holl brophwydi yn llefaru â'u geneuau: ond y mae yn rhaid mai yr ystyr yw, cynnifer ag a lefarasant trwy ysgrifennu, ac felly yr hyn a lefarasant a ddaeth i lawr i ni.

Y modd y llefarodd Samuel am amserau Crist a'r efengyl, ydoedd trwy roi hanes am y cysgodau ag oedd yn cyfeirio attynt, yn neilltuol y pethau hynny ynghylch Dafydd. Ac oblegid hynny yn bennaf y cynhyrfwyd ef gan Yspryd Duw i ddodi y pethau hynny mewn ysgrifen, ac, fel y dywedwyd o'r blaen, hyn oedd prif orchwyl yr olynol ddilyniad o brophwydi, a ddechreuwyd yn Samuel.

Fod Samuel wedi ychwanegu at ganon yr ysgrythyr a ymddengys ym mhellach oddiwrth 1 *Cron.* 29. 29. "Ac am weithredoedd cyntaf a diweddaf y brenhin Dafydd, wele y maent yn ysgrifenedig y'ngeiriau Samuel y gweledydd." Pa un ai Samuel oedd ysgrifenydd llyfr Josuah ai nad è, etto, barn Duwinyddion yn gyffredin yw, mai efe a ysgrifenodd lyfrau Ruth, a'r Barnwyr, a rhan o lyfr cyntaf Samuel. Y rheswm paham yr ysgrifenwyd llyfr Ruth oedd, er cadw hanes achau Dafydd; canys, er ei fod yn ymddangos yn ymdrin ond yn unig âg achosion neilltuol, etto, y personau y llefarir am danynt yn bennaf ynddo oeddynt y teulu o ba rai yr oedd Dafydd a Christ i ddyfod, ac felly yn cyfeirio at yr hyn a ddywedir gan yr apostol Petr am Samuel, a'r prophwydi eraill, yn y 3edd bennod o'r *Actau.* Yr helaethiadau hyn ar ganon yr ysgrythyr, y prif offeryn i gymmwyso y prynedigaeth, sydd i'w hystyried fel parhad i'r gwaith hwnnw, ac ychwanegiad at yr adeiladaeth fawr honno.

4. Peth arall a wnaeth Duw yr amser hwnnw tu ag at ddwyn ym mlaen y gwaith hwn, ydoedd ysprydoli Dafydd i ddangos Crist a'r prynedigaeth, trwy ganiadau dwyfol; pa rai oedd i gael eu defnyddio yn yr addoliad cyhoeddus, yn yr eglwys, trwy yr holl oesoedd. Yr oedd Dafydd ei hun wedi ei gynnysgaeddu âg yspryd prophwydoliaeth. *Act.* 2. 29, 30. "Ha wyr frodyr, y mae yn rhydd i mi ddywedyd yn hyf wrthych am y Patriarch Dafydd, ei farw ef a'i gladdu, ac y mae ei feddrod ef gyda ni hyd y dydd hwn. Am hynny, ac efe yn brophwyd, yn gwybod dyngu o Dduw iddo trwy lw," &c. Felly yn hyn yr oedd efe yn gysgod o Grist, gan ei fod yn brophwyd a brenhin. Yr oedd yr olew a ddefnyddiwyd i enneinio Dafydd yn cysgodi Yspryd Duw; ac felly yr oedd y cysgod a'r gwrthgysgod yn cael eu cyd-roddi arno. "Yna y cymmerth Samuel gorn yr olew, ac a'i henneiniodd ef y'nghanol ei frodyr; a daeth yspryd yr Arglwydd ar Dafydd, o'r dydd hwnnw allan." 1 *Sam.* 16. 13.

Yr oedd efe dan ddylanwadau yr Yspryd hwn, trwy iddo gael ei gynhyrfu i ddangos Crist a'r prynedigaeth gogoneddus, mewn caniadau dwyfol, pa rai sy'n melus ddatgan anadliadau enaid duwiol, yn llawn rhyfeddod yn yr olwg ar ogoneddus bethau y Gwaredwr, ac wedi ei danio â chariad dwyfol, yn ymddyrchafu mewn mawl; a chan hynny y gelwir ef, peraidd ganiadydd Israel. 2 *Sam.* 23. 1. "Dyma eiriau diweddaf Dafydd, Dywedodd Dafydd mab Jesse, a dywedodd y gwr a osodwyd yn uchel, enneiniog Duw Jacob, a pheraidd ganiadydd Israel." Prif destynau y peraidd ganiadau hyn, ydyw gogoneddus bethau yr efengyl, fel y mae yn eglur oddiwrth y defnydd a wneir o honynt, a'r cyfieithiad a roddir iddynt yn y Testament Newydd: canys nid oes yr un o lyfrau yr Hen Destament yn cael eu coffhau mor fynych yn y Newydd a'r Salmau. Y dyn sanctaidd hwn a ganodd yn orfoleddus am bethau mawrion y prynedigaeth trwy Grist, sef y pethau hynny ag oedd mewn gobaith a disgwyliad gan eglwys a phobl Dduw er y dechreuad, ac eraill a'i dilynodd ef mor orfoleddus yn eu caniadau ag yntau; megis, Asaph, Heman, Etham, ac eraill; canys ni ysgrifenwyd llyfr y Salmau oll gan Dafydd, er mai efe a ysgrifenodd y rhan fwyaf o hono. Trwy hyn fe ehangwyd canon yr ysgrythyr, a chyfran ardderchog o ysgrif ddwyfol a chwanegwyd atto.

Yr oedd hyn yn ddyrchafiad neilltuol a roddodd Duw i'r adeiladaeth hon; a goleuni yr efengyl, yr hwn oedd yn llewyrchu yn raddol byth ar ol y cwymp, yn awr a gynnyddodd

yn ddirfawr trwy hyn; canys, cyn yr amser hwn, nid oedd ond ambell brophwydoliaeth yma a thraw, trwy yr amrywiol oesoedd, yn cael eu rhoddi am Grist; ond yn awr Dafydd, mewn amrywiol ganiadau, a lefarodd am gnawdoliaeth, bywyd, angau, adgyfodiad, ac esgyniad Crist i'r nefoedd, a'r cymmod a wnaeth efe wrth farw, a'i eiriolaeth wedi iddo esgyn i'r nef: ei swydd brophwydol, brenhinol, ac offeiriadol; y buddioldeb gogoneddus sydd yn deilliaw oddi wrtho yn y bywyd hwn a'r hwn a fydd; ei undeb â'r eglwys, ynghyd â'r dedwyddwch a ddaw iddi trwyddo ef; galwad y cenhedloedd, y gogoniant a welir ar yr eglwys ychydig cyn diwedd y byd, a dyfodiad Crist i'r farn ddiweddaf. Yr holl bethau hyn, a llawer mwy, mewn perthynas i Grist a'r prynedigaeth, a lefarir am danynt yn helaeth yn llyfr y Salmau.

Yr oedd hyn hefyd yn ddyrchafiad gogoneddus ar orchwyl y prynedigaeth, gan fod Duw trwy hyn yn rhoddi i'w eglwys lyfr o ddwyfol ganiadau, i'w ddefnyddio yn y rhan hynny o addoliad cyhoeddus, sef canu ei fawl ef, trwy yr holl oesoedd hyd ddiwedd y byd. Y mae yn amlwg fod llyfr y Salmau wedi cael ei roddi gan Dduw i'r diben hwn. Fe'i gosodwyd ganddo ef i'w ddefnyddio yn eglwys Israel, fel yr ymddengys oddiwrth y titlau a roddir i amrywiol o'r Salmau, pa rai sydd yn cael eu cyflwyno i'r "pencerdd;" hynny yw, rhyw un ag a fyddai wedi ei osod yn flaenor, neu yn arweinydd i'r canu yn y deml, ac yn yr addoliad cyhoeddus yn Israel. Ac felly y gelwir Dafydd yn beraidd ganiadydd Israel, o herwydd mai efe a ysgrifenodd y Salmau, i'w defnyddio yn yr eglwys Iuddewig; ac yn ol hynny yr ydym yn cael hanes eu bod yn cael eu canu yn yr eglwys lawer o oesoedd ar ol marwolaeth Dafydd. 2 *Cron.* 29. 30. "A Hezeciah y brenhin a'r tywysogion a ddywedasant wrth y Lefiaid am foliannu yr Arglwydd, â geiriau Dafydd, ac Asaph y gweledydd." Ac yr ydym yn gweled yr un gosodiad yn y Testament Newydd, a'u bod i'w defnyddio yn yr addoliad yn yr eglwys Gristionogol. *Eph.* 5. 19. "Gan lefaru wrth eich gilydd mewn psalmau, a hymnau, ac odlau ysprydol." *Col.* 3. 16. "Gan ddysgu a rhybuddio bawb eich gilydd, mewn psalmau, a hymnau, ac odlau ysprydol." Ac felly yr oeddynt yn cael eu defnyddio, ac y byddant yn yr eglwys, i glodfori Duw mewn mawl, hyd ddiwedd y byd. Yr oedd pobl Dduw, cyn yr amser hwn, yn arfer ei addoli ef trwy ganu caniadau ei fawl; megis y gwnaethant wrth y Môr Coch; ac yr oedd cân Moses (*Deut.* 32.) wedi ei rhoddi iddynt i'r diben hwnnw; a Deborah,

Baruc, a Hannah, a ganasant fawl i Dduw: ond yn awr y rhoddwyd gyntaf lyfr o ddwyfol ganiadau i'w ddefnyddio yn wastadol yn yr eglwys i glodfori yr Arglwydd.

5. Y peth nesaf y sylwaf arno yw, i Dduw ddyrchafu Dafydd i'r orsedd yn Israel, a hynny er gwaethaf pob gwrthwynebrwydd. Gan fod Duw wedi penderfynu i hynny fod, efe a symmudodd bob rhwystr o'r ffordd. Efe a symmudodd ymaith Saul a'i feibion; yna efe a osododd Dafydd ar lwyth Judah; ac wedi symmud ymaith Ishboseth, gosodwyd ef ar holl Israel. Fel hyn y cyflawnodd Duw ei air i Dafydd. Efe a'i cymmerodd ef oddiar ol y praidd, ac a'i gwnaeth ef yn frenhin ar ei bobl Israel. *Ps.* 78. 70, 71. Ac yn awr gorsedd Israel a sefydlwyd yn y teulu ym mha un yr ydoedd i aros byth, ie, yn oes oesoedd.

6. Y pryd hyn Duw a ddewisodd ddinas neillduol allan o holl lwythau Israel i osod ei enw yno. Crybwyllir yn fynych yn nghyfraith Moses, fod meibion Israel i ddwyn eu hoffrymmau i'r lle a ddewisai yr Arglwydd; ond ni ddarfu iddo neillduo un lle hyd yr amser hwn. *Deut.* 12. 5, 6, 7. Ni bu yr arch a'r babell erioed yn sefydlog; ond yr oeddynt yn symmudol, weithiau yn y naill le, a pryd arall mewn lle arall. Ni orchfygwyd yn hollol mo ddinas Jerusalem hyd amser Dafydd; yr ydoedd ym meddiant y Jebusiaid hyd hynny. Fe ddywedir yn llyfr Josuah, "Ond ni allodd meibion Judah yrru allan y Jebusiaid, trigolion Jerusalem: am hynny y trig y Jebusiaid gyda meibion Judah yn Jerusalem hyd y dydd hwn." Ond y pryd hwn Dafydd a'i llwyr ddarostyngodd, a Duw a ddewisodd y ddinas honno yn lle i osod ei enw yno, fel yr ymddengys oddiwrth fod Dafydd yn dwyn yr arch yno yn fuan wedi hyn: a chan hynny y crybwyllir am hyn drachefn, fel y waith gyntaf i Dduw ddewis dinas yn lle i osod ei enw yno. 2 *Cron.* 6. 5, 6. a 12. 13. Wedi hynny Duw a ddangosodd i Dafydd y lle yn bennodol y byddai i'w deml gael ei hadeiladu, sef llawr-dyrnu Arafnah y Jebusiad.

Gan hynny y gelwir Jerusalem yn ddinas sanctaidd; ac yr ydoedd yn un o'r cysgodau pennaf o eglwys Crist o holl gysgodau yr Hen Destament. Fe'i gwaredwyd gan Dafydd, cadpen lluoedd Israel, i fod yn ddinas Duw, yn lle sanctaidd, ei orphwysfa ef, ac yn drigfa iddo i aros ynddi yn dragywydd: felly Crist, Cadpen iachawdwriaeth ei bobl, a waredodd ei eglwys allan o ddwylaw y diafol, i fod yn ddinas sanctaidd ac anwyl iddo ei hun. A chan hynny y mae yr ysgrythyr yn fynych, pan y mae yn llefaru am Grist yn gwaredu ei eglwys, yn ei

galw wrth yr enwau Jerusalem a Sïon. Hon oedd y ddinas a ordeiniwyd gan Dduw i fod yn lle i gasglu ynghyd y dychweledigion cyntaf ar ol adgyfodiad Crist, a'r lle y bu y tywalltiad nodedig hwnnw o Yspryd Duw ar yr apostolion a'r prif Gristionogion, a'r lle hefyd o ba un yr oedd yr efengyl i seinio allan i'r holl fyd; y man yr oedd eglwys Gristionogol gyntaf i fod, yr hon ydoedd megis pe buasai yn fam i'r holl eglwysi eraill trwy y byd; yn ol y brophwydoliaeth honno, *Esa.* 2. 3, 4. "Canys y gyfraith a â allan o Sïon, a gair yr Arglwydd o Jerusalem. Ac efe a farna rhwng y cenhedloedd, ac a gerydda bobloedd lawer." Fel hyn Duw a ddewisodd fynydd Sïon, o ba le yr oedd yr efengyl i gael ei chyhoeddi, fel y cyhoeddwyd y ddeddf oddi ar Sinai.

7. Y peth nesaf i sylwi arno ydyw, i Dduw, mewn modd difrifol, adnewyddu y cyfammod gras â Dafydd, ac addaw y byddai i'r Messiah fod o'i had ef. Y mae gennym hanes am hyn yn y 7fed bennod o lyfr cyntaf Samuel. Hyn a fu ar yr achlysur o fod Dafydd yn bwriadu adeiladu tŷ i Dduw, pan yr anfonwyd Nathan y prophwyd atto ef, gyd âg addewidion gogoneddus y cyfammod gras, yn neilltuol yr hyn sydd yn gynnwysedig yn y geiriau hyn, *adn.* 16. "A'th dŷ di a sicrheir, a'th frenhiniaeth yn dragywydd o'th flaen di: dy orseddfaingc a sichrheir byth." Yr hon addewid sydd yn perthyn i Grist, had Dafydd, ac a gyflawnir ynddo ef yn unig; canys y mae teyrnas Dafydd er's amser maith cyn hyn wedi diflannu, ond fel y mae yn cael ei dal i fynu yn Nghrist: ac y mae teyrnas dymhorol ei dŷ ef wedi darfod er's llawer mwy o oesoedd nag y bu yn sefyll.

Y cyfammod hwn a gadarnhaodd Duw i Dafydd y pryd hyn trwy Nathan oedd y cyfammod gras, fel y mae yn amlwg oddiwrth dystiolaeth yr ysgrythyr, *Esa.* 55. 1, 2, 3. Yno y cawn fod Crist yn gwahodd pechaduriaid i ddyfod i'r dyfroedd; ac yn y drydedd adnod y mae efe yn dywedyd, "Gogwyddwch eich clust, a deuwch attaf; gwrandewch, a bydd byw eich enaid: a mi a wnaf gyfammod tragywyddol â chwi, sef sicr drugareddau Dafydd." Yma y mae Crist yn cynnyg, i bechaduriaid argyhoeddedig, hawl yn yr un cyfammod ag a wnaeth efe â Dafydd, a chyfrannu iddynt yr un sicr drugareddau. A pha beth ydyw y cyfammod hwnnw, ag y mae pechaduriaid yn cael hawl ynddo pan y maent yn dyfod at Grist, ond y cyfammod gras?

Hwn oedd y pummed sicrhad nodedig o'r cyfammod gras i'r eglwys ar ol y cwymp. Y cyntaf a fu i Addá; yr ail i Noah;

y trydydd i'r patrieirch, Abraham, Isaac, a Jacob; y pedwerydd trwy Moses yn yr anialwch; a'r pummed yw yr hyn a wnaed yn awr i Dafydd.

Y mae Dafydd yn fynych yn cydnabod y cadarnhad hwn o'r cyfammod gras a wnaeth Duw âg ef yn un o'r trugareddau mwyaf a gafodd efe, ac yn anrhydedd pennaf a osodasai Duw arno; yr oedd efe yn gwerthfawrogi ac yn ymorfoleddu yn hyn yn fwy na holl fendithion eraill ei deyrnasiad. Pa mor orfoleddus a diolchgar y derbyniodd efe y gennadwri ogoneddus yma oddiwrth Nathan? 2 *Sam*. 7. 18. Ac yn ei eiriau diweddaf y mae yn datgan, mai hyn oedd ei holl iachawdwriaeth, a'i holl ddymuniad. "Cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi, wedi ei luniaethau yn hollol ac yn sicr; canys fy holl iachawdwriaeth a'm holl ddymuniad yw." 2 *Sam*. 23. 5.

8. Trwy Dafydd y rhoddodd yr Arglwydd gyntaf feddiant hollol i'w bobl Israel yn y tir addawedig. Dangosais o'r blaen y modd yr oedd y meddiant a roddodd Duw iddynt ynddo yn perthynu i'r cyfammod gras. Y meddiant cyntaf a roddwyd iddynt mewn rhan trwy Josuah; ond ni chawsant mo hono yn gyflawn yn ei amser ef. Ni ddarfu i Judah hollol ddarostwng y rhan hynny o'r wlad addawedig a elwid, gwlad Canaan, ac a ranwyd wrth goelbren rhwng amrywiol lwythau Israel; ond yr oedd rhifedi mawr o'r hen drigolion yn aros heb eu darostwng, fel y gwelir wrth ddarllen llyfrau Josuah a'r Barnwyr; fe adawyd llawer o honynt i brofi Israel, ac i fod "yn ddrain yn eu hystlysau, ac yn bigau yn eu llygaid." Yr oedd y Jebusiaid yn Jerusalem, a llawer o'r Canaaneaid oedd yn aros yn y wlad, a holl genedl y Philistiaid, pa rai oedd yn cyfanneddu yn y rhan honno o honi ag a rannwyd wrth goelbren, y lleoedd hynny ag oedd yn bennaf yn perthynu i lwythau Judah ac Ephraim.

Fel hyn yr oedd y gweddill o hen drigolion Canaan yn aros hyd ddyddiau Dafydd; ond efe a'u darostyngodd hwy yn hollol. Yn ol yr hyn ag y mae Stephan yn sylwi arno, *Act*. 7. 45. "Yr hwn a ddarfu i'n tadau ni ei gymmeryd, a'i ddwyn i mewn gyd âg Iesu i berchennogaeth y Cenhedloedd, y rhai a yrrodd Duw allan o flaen ein tadau, hyd yn nyddiau Dafydd." Hyd ddyddiau Dafydd y buont yn eu gyrru hwy allan, ac efe a'i dygodd hwy yn hollol dano. Efe a ddarostyngodd y Jebusiaid, a holl genedl y Philistiaid, a'r gweddill o saith cenedl Canaan. 1 *Cron*. 18. 1. "A darfu wedi hyn, i Ddafydd daro'r Philistiaid, a'u darostwng hwynt, a dwyn Gath a'i phentrefydd o law y Philistiaid."

Wedi hyn, fe wnawd yr holl weddill o drigolion blaenorol Canaan yn gaeth-weision i'r Israeliaid. Cyn hyn yr oedd hiliogaeth y Gibeoniaid yn gymynwyr coed, ac yn wehynwyr dwfr, at dŷ Dduw. Ond Solomon, mab Dafydd, a'i ddilynwr yn y llywodraeth, a osododd yr holl weddill o saith genedl Canaan mewn caeth-wasanaeth, neu o'r hyn lleiaf dan deyrnged i gaeth-wasanaeth. 1 *Bren.* 9. 20,—22. Oddiwrth hyn y cawn hanes am feibion gweision Solomon, ar ol y dychweliad o gaethiwed Babilon. *Ezra* 2. 55. *Neh.* 11. 3. Y rhai hyn oeddynt blant neu hiliogaeth y gweddill o saith genedl Canaan a ddarostyngwyd gan Solomon i gaeth-wasanaeth.

Fel hyn Dafydd a ddarostyngodd holl dir Canaan, yr hwn a elwid felly mewn ystyr gyfyng; ond nid oedd yn cynnwys hanner, ie, na chwarter, yr hyn a addawsai Duw i'w tadau. Yr oedd y tir a addawyd i'w tadau yn cynnwys yr holl wledydd ag oedd rhwng afon yr Aipht ac afon Euphrates. Y lleoedd hynny oedd terfynau y tir a addawyd i Abraham. *Gen.* 15. 18. "Yn y dydd hwnnw y gwnaeth yr Arglwydd gyfammod ag Abram, gan ddywedyd, I'th had di y rhoddais y wlad hon, o afon yr Aipht hyd yr afon fawr, afon Euphrates." Felly yr addawodd Duw drachefn ar fynydd Sinai, gan ddywedyd, "A gosodaf dy derfyn o'r môr coch hyd fôr y Philistiaid, ac o'r diffaethwch hyd yr afon: canys mi a roddaf yn eich meddiant breswylwyr y tir; a thi a'u gyrri hwynt allan o'th flaen. Pob man y sathra gwadn eich troed chwi arno, fydd eiddo chwi: o'r anialwch a Libanus, ac o'r afon, sef afon Euphrates, hyd y môr eithaf, y bydd eich terfyn chwi." *Exod.* 23. 21. *Deut.* 11. 24. Yr un addewid a roddwyd i Josuah, "Pob man y sango gwadn eich troed chwi arno, a roddais i chwi; fel y lleferais wrth Moses. O'r anialwch, a'r Libanus yma, hyd yr afon fawr, afon Euphrates, holl wlad yr Hethiaid, hyd y môr mawr, tu a machludiad yr haul fydd eich terfyn chwi." *Jos.* 1. 3, 4. Ond nid oedd yr hyn y rhoddodd Josuah feddiant i'r bobl ynddo, ond rhan fechan o'r tir; ac ni chawsant byth feddiant ynddo hyd oni roddodd Duw ef iddynt trwy Dafydd. Yr oedd y wlad eang hon yn cynnwys nid yn unig y Ganaan honno a ranwyd wrth goelbren i'r rhai hynny a ddaeth i mewn iddi gyda Josuah, ond hefyd tir y Moabiaid, yr Ammoniaid, a thir yr Amaleciaid, a gweddill yr Edomiaid, ynghyd â gwlad Zobah. Yr holl genedloedd hynny a ddarostyngwyd, ac a ddygwyd tan feibion Israel, gan Dafydd; ac efe a osododd amddiffynfeydd yn yr amrywiol

wledydd hynny, a'u trigolion a fuont yn weision i Dafydd. Efe a estynodd terfynau meibion Israel hyd afon Euphrates, fel yr addawyd. "Tarawodd Dafydd hefyd Hadadezer fab Rehob, brenhin Sobah, pan oedd efe yn myned i ennill ei derfynau wrth afon Euphrates." 2 *Sam.* 8. 3. Ac o ganlyniad, yr ydym yn darllen fod Solomon ei fab, "yn llywodraethu ar y tu yma i'r afon oll, o Tipsah hyd Azzah, ar yr holl frenhinoedd o'r tu yma i'r afon." 1 *Bren.* 4. 24. Ar yr hyn hefyd y mae Artaxerxes, brenhin Persia, yn sylwi amser maith wedi hyn. "A brenhinoedd cryfion a fu ar Jerusalem, yn llywodraethu ar bawb o'r tu hwnt i'r afon; ac iddynt hwy y rhoddid toll, teyrnged, a threth."

Josuah, yr hwn oedd yn gysgod o Grist, a ddechreuodd ar y gwaith o roddi meddiant i Israel yn ngwlad yr addewid, ac a'i gadawodd i'w orphen i un oedd yn llawer eglurach cysgod nag ef, ac yn gyndad i Grist, sef Dafydd, yr hwn a ddarostyngodd fwy o lawer o'r tir nag a wnaethai Josuah; ac yr oedd yr eangder yma ar ei lywodraeth ef a Solomon, yn gyffelybrwydd i'r eangder mawr sydd i deyrnas Crist, yr hon y dywedir am dani fel hyn:—"Ac efe a lywodraetha o fôr hyd fôr, ac o'r afon hyd derfynau y ddaear." *Ps.* 72. 8.

2. Duw, trwy Dafydd, a berffeithiodd yr addoliad Iuddewig, ac a ychwanegodd atto lawer o osodiadau newyddion. Y gyfraith a roddwyd trwy Moses, ond ni roddwyd holl osodiadau yr addoliad Iuddewig trwyddo ef; a thrwy ddwyfol gyfarwyddyd fe ychwanegwyd amryw bethau attynt wedi amser Moses. Felly y cysgod mawr hwn a ddarfu nid yn unig gwblhau gwaith Josuah yn rhoddi meddiant i Israel yn ngwlad yr addewid, ond efe hefyd a orphenodd waith Moses trwy berffeithio gosodiadau yr addoliad yn Israel. Fel hyn yr oedd yn rhaid cael nifer o brophwydi, offeiriaid, a thywysogion cysgodol, i wneud i fynu un gyffelybiaeth neu gysgod o'r gwrthgysod mawr, sef Crist; canys efe yw sylwedd yr holl gysgodau. Ac o ba faint mwy gogoniant y cyfrifir Crist yn haeddiannol o hono na Moses, Josuah, Dafydd, Solomon, a'r holl brophwydi, offeiriaid, tywysogion, barnwyr, a gwaredwyr, yr Hen Destament.

Fe sonir am yr ordinhadau a sefydlodd Dafydd fel yn gydradd mewn grym â'r rhai a sefydlwyd gan Moses. "A Jehoiada a osododd swyddau yn nhŷ 'r Arglwydd, dan law 'r offeiriaid y Lefiaid, y rhai a ddosparthasai Dafydd yn nhŷ 'r Arglwydd, i offrymmu poeth-offrymmau yr Arglwydd, fel y mae yn ysgrifenedig yngbyfraith Moses, mewn llawenydd a chân, yn ol trefn

Dafydd." 2 *Cron.* 23. 18. Yr addoliad yn Israel a berffeithiwyd gan Dafydd, trwy y chwanegiad a wnaeth efe at y ddeddf seremonïol, yr hyn y cawn hanes am dano, 1 *Cron.* xxiii,—xxv. Y chwanegiad yma oedd yn gynnwysedig yn yr amrywiol urddau, a'r dosparthiadau y dosparthodd efe y Lefiaid, a'r gwaith y gosododd efe hwy ynddo, yn wahanol i'r hyn a wnaethai Moses; ac hefyd yn dosparthu yr offeiriaid, meibion Aaron, i bedwar dosparth ar hugain, gan roddi i bob dosparth ei orchwyl ei hun yn nhŷ yr Arglwydd, a'u hamserau priodol i weini eu swyddau, a sefydlu rhai o'r Lefiaid mewn swyddau newyddion, sef yn gerddorion; ac yn neilltuol eu trefnu a'u rheoli hwy yn y swydd honno, fel y cawn hanes yn 1 *Cron.* xxv. Efe hefyd a osododd rai eraill o'r Lefiaid mewn amrywiol o wahanol swyddau, megis porthorion, tywysogion, a barnwyr; a'r ordinhadau hyn a sefydlwyd gan Dafydd, a gadwyd i fynu yn yr eglwys Iuddewig, gyhyd ag y bu hi yn sefyll; canys yr ydym yn gweled fod amrywiol ddosparthiadau yr offeiriaid a'r Lefiaid yn cael eu cadw i fynu ar ol y caethiwed. Ac yr ydym yn gweled, yn y Testament Newydd, fod dosparthiadau yr offeiriaid a sefydlwyd gan Dafydd yn parhau hyd ddechreuad yr oruchwyliaeth efengylaidd. Zechariah, tad Ioan Fedyddiwr, ydoedd offeiriad o ddydd-gylch Abiah; yr hwn oedd yr un a dosparth Abiah, a sefydlwyd gan Dafydd. 1 *Cron.* 24. 10.

Yr oedd Dafydd cystal a Moses yn gyffelyb i Grist yn hyn, gan fod Duw, trwyddo ef, yn gosod i fynu sefydliadau eglwysig newyddion mewn mesur, a gosodiad newydd i'r drefn o addoli. Ac nid hynny yn unig, ond Dafydd hefyd, trwy ychwanegu fel hyn at y gosodiadau, a ddiddymodd rai o'r hen osodiadau a sefydlwyd gan Moses, pa rai oeddynt mewn grym hyd yr amser hwn; yn neilltuol y deddfau hynny ag oedd yn cyfarwyddo y Lefiaid yn eu gwaith, pa rai sydd i'w gweled yn *Num.* iii, iv. sef yr hyn sydd yn gynnwysedig yn y gorchymynion a roddwyd iddynt ynghylch amrywiol rannau a dodrefn y tabernacl a roddwyd dan eu gofal, ac fel yr oeddynt wedi eu gosod i gario ei amrywiol rannau. Ond y deddfau hynny a ddiddymwyd yn awr gan Dafydd; ac nid oedd y Lefiaid mwyach i gario y pethau hynny, fel yr oeddynt yn arferol cyn hyn; ond Dafydd a'i gosododd hwy mewn gwaith arall yn lle hynny. 1 *Cron.* 23. 26. "A hefyd i'r Lefiaid: ni ddygant mwyach y tabernacl, na dim o'i lestri, i'w wasanaeth ef." Yr hyn sydd yn brawf sicr nad oedd y ddeddf seremonïol i barhau, fel y tybiai yr Iuddewon, ond ei

bod i'w hollol ddileu gan Grist; canys os ydoedd Dafydd, yr hwn nad oedd ond cysgod o'r Messiah, yn gallu diddymmu deddf Moses mewn rhan, mwy o lawer y gallasai y Messiah ei hun ei diddymmu yn hollol.

Fel hyn Dafydd, trwy gyfarwyddyd yr Arglwydd, a ddiddymodd y tabernacl ynghyd â'i holl wasanaeth, yr hwn yr oedd Moses wedi derbyn ei bortreiad oddiwrth Dduw; canys Duw a ddatguddiodd i Dafydd y pryd hyn, mai ei ewyllys ef ydoedd adeiladu teml i fod yn lle y tabernacl. Yr oedd hyn yn rhagarwydd o'r hyn a wnai Crist, mab Dafydd, pan y deuai, sef diddymmu yr holl sefydliadau eglwysig Iuddewaidd, y rhai nad oeddynt ond tabernacl symmudol, ac y codai i fynu deml ysprydol efengylaidd, ag a fyddai yn llawer mwy gogoneddus a helaeth, ac i aros yn dragywydd. Fe ddangoswyd i Dafydd bortreiadau yr holl bethau a berthynai i'r deml, yr un modd ag y dangoswyd portreiad y tabernacl i Moses: a Salomon a adeiladodd y deml yn ol y portreiad a gafodd efe gan Dafydd ei dad, yr hwn a dderbyniodd yntau oddiwrth Dduw. 1 *Cron.* 28. 11, 12, 19. "Yna y rhoddes Dafydd i Solomon ei fab bortreiad y porth, a'i dai, a'i selerau, a'i gellau, a'i ystafelloedd oddi fewn, a thŷ 'r drugareddfa, A phortreiad yr hyn oll a oedd ganddo trwy yr yspryd, am gynteddau tŷ 'r Arglwydd, ac am yr holl ystafelloedd o amgylch, am drysorau tŷ Dduw, ac am drysorau 'r pethau cyssegredig. Hyn oll, eb Dafydd, a wnaeth yr Arglwydd i mi ei ddeall mewn ysgrifen, trwy ei law ef arnaf fi, sef holl waith y portreiad hwn."

10. Fe ymddengys i ganon yr ysgrythyr gael ei helaethu y'mhellach, oddeutu diwedd teyrnasiad Dafydd, gan Nathan a Gad, y prophwydi. Y mae yn debygol oddiwrth yr ysgrythyr eu bod hwy wedi dwyn ym mlaen yr hanesion, yn nau lyfr Samuel, o'r lle y gadawodd efe hwy, a'u gorphen. Fe ymddengys hefyd mai hwn yw y llyfr a elwir Llyfr Samuel y gweledydd, a Nathan y prophwyd, a Gad y gweledydd. "Ac am weithredoedd cyntaf a diweddaf y brenhin Dafydd, wele y maent yn ysgrifenedig yn ngeiriau Samuel y gweledydd, ac yn ngeiriau Nathan y prophwyd, ac yn ngeiriau Gad y gweledydd." 1 *Cron.* 29. 29.

11. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno yw, i Dduw, mewn modd rhyfeddol, ddal i fynu deyrnas weledig ei bobl yn llinell hynafiaid cyfreithlawn Crist yn ol y cnawd, cyhyd ag y buont yn llywodraeth annymddibynol; ac felly y buont am yspaid o oesoedd heb nemmawr o rwystr: y mae yn wir na chadwyd llywodraeth yr

holl lwythau yn y llinell honno; ond yr oedd llywodraeth y rhan hynny o'r Israeliaid ag yr oedd gwir addoliad Duw yn cael ei ddal i fynu ganddynt, a'r rhai oedd yn bobl weledig i Dduw, yn barhaus yn nheulu Dafydd, gyhyd ag y bu y fath frenhin anymddibynol yn Israel, yn ol yr addewid a roddwyd i Dafydd; ac nid yn unig yn ei deulu ef, ond yr oedd yn wastadol yn y rhan hynny o'i hiliogaeth ef ag yr oedd y llinell y disgynodd Crist yn gyfreithlawn o honi, fel mai yr unig un a fyddai ar yr orsedd bob amser oedd hynafiaid cyfreithlawn Crist; oddieithr Jehoas, yr hwn na theyrnasodd ond tri mis, a Zedechia, fel y gwelir yn achau Crist yn y bennod gyntaf o Matthew.

Fe ddisgynodd yr Arglwydd Iesu o frenhinoedd Judah, fel etifedd cyfreithlawn, er nad yn naturiol. Efe a ddisgynodd yn gyfreithlawn ac yn naturiol o Dafydd. Efe a ddisgynodd yn naturiol o Nathan, mab Dafydd; canys yr oedd Mair ei fam yn un o hiliogaeth Dafydd trwy Nathan ei fab, fel y gwelir yn ei achau gan Luc. Ond yr oedd Joseph, tad cyfrifol a chyfreithlawn Crist, wedi disgyn yn naturiol o Solomon a'i ddilynwyr, megis y gwelir yn yr achau gan Matthew. Yr oedd Iesu Grist, er nad oedd yn fab naturiol i Joseph, etto, yn ol y gyfraith a'r sefydliad Iuddewig, yn etifedd i Joseph, oblegid ei fod yn fab cyfreithlawn iddo, o'i wraig gyfreithlawn, fe'i cenhedlwyd tra yr oedd hi yn wraig ddyweddïol iddo ef. Yr Yspryd Glân a gododd iddo ef had. Yn ol cyfraith Moses gallasai un na byddai yn fab naturiol fod yn fab ac yn etifedd cyfreithlawn, sef trwy fod un yn cyfodi had i'w frawd; a brawd, mewn rhai amgylchiadau, ydoedd i adeiladu tŷ y brawd a fyddai wedi marw. Fel hyn, fe adeiladodd yr Yspryd Glân dŷ i Joseph: ac yr oedd efe yn tarddu o linell uniongyrchol brenhinoedd Judah, o dŷ Dafydd; efe hefyd oedd etifedd cyfreithlawn coron Dafydd. Yr oedd Crist yn gyntafanedig ac yn etifedd cyfreithlawn iddo yntau, ac felly yr oedd Crist, yn ol y gyfraith yn etifedd cyfreithlawn i goron Dafydd, a chan hynny y dywedir ei fod yn eistedd ar orseddfa ei dad Dafydd.

Fe gadwyd coron llywodraethol pobl Dduw mewn modd rhyfeddol yn hynafiaid Crist. Pan oedd Dafydd yn hen, ac yn analluog i hwylio gorchwylion y deyrnas yn hwy, Adoniah, un o feibion Dafydd, a ymosododd am y frenhiniaeth, ac yr oedd pethau yn ymddangos yn debyg iddo gael ei amcan. Ond nid oedd Adoniah yn fab i Dafydd ag oedd yn hynafiad i Joseph, tad cyfrifol Crist; gan hynny, pa mor ryfeddol y gweithredodd rhagluniaeth yn yr amgylchiad hwn! pa chwildroad dieithr a rhyfedd-

ol a gymmerth le! holl ogoniant llywodraethol Adoniah a ddiflannodd cyn gynted ag y dechreuodd; a Solomon, hynafiad cyfreithlon Crist, a sefydlwyd ar yr orsedd. Ac ar ol marwolaeth Solomon, pan fradfwriadodd Jeroboam yn erbyn y teulu, a Rehoboam yn ymddwyn mor ffol fel yr oedd yn rhyfeddod na buasai holl Israel yn cael eu cyffroi i ymwrthod âg ef, pan y gwrthodwyd ef gan y deg llwyth, ac y gosodasant Jeroboam i fynu mewn gwrthwynebrwydd iddo, ac er fod Rehoboam yn ddyn annuwiol, ac yn haeddu cael ei fwrw ymaith yn hollol o'r frenhiniaeth, etto, yr oedd efe yn hynafiad cyfreithlawn i Grist, a chan hynny, Duw a gadwodd lywodraeth y ddau lwyth yn ei feddiant ef, ym mysg pa rai yr oedd gwir grefydd yn cael ei chadw; ac er fod Abiam, ei fab, yn dywysog annuwiol fel yntau, etto yr oeddynt yn hynafiaid i Grist, ac o herwydd hynny Duw a gadwodd y goron yn barhaus yn y teulu, ac a'i rhoddodd i Asa, mab Abiam. Ac er fod llawer o frenhinoedd Judah wedi hynny yn ddynion hynod o annuwiol, ac yn wastadol yn cyffroi yr Arglwydd i ddigofaint, yn neilltuol Jehoram, Ahaziah, Ahaz, Manasseh, ac Amon, etto ni thynnodd efe y goron o'r teulu, ond efe a'i rhoddodd i'w meibion o herwydd yr un rheswm. Pan y lleferir am Abiam, fe ddywedir, "Ond er mwyn Dafydd y rhoddodd yr Arglwydd ei Dduw iddo ef oleuni yn Jerusalem; i gyfodi ei fab ef ar ei ol ef, ac i sicrhau Jerusalem." Ac hefyd, pan y sonir am annuwioldeb Jehoram, fe ddywedir, "Ond ni fynnai yr Arglwydd ddifetha tŷ Dafydd, er mwyn y cyfammod a ammodasai efe â Dafydd, fel y dywedasai, y rhoddai efe iddo oleuni ac i'w feibion byth." 1 *Bren.* 15. 4. 2 *Cron.* 21. 7.

Yr oedd coron y deg llwyth yn cael ei newid o'r naill deulu i'r llall yn barhaus. Yn gyntaf, Jeroboam a'i cymmerodd hi; ond nid arhosodd yn ei deulu ef yn unig ond un genhedlaeth wedi ei farwolaeth, ni ddisgynodd ond yn unig i'w fab Nadab; wedi hynny Baasa, yr hwn oedd o deulu arall, a'i cymmerodd hi, ac nid arosodd yn ei hiliogaeth ef ond un genhedlaeth ar ol ei farwolaeth. Yna Zimri, yr hwn oedd was iddo, a'i cymmerodd hi; ond ni ddisgynodd mewn un modd i'w hiliogaeth ef, ac Omri a gymmerodd y llywodraeth ar ei ol ef, a'r goron a fu yn ei hiliogaeth ef yspaid tair cenhedlaeth. Yn nesaf, Jehu, yr hwn oedd o deulu arall, a'i cymmerodd hi, a'r goron a arhosodd yn ei deulu ef dair neu bedair cenhedlaeth; ac wedi hynny Sallum, yr hwn oedd o deulu arall, a'i cymmerodd hi; ond ni ddisgynodd i'w hiliogaeth ef, ond Menahim a'i cymmerodd hi, ac

nid arhosodd yn ei deulu ef ond un genhedlaeth ar ei ol. Yna Peca, un o deulu arall, a'i cymmerodd hi; ac ar ei ol ef Hosea, yr hwn etto oedd o deulu arall. Y fath wahaniaeth oedd rhwng coron Israel a choron Judah; yr oedd y naill yn aros, gyd âg ychydig rwystr, mewn llinell uniongyrchol; a'r llall yn cael ei lluchio oddi amgylch, o'r naill deulu i'r llall, fel pe buasai yn wawd gan ragluniaeth. Y rheswm am hyn ydoedd, nid am fod brenhinoedd Judah yn well na brenhinoedd Israel (canys yr oedd llawer o honynt cyn waethed a hwythau) ond am fod y fendith ganddynt hwy; hwynt-hwy oedd hynafiaid Crist yn ol y cnawd, y rhai oedd ganddynt hawl i eistedd ar orsedd-faingc Israel. Ond nid felly yr oedd gyda brenhinoedd Israel; a chan hynny yr oedd Dwyfol Ragluniaeth yn arfer gofal parhaus, trwy yr holl gyfnewidiadau hynny a ddigwyddodd mewn cynnifer o wahanol genhedlaethau, y fath yspaid maith o amser, i gadw coron Judah mewn un llinell uniongyrchol, er cyflawni y cyfammod tragywyddol a wnaethai Duw â Dafydd, trugareddau yr hwn gyfammod ydynt drugareddau sicr: ond nid oedd y fath gyfammod yn perthynu i'r ochr arall, na'r fath ofal gan ragluniaeth am danynt.

Yma ni ddylid myned heibio heb sylwi, fod unwaith gyd-fradfwriad cryf rhwng brenhin Syria a brenhin Israel, yn amser Ahaz annuwiol, brenhin Judah, i'w ddifeddiannu ef a'i deulu o orsedd Judah, ac i osod arni un o deulu arall, sef mab Tabeal. *Esa.* 7. 6. "Esgynwn yn erbyn Judah, a blinwn hi, torrwn hi hefyd attom, a gosodwn frenhin yn ei chanol hi; sef mab Tabeal." Ac yr oeddynt yn ymddangos yn hynod o debyg i gael cyflawni eu hamcan, yn gymmaint ag y dywedir, yn *adn.* 2. "Fod calon Ahaz wedi cyffroi, a chalon ei bobl, megis y cynhyrfa prennau y coed o flaen y gwynt." Ar yr achlysur yma fe anfonodd Duw y prophwyd Esay i galonnogi ei bobl, ac i hyspysu iddynt na ddeuai hynny i ben. Ac oblegid fod yr achos yn ymddangos mor anobeithiol, hyd onid oedd Ahaz a'r bobl yn anghredu y gwaredid hwy, gan hynny Duw a gyfarwyddodd y prophwyd i roddi iddynt yr arwydd hyn, sef y byddai i Grist ddyfod o had cyfreithlawn Ahaz. *adn.* 14. "Am hynny yr Arglwydd ei hun a ddyry i chwi arwydd; Wele, morwyn a fydd feichiog, ac a esgor ar Fab, ac a eilw ei enw ef, Immanuel." Yr oedd hyn yn arwydd da, ac yn gadarnhad grymmus o'r gwirionedd a addawsai Duw trwy Esay, na byddai i fwriad brenhinoedd Syria ac Israel byth gael ei gyflawni, i

ddifeddiannu Ahaz a'i deulu o lywodraeth Judah; canys yr oedd Crist i ddyfod o honynt hwy.——Crybwyllais yn y fan yma am yr oruchwyliaeth hon o eiddo rhagluniaeth; canys, er ei bod wedi parhau yspaid cyhyd o amser, etto, hi a ddechreuodd ar fynediad Solomon i orsedd ei dad Dafydd.

12. Y peth nesaf y sylwaf arno ydyw, adeiladu y deml; yr hon oedd yn gysgod nodedig o dri pheth, sef, natur ddynol Crist, yr eglwys, a'r nefoedd. Yr oedd y tabernacl yn hytrach yn arddangos yr eglwys yn ei sefyllfa symmudol a chyfnewidiol yn y byd hwn. Ond y deml, yr hon oedd yn adeilad drudfawr, harddwych, a gogoneddus, ac ansymmudol, oedd yn neillduol yn arddangos yr eglwys yn ei sefyllfa ogoneddus yn y nefoedd. Y deml hon a adeiladwyd yn ol y portreiad a ddangoswyd i Dafydd gan yr Yspryd Glân, a thrwy y cyfarwyddyd dwyfol a roddwyd iddo ef, yn y man lle yr oedd llawr-dyrnu Ornan y Jebusiad, ar fynydd Moriah. 2 *Cron*. 3. 1. Ar yr un mynydd, ac yn ddiammeu ar yr un lle ynddo, ag yr offrymasai Abraham ei fab Isaac; canys fe ddywedir am hwnnw mai mynydd yn nhir Moriah ydoedd, ac a elwid mynydd yr Arglwydd, yr un a'r mynydd hwn lle yr oedd y deml yn sefyll. "Ac Abraham a alwodd enw y lle hwnnw JEHOFAH-jire; fel y dywedir heddyw, Ym mynydd yr Arglwydd y gwelir." *Gen*. 22. 2, 14.

Mai natur ddynol Crist oedd gwrthgysgod y deml hon, a ymddengys oddiwrth yr hyn a ddywedodd efe pan y dangoswyd teml Jerusalem iddo, ac y dywedodd yntau, "Dinystriwch y deml hon, ac mewn tridiau y cyfodaf hi." *Ioan* 2. 19, 20. Y tŷ hwn, neu dŷ wedi ei adeiladu yn y lle hwn, a fu yn dŷ i Dduw yn barhaus, lle yr addolai ei eglwys ef hyd oni ddaeth Crist. Hwn oedd y lle a ddewisodd yr Arglwydd, lle yr offrymid yr holl aberthau, hyd oni ddaeth yr aberth mawr, ac y peidiodd y lleill oll. I'r deml hon, neu yn hytrach y deml a adeiladwyd wedi hynny yn y lle hwn, y daeth yr Arglwydd, sef "angel y cyfammod." Yn y lle hwn y mynych draddododd efe ei athrawiaeth nefol, ac y gwnaeth wyrthiau; yma y casglodd efe ynghyd ei eglwys, trwy dywalltiad o'i Yspryd, ar ol ei esgyniad i'r nef. Yn *Luc* 24. 53. y dywedir am ddisgyblion Crist, wedi ei esgyniad ef i'r nef, "Ac yr oeddynt yn wastadol yn y deml, yn moli ac yn bendithio Duw." Ac am y lluaws a ddychwelwyd ar ddydd y Pentecost y dywedir, "eu bod yn gyttun yn y deml." A'r apostolion hefyd oeddynt "beunydd yn y deml, ac o dŷ i dŷ, ni pheidiasant a dysgu, a phregethu yr

Arglwydd Iesu." Hyd onid aeth sain yr athrawiaeth allan, ac yr ymledaenodd yr eglwys trwy yr holl fyd. *Act.* 2. 46. a 5. 42.

13. Y mae yn deilwng i sylwi yma, fod yr eglwys Iuddewig, yn yr amser hwn, ar ol gorphen y deml, yn nheyrnasiad Solomon, wedi ei dyrchafu i'r gogoniant allanol uchaf. Yr eglwys Iuddewig, neu ei hordinhadau a'i sefydliadau, a gydmerir i'r lleuad, yn *Dat.* 12. 1. "A rhyfeddod mawr a welwyd yn y nef; gwraig wedi ei gwisgo â'r haul, a'r lleuad dan ei thraed, ac ar ei phen goron o ddeuddeg seren." Megis ag yr oedd yr eglwys hon yn debyg i'r lleuad mewn amryw ystyriaethau eraill, felly yr oedd yn hyn hefyd, sef ei bod yn heneiddio ac yn lleihau. O'i sylfaeniad cyntaf, yn y cyfammod a wnaed ag Abraham, pan y dechreuodd y lleuad hon ymddangos, y bu hi hyd yr amser hwn yn cynnyddu yn raddol yn ei gogoniant. Yr oedd yr amser hwn, sef pan y gorphenwyd ac y cyssegrwyd y deml, ynghylch canol yr amser rhwng galwad Abraham ac ymddangosiad Crist, ac yr ydoedd y pryd hyn yn llawn lloer. Wedi hyn fe ddiffanodd gogoniant yr eglwys Iuddewig yn raddol hyd oni ddaeth Crist; fel y caf achlysur i sylwi yn fwy neillduol wedi hyn.

Yn awr yr oedd eglwys Israel yn ei gogoniant allanol uchaf; ac yr oedd cenedl Israel yn awr mor liosog hyd oni ymddengys eu bod fel y tywod ar lan y môr. 1 *Bren.* 4. 20. Yn awr, yr oedd teyrnas Israel wedi ei sefydlu yn gadarn yn y teulu o ba un yr oedd Crist i ddyfod. Yr oedd Duw yn bresennol wedi dewis dinas, ym mha un y gosododd efe ei enw, ac wedi rhoddi meddiant cyflawn i'w bobl yn ngwlad yr addewid mewn tawelwch, sef o afon yr Aipht hyd yr afon fawr Euphrates, a'r holl genhedloedd hynny, ag oeddynt o'r blaen yn elynol iddynt, oedd yn awr wedi ymostwng yn heddychol danynt, a neb yn beiddio codi mewn gwrthryfel yn eu herbyn. Yr oedd yr addoliad Iuddewig yn awr wedi ei gyflawn sefydlu yn ei holl ordinhadau: yn bresennol, yn lle tabernacl symmudol yr oedd ganddynt y deml fwyaf harddwych, yr adeilad mwyaf drudfawr o'r un a fuasai o'i blaen, nag a fu byth wedi iddi gael ei dinystrio. Yr oedd y bobl yn awr yn mwynhau heddwch a helaethrwydd, "a phob un yn eistedd tan ei winwydden ei hun, a'i ffigysbren ei hun, yn bwytta, ac yn yfed, ac yn gwneud yn llawen." 1 *Bren.* 4. 20. Yr oeddynt yn awr yn y radd uchaf o lwyddiant daearol; yr oedd yr arian mor helaeth a'r cerrig, a'r tir oedd yn llawn o aur a meini gwerthfawr, a defnyddiau tramor gwerthfawr

eraill, pa rai a ddygid yn llongau Solomon o Ophir, a chan farchnattâwyr o fannau eraill o'r byd. Yn awr yr oedd ganddynt y doethaf o ddynion yn frenhin yn teyrnasu arnynt; yr hwn oedd y tywysog daearol, mae yn debyg, mwyaf a fu erioed o'i flaen. Yr oedd sôn am ei enwogrwydd yn awr wedi myned ar led i'r holl fyd, hyd onid oedd rhai o gyrrau pellaf y ddaear yn dyfod i gael golwg ar ei ogoniant a'i ddedwyddwch.

Fe welodd Duw yn dda fel hyn, yn un o hynafiaid Crist, osod allan gysgod nodedig o'i deyrnas ef, pan y byddai yn teyrnasu yn ei ogoniant. Dafydd, yr hwn a ymladdodd lawer yn ei oes, ac a dywalltodd lawer o waed, bywyd yr hwn oedd yn llawn brwydrau a thrallodau, oedd yn arddangos mwy o Grist yn ei sefyllfa ddarostyngol a milwrus, pan yr oedd efe, sef Crist, yn brwydro â'i elynion. Ond Solomon, yr hwn oedd yn ŵr heddychol, oedd yn arddangosiad mwy neillduol o Grist yn ei sefyllfa ddyrchafedig, yn teyrnasu yn fuddugoliaethus, yn ei deyrnas heddychol. Ac yr oedd sefyllfa ogoneddus a dedwydd yr eglwys Iuddewaidd y pryd hynny yn arwyddo dau beth:—1. Y sefyllfa ogoneddus y bydd yr eglwys ynddi ar y ddaear, yn oesoedd diweddaf y byd; y dyddiau heddychol hynny, pryd na chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl, ac na ddysgont ryfel mwyach.—2. Sefyllfa ogoneddus yr eglwys yn yr amser a ddaw yn y nefoedd: ni bu y Ganaan ddaearol erioed yn gysgod mor nodedig o'r Ganaan nefol ag oedd hi y pryd hynny, pan yr oedd pobl ddedwydd Israel yn mwynhau 'r wlad mewn gwirionedd, yr hon oedd yn llifeirio o laeth a mêl.

14. Wedi hyn gogoniant yr eglwys Iuddewig a ddiflanodd yn raddol, a hynny fwy-fwy o amser i amser, hyd oni ddaeth Crist; etto yr oedd ei diflaniad yn y fath fodd, a bod gwaith y prynedigaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen. Pa beth bynnag a fyddai yn diflannu ac yn nychu, yr oedd Duw yn wastadol o oes i oes yn dwyn ym mlaen y gwaith hwn; yr adeiladaeth yma oedd yn cynnyddu yn uwch o hyd. Yr ydoedd yn myned ym mlaen o hyd er rhwyddach parottoad i ddyfodiad Crist, tra y parhaodd nychdod yr eglwys Iuddewig, cystal a'i chynnydd; oblegid fod Llywodraethwr anfeidrol ddoeth y byd, wedi trefnu pethau mor rhyfeddol, fel pa beth bynnag a ddigwyddai ei fod wedi ei drefnu er daioni i'r diben mawr hwn, ac yn foddion i'w ddwyn ym mlaen. Pan y byddai yr Iuddewon yn flodeuog ac yn llwyddiannus, efe a barai i hynny fod yn gynnorthwyol i ddwyn ym mlaen y diben hwn; a phan y byddent mewn adfyd,

hynny a fyddai yn gynnorthwyol i ddwyn ym mlaen yr un peth. Tra yr oedd yr eglwys Iuddewig yn ei sefyllfa gynnyddawl, yr oedd gwaith y prynedigaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen trwy eu cynnydd hwy; a phan y daethant i agwedd wywedig a nychlyd, o amser Solomon hyd ymddangosiad Crist, yr oedd Duw yn dwyn ym mlaen waith y prynedigaeth trwy hynny. Yr oedd eu nychdod hwy ynddo ei hun yn beth ag yr oedd yr Arglwydd yn gwneud defnydd o hono, er rhwyddach parottoad i ddyfodiad Crist.

Fel y mae 'r lleuad o'r amser y byddo yn llawn, yn nesâu yn agosach agosach i'w chyssylltiad â'r haul; felly y mae ei goleuni hi yn lleihau yn raddol, hyd onid ydyw o'r diwedd yn dyfod i'w chyssylltiad â'r haul, ac yno y mae ei goleuni hi yn cael ei lyngeu i fynu yn hollol gan ei oleuni ef. Felly yr oedd gyd â'r eglwys Iuddewig, o'r amser yr oedd yn ei gogoniant uchaf yn nyddiau Solomon, hyd ei diflaniad. Yn niwedd teyrnasiad Solomon fe ddechreuodd pethau dywyllu, trwy ei fod ef wedi ymlygru gyd âg eilun-addoliaeth, yr hyn a fawr dywyllodd ogoniant y tywysog doeth a galluog hwnnw; trallodau oedd yn awr yn dechreu ymgyfodi yn ei deyrnas; ac ar ol ei farwolaeth hi a ranwyd, a'r deg llwyth a enciliasant oddiwrth wir addoliad yr Arglwydd, ac a osodasant i fynu y lloi aur yn Dan a Bethel. Yn fuan wedi hyn rhifedi y deg llwyth a leihawyd yn ddirfawr ym mrwydr Jeroboam gyd âg Abiah, pan y lladdwyd o Israel bum can mil o wyr dewisol; yr hyn oedd yn golled na adennillodd teyrnas Israel mo honi byth mwy.

Teyrnas Judah hefyd oedd yn awr yn hynod o lygredig. Yn amser Ahab yr oedd teyrnas Israel, nid yn unig yn addoli y lloi yn Dan a Bethel, ond hefyd yr oedd addoliad Baal yn cael ei ddwyn ym mlaen. O'r blaen yr oeddynt yn honni eu bod yn addoli y gwir Dduw trwy y delwau hynny, sef lloi Jeroboam; ond yn awr yr oedd Ahab wedi codi i fynu eilun-addoliaeth amlwg, ac addoliad uniongyrchol i dduwiau gau yn lle 'r gwir Dduw. Yn fuan wedi hyn fe ddygwyd eilun-addoliaeth ym mlaen yn nheyrnas Judah, sef yn nheyrnasiad Jehoram, yr hyn a fu mewn canlyniad iddo briodi Athaliah, merch Ahab. Wedi hyn fe ddechreuodd Duw fyrrhau terfynau Israel, trwy hollol ddinystrio ac anfon i gaethiwed y rhan hynny o'r bobl ag oedd yn preswylio y tu hwnt i'r Iorddonen. 2 *Bren.* 10. 32. Yna Tiglath-Pilezer a gaethgludodd yr holl rai hynny ag oedd yn cyfanneddu yn rhannau gogleddol y wlad. 2 *Bren.* 15. 29.

O'r diwedd y deg llwyth oll a ddygwyd allan o'u gwlad eu hunain gan Salmaneser. Wedi hyn hefyd teyrnas Judah a ddygwyd i gaethiwed Babilon, ac ni ddychwelodd rhan fawr o'r genedl byth yn ol; ac nid oedd y rhai hynny a ddychwelwyd, ond rhifedi bychan mewn cydmariaeth i'r hyn a ddygwyd i gaethiwed, a'r rhan fwyaf o honynt wedi eu dychweliad, oeddynt yn ymddibynol ar awdurdodau a llywodraethau eraill— buont unwaith yn ddeiliaid i frenhinoedd Persia, drachefn i bennaethiaid y Groegiaid, ac wedi hynny i'r Rhufeiniaid. A chyn amser Crist, yr oedd yr eglwys Iuddewig wedi myned yn hynod o lygredig, yn codi i fynu hunan gyfiawnder, ac wedi ei gorlifo âg ofergoel. Pa mor fechan oedd diadell eglwys Crist yn nyddiau ei gnawd!

Ond yr oedd Duw yn parottoi 'r ffordd mewn amrywiol ffyrdd, trwy raddol ddiflaniad yr eglwys Iuddewig, o amser Solomon hyd oni ddaeth Crist.

(1.) Yr oedd graddol ddiflaniad gogoniant yr oruchwyliaeth seremoniaidd hon yn arweiniad i roi lle ac agoriad ffordd i oruchwyliaeth ogoneddusach yr efengyl. Mae gogoniant yr hen oruchwyliaeth, y fath ag oedd yn amser Solomon, yn myned yn ddim, pan y cydmerir hi â'r oruchwyliaeth ysprydol a osodwyd i fynu gan Grist. Yr oedd yr eglwys yn amser yr Hen Destament, fel plentyn dan ymgeleddwyr a llywodraethwyr, ac yr oedd Duw yn ymddwyn tu ag atti fel tu ag at blentyn. Y mae yr apostol yn galw 'r gorwycheddau allanol ag oedd yn perthyn i'r oruchwyliaeth honno, yn egwyddorion llesg a thlodion, ac yr oedd yn addas iddi ddiflannu fel yr oedd amser Crist yn dynesu. Pan yr oedd Ioan Fedyddiwr, ei ragredegwr, yn llefaru am dano, efe a ddywedodd, "Rhaid ydyw iddo ef gynnyddu, ac i minnau leihau." *Ioan* 3. 30. Y mae yn addas i ogoniant y ser gilio, pan y byddo 'r haul yn agosâu i gyfodi.

(2.) Yr oedd y fath ddiflaniad graddol ar ogoniant yr eglwys Iuddewig yn tueddu i barottoi 'r ffordd i ddyfodiad Crist, fel yr oedd yn amlygiad o ogoniant gallu Duw, yn effeithiau goruchel y prynedigaeth. Yr oedd y fath leihau a gwanychu ar bobl Dduw, y naill gam ar ol y llall, hyd oni ddaeth Crist, yn hynod o debyg i'r lleihau a fu ar fyddin Gedeon. Yr Arglwydd a ddywedodd wrth Gedeon fod y bobl oedd gyd âg ef yn rhy luosog iddo ef roddi y Midianiaid yn eu llaw hwynt, rhag y byddai i Israel ymogoneddu yn ei erbyn ef, a dywedyd, "Fy llaw fy hun a'm hachubodd." Gan hynny, fe orchymynwyd i'r

holl rai ofnus ddychwelyd i'w cartrefi, ac fe ddychwelodd ugain mil, a deng mil a arosodd. Ond yr oeddynt drachefn yn rhy luosog; ac yno, wedi profi y bobl wrth y dwfr, fe'i lleihawyd i dri chan gwr. Felly yr oedd y bobl yn amser Solomon yn rhy luosog, galluog, a gogoneddus, i Grist ymddangos yn eu plith; gan hynny efe a'u lleihaodd hwy. Yn gyntaf, trwy anfon ymaith y deg llwyth, ac wedi hynny trwy y caethgludiad i Babilon; wedi hynny fe leihawyd eu gogoniant yn mhellach, trwy y llygredigaeth mawr a chyffredinol oedd yn eu plith pan y daeth Crist, fel pan ddaeth efe na chafodd ond ychydig iawn o bersonau duwiol yn eu mysg hwynt, a chyda dyrnaid bychan o ddisgyblion y gorchfygodd efe y byd. Y modd hyn y dygwyd pethau uchel i lawr, fel y byddai i Grist gael ei ddyrchafu.

(3.) Yr oedd hyn yn parottoi 'r ffordd i ddyfodiad Crist, fel yr oedd yn gwneud iachawdwriaeth yr Iuddewon a achubwyd trwyddo ef yn fwy amlwg. Er fod y rhan fwyaf o'r genedl Iuddewig wedi cael eu gwrthod, a'r Cenhedloedd yn cael eu dwyn i mewn yn eu lle, etto fe achubwyd llawer o filoedd o'r Iuddewon gan Grist wedi iddo adgyfodi. *Act.* 21. 20. Yr oeddynt yn cael eu cymmeryd o gyflwr mor isel, pan yr oeddynt dan gystudd tymhorol, yn eu caethiwed gan y Rhufeiniaid, ac mewn agwedd ofer-goelus ac annuwiol, fel yr oedd eu gwaredigaeth yn ymddangos yn fwy amlwg a gogoneddus. Gwnaethum sylw ar yr oruchwyliaeth hon o eiddo rhagluniaeth, yn dwyn yr eglwys Iuddewig i iselder trwy ddifianiad graddol, yn y lle hwn, am fod hynny wedi dechreu yn nheyrnasiad Solomon.

15. Myfi a sylwaf yn y man yma, fod canon yr Ysgrythyrau wedi cael ei ychwanegu yn amser teyrnasiad Solomon, neu yn fuan wedi hynny; rhai o honynt a ysgrifenwyd ganddo ef ei hun, fe allai yn agos i ddiwedd ei deyrnasiad, megis llyfr y Diarhebion a'r Pregethwr. Ond Cân y Caniadau, fel y'i gelwir, a ysgrifenwyd ganddo, sydd yn deilwng o sylw neillduol. Y mae yn hollol ar y testun sydd gennym, sef Crist a'r prynedigaeth—y mae yn arddangos y berthynas uchel a gogoneddus, yr undeb a'r cariad, sydd rhwng Crist a'i eglwys waredigol. Ac fe ymddengys i'r hanesiaeth ysgrythyrol gael ei ychwanegu yn amser teyrnasiad Solomon, a rhai o'r brenhinoedd dilynol nesaf atto, gan y prophwydi Nathan, Abiah, Semaiah, ac Ido. Ac y mae yn debygol, oddiwrth yr hyn a ddywedir yn 2 *Cron.* 9. 29. a 12. 15. a 13. 22. fod y rhan hynny o'r hanes sanct-

oidd ag sydd gennym yn llyfr cyntaf y Brenhinoedd, wedi cael ei ysgrifennu ganddynt hwy.

16. Peth hynod o ryfedd oedd i Dduw gynnal ei eglwys, a dal i fynu wir grefydd, trwy yr yspaid hwn o amser, pan yr ystyrier fod y bobl mor dueddol i eilun-addoliaeth. Pan yr oedd y deg llwyth yn gyffredinol wedi braidd hollol ymwrthod âg addoliad yr Arglwydd, efe a ddaliodd i fynu y wir grefydd yn nheyrnas Judah; a phan y byddent hwythau yn ymlygru âg eilun-addoliaeth, fel y byddent yn dra mynych, ac eilun-addoliaeth yn barod i ddiffoddi gwir grefydd, etto Duw a gadwodd fywyd yn y lamp, a phan y byddai pethau yn ymddangos wedi dyfod i'r pen pellaf, a gwir grefydd yn cymmeryd ei hanadl olaf, efe a roddai adfywiadau bendithlawn arni, trwy dywalltiadau nodedig o'i Yspryd, yn neillduol yn amser Hezeciah a Josiah.

17. Duw a gadwodd lyfr y gyfraith rhag myned ar goll am amser maith ag y buwyd yn ei barhaus esgeuluso, a phan yr oedd gelyniaeth gyffredinol tu ag atto. Y siampl fwyaf nodedig o hyn oedd, cadwraeth llyfr y gyfraith yn amser hir wrthgiliad Manasseh, ac wedi hynny yn nheyrnasiad ei fab Ammon. Yr yspaid hynny y bu llyfr y gyfraith yn cael ei fawr esgeuluso, ac yr oedd y fath ddiofalwch a halogedigaeth yn eu hymdriniaeth â gorchwylion y deml, fel y collodd y *copi* o'r gyfraith, ag oedd yn cael ei gadw wrth ystlys yr arch yn y lle sancteiddiolaf, am amser maith. Ni wyddai neb pa le yr ydoedd, etto Duw a'i cadwodd rhag hollol golli. A phan yr oeddynt yn adgyweirio y deml yn amser Josiah, hwy a'i cawsant ym mysg y malurion, wedi iddo fod ar goll dros amser maith, fel yr ymddengys fod Josiah ei hun yn dra dieithr iddo hyd y pryd hyn, 2 *Bren.* 22. 8.

18. Fod Duw yn cadw y llwyth, o ba un yr oedd Crist i ddyfod, rhag darfod am dano mewn amryw a mawrion beryglon trwy yr amser hwn. Eglwys weledig Crist oedd o deyrnasiad Solomon allan yn bennaf yn llwyth Judah. Nid oedd llwyth Benjamin, yr hwn a ymunodd âg ef, ond bychan iawn, a Judah oedd yn dra lluosog; ac megis y cymmerth Judah Benjamin dan ei nodded pan yr aeth efe i'r Aipht i gyrchu ŷd oddi yno, felly yr ymddengys fod llwyth Benjamin dan nodded Judah byth wedi hynny. Ac er fod codiad i fynu y lloi gan Jeroboam yn Dan a Bethel, yn achlysur i'r Lefiaid ffoi o holl lwythau eraill Israel i Judah, 2 *Cron.* 11, 13, etto nid oeddynt ond ychydig, ac heb eu cyfrif ym mysg y llwythau; ac er fod llawer

o'r deg llwyth ar yr achlysur hwnnw, er mwyn addoliad yr Arglwydd yn y deml, wedi gadael eu hetifeddiaethau, a symmud i aros yn Judah, ac ymgorpholi gyda hwy, etto yr oedd llwyth Judah yn gymmaint mwy lluosog, fel y galwyd hwy oll ar enw Judah. Gan hynny, yr Arglwydd a ddywedodd wrth Solomon, "Ond ni rwygaf yr holl frenhiniaeth; un llwyth a roddaf i'th fab di, er mwyn Dafydd fy ngwas, ac er mwyn Jerusalem yr hon a etholais." Felly hefyd pan y dygwyd y deg llwyth i gaethiwed, dywedir na adawyd ond llwyth Judah yn unig: ac oddiwrth hynny y galwyd hwy yn Iuddewon. 1 *Bren*. 11. 13, 32, 36. 2 *Bren*. 17. 18.

Hwn oedd y llwyth o ba un yr oedd Crist i ddyfod; ac yn hwn yn bennaf yr oedd eglwys weledig Duw yn gynnwysedig, o amser Solomon allan: y llwyth hwn oedd y bobl, ar ba rai y teyrnasai brenhinoedd ag oeddynt yn hynafiaid cyfreithlon i Grist, ac o dŷ Dafydd. Y bobl hyn a gadwyd mewn modd rhyfedd rhag cael eu dinystrio trwy yr yspaid hwn o amser, pan yr oeddynt mor fynych yn ymyl dinystr, ac o'r braidd yn diangc rhag cael eu llyngcu i fynu ganddo. Felly yr oedd yn amser Rehoboam, pan y daeth Sisac brenhin yr Aipht, gyda llu mawr yn erbyn Judah; etto Duw mewn modd amlwg a'u cadwodd rhag cael eu dinystrio. 2 *Bren*. 12. 2. A thrachefn yn amser Abiah, pan yr ymosododd Jeroboam mewn rhyfel yn ei erbyn ef gyd âg wyth can mil o wyr dewisol; byddin alluog iawn! 2 *Cron*. 13. 3. Yr Arglwydd a waredodd Judah y pryd hwn, er mwyn y cyfammod gras a gadarnhaodd efe â Dafydd, fel y mae yn amlwg oddiwrth *adn*. 4, 5. a'r fuddugoliaeth a gawsant oedd am fod yr Arglwydd o'u plaid, *adn*. 12. A thrachefn yn amser Asa, pan ddaeth Zera yr Ethiopiad, yn ei erbyn ef gyda byddin fwy nag yr un etto, sef mil o filoedd, a thri chant o gerbydau. 2 *Cron*. 14. 9. Yn yr amgylchiad hwn Asa a waeddodd ar yr Arglwydd, ac a ymddiriedodd ynddo, gan ystyried nad oedd ond yr un peth iddo ef gynnorthwyo y rhai nad oedd ganddynt allu; *adn*. 11. "Ac Asa a waeddodd ar yr Arglwydd ei Dduw, ac a ddywedodd, O Arglwydd, nid yw ddim i ti gynnorthwyo, pa un bynnag ai gyda llawer, ai gyd â'r rhai nid oes ganddynt gryfder." Ac o ganlyniad yr Arglwydd a roddodd iddynt fuddugoliaeth ogoneddus ar y llu galluog hwnnw.

Felly yr ydoedd drachefn yn amser Jehosaphat, pan yr oedd meibion Ammon, a Moab, a thrigolion Mynydd Seir, wedi cydfwriadu yn erbyn Judah, gyda byddin alluog, a nerth llawer

mwy nag a allasai Jehosaphat gyfodi; yr hwn, ynghyd â'i bobl, a ofnodd yn ddirfawr. Etto hwy a ymosodasant yn unfryd i geisio yr Arglwydd ar yr achlysur; ac a ymddiriedasant ynddo, ac fe hyspyswyd iddynt gan un o'i brophwydi ef, nad oedd raid iddynt ofni, ac na byddai iddynt achos i ymladd yn y frwydr hon, ond yn unig sefyll yn llonydd i edrych ar iachawdwriaeth yr Arglwydd. Yn ganlynol ni wnaethant ond sefyll yn llonydd, a chanu mawl i Dduw, yr hwn a wnaethai i'w gelynion wneuthur y gwaith eu hunain, trwy ladd y naill y llall; tra yr oedd meibion Judah heb ddim i'w wneuthur, ond casglu yr yspail, yr hwn oedd yn fwy nag a allasent gludo ymaith. 2 *Cron.* xx.

Felly hefyd yr oedd yn amser Ahaz, fel y sylwyd o'r blaen. Drachefn, yn amser Hezeciah, pan y daeth Senacherib brenhin Assyria, yr hwn oedd y llywodraethwr unbennaethol mwyaf yn y byd y pryd hwnnw, i fynu yn erbyn dinasoedd caerog Judah, wedi iddo ddarostwng y rhan fwyaf o'r gwledydd cymmydogaethol, ac anfon Rabsaceh, llywydd ei fyddinoedd, yn erbyn Jerusalem, yr hwn, mewn modd hynod o ddirmygus a balch, a wawdiodd Hezeciah a'i bobl, fel pe buasai yn sicr o fuddugoliaeth; a'r bobl oedd yn crynu gan ofn, fel ŵyn o flaen llewod. Yna Duw a anfonodd Esaiah y prophwyd i'w cysuro, ac i sicrhau iddynt na lwyddai yr Assyriaid yn eu hamcan. Yn wystl o'r waredigaeth efe a roddodd iddynt yr arwydd hwn, sef, y byddai i'r ddaear, am ddwy flynedd olynol, fwrw ymborth o honi ei hun, heb na hau nac aredig; ac yn y drydedd flwyddyn y byddai iddynt hau a medi, a phlannu gwinllanoedd, a bwytta o'u ffrwyth, fel yr oeddynt yn arfer o'r blaen. 2 *Bren.* 19. 29. Y mae hyn yn cael ei hyspysu fel cysgod o'r hyn a addewir yn *adn.* 30, 31. "A'r gweddill o dŷ Judah yr hwn a adewir, a wreiddia eilwaith i waered, ac a ddwg ffrwyth i fynu. Canys gweddill a â allan o Jerusalem, a'r rhai diangol o fynydd Sion: zel Arglwydd y lluoedd a wna hyn." Y mae yr ŷd yn tarddu i fynu drachefn, wedi iddo gael ei dorri â'r cryman, ac yn dwyn cnwd arall o'r gwreiddiau ag oedd yn ymddangos fel pe buasent wedi meirw, oedd yn arddangos adfywiad yr eglwys drachefn, fel pe buasai yn codi o'i lludw ei hun, ac yn blodeuo fel planhigyn a fuasai wedi ei dorri i lawr, ac yn ymddangos yn anadferadwy. Pan y byddo gelynion yr eglwys wedi gwneud eu heithaf, a phethau yn ymddangos fel pe baent wedi cyrhaedd eu hamcan i'w dadymchwelyd, fel o'r braidd yr oedd hi yn bod yn weledig, etto y mae bywyd dirgelaidd ynddi, yr hwn a wna

flaguro drachefn, a gwreiddio i lawr, a dwyn ffrwyth i fynu. Yr oedd hyn yn cael ei gyflawni yn awr; canys yr oedd brenhin Assyria eisoes wedi mudo ymaith y deg llwyth; a Senacherib oedd hefyd wedi cymmeryd holl ddinasoedd caerog Judah, ac wedi amgyrhaedd y wlad oddi amgylch ogylch. Jerusalem yn unig oedd yn aros, ac yr oedd Rabsaceh yn ol ei ddychymmygion ei hun, wedi ei llyngcu hithau i fynu, fel yr oedd hefyd yn ol tybiau ofnus yr Iuddewon eu hunain. Ond Duw a weithredodd waredigaeth ryfeddol. Efe a anfonodd ei angel, yr hwn mewn un noswaith a darawodd gant a phedwar ugain a phump o filoedd yn ngwersyll y gelyn.

19. Yn amser teyrnasiad Uzziah, a'r brenhinoedd dilynol iddo, fe welodd Duw yn dda i godi nifer o brophwydi enwog, y rhai oedd yn traddodi eu prophwydoliaethau i ysgrifen, i'w gadael ar eu hol er defnydd i'r eglwys trwy yr holl oesoedd. Fe sylwyd o'r blaen, fod Duw wedi dechreu sefydlu dilyniad o brophwydi yn Israel yn amser Samuel; ond y mae yn debygol na ysgrifenodd yr un o honynt lyfrau o brophwydoliaethau hyd yn awr. Y mae yn wir fod llawer o honynt wedi ysgrifennu hanesion am ryfeddol ragluniaethau Duw tu ag at ei eglwys, megis ag y sylwyd eisoes am Samuel, Nathan, Gad, ac Ido. Y mae yn ymddangos fod hanes Israel wedi cael ei ddwyn ym mlaen gan Ido a Semaiah. 2 *Cron.* 12. 15. "Am y gweithredoedd cyntaf a diweddaf i Rehoboam, onid ydynt hwy yn ysgrifenedig yn ngeiriau Semaiah y prophwyd, ac Ido y gweledydd, yn yr achau?" Ac wedi hynny, "Jehu mab Hanani, yr hwn y sonir am dano yn llyfr brenhinoedd Israel." 1 *Bren.* 16. 1,—7. Ac fe ddygwyd yr hanes ym mlaen drachefn gan Esaiah y prophwyd. "A'r rhan arall o weithredoedd cyntaf a diweddaf Uzziah, a ysgrifenodd Esaiah y prophwyd, mab Amos." 2 *Cron.* 26. 22. Y mae yn debygol mai efe a ysgrifenodd yn ail lyfr y Brenhinoedd, cystal ag yn llyfr ei brophwydoliaeth ei hun, yr hyn a ddygwyd ym mlaen ac a orphenwyd gan brophwydi eraill ar ei ol ef. Ond yn awr y cyfododd Duw i fynu gyntaf nifer o brophwydi enwog, nid yn unig i ysgrifennu hanesion, ond prophwydoliaethau hefyd. Fe dybir mai y cyntaf o'r rhai hyn oedd Hosea mab Beeri, ac am hynny y gelwir ei brophwydoliaeth, sef gair yr Arglwydd trwyddo ef, "Dechre ymadrodd yr Arglwydd trwy Hosea;" hynny yw, y rhan gyntaf yn y fath yma o'r gair ysgrifenedig. Efe a brophwydodd yn nyddiau Uzziah, Jotham, Ahaz, a Hezeciah,

brenhinoedd Judah, ac yn nyddiau Jeroboam mab Joas, brenhin Israel. Oddeutu yr amser hwn fe gyfododd amryw dystion eraill tros Dduw, i draddodi eu prophwydoliaethau i ysgrifen, megis Esaiah, Amos, Jonas, Michah, Nahum, ac fe allai rai eraill; ac felly, o'r amser hwn allan, yr oedd gan Dduw yn wastadol brophwydi yn ysgrifennu yn ddilynol.

Yr oedd hyn yn gynnyddiad mawr ar y gwaith, ag yr ydys yn llefaru am dano, fel yr ymddengys os ystyriwn mai prif orchwyl y prophwydi ydoedd gosod allan y prynedigaeth trwy Grist. Y diben mawr fod yspryd prophwydoliaeth yn cael ei roddi iddynt oedd, i'w galluogi i dystiolaethu am Grist; "canys tystiolaeth Iesu ydyw yspryd y brophwydoliaeth." *Dat.* 19. 10. Ac yr ydym yn gweled mai y prif beth y mae y rhan fwyaf o'r prophwydi yn sefyll arno yn eu hysgrifeniadau, yw Crist a'r prynedigaeth, ac amserau gogoneddus yr efengyl yn y dyddiau diweddaf; ac er fod llawer o bethau eraill wedi cael eu rhagfynegi ganddynt, etto fe ymddengys nad oedd y rhannau hynny o'u prophwydoliaethau, ond yn unig arweiniad i mewn i'r pethau hyn. Pa beth bynnag a fyddent yn ei ragfynegi, yn hyn yn gyffredinol y terfynai eu prophwydoliaeth.

Y prophwydi hyn a ysgrifenasant yn bennaf er parottoi 'r ffordd i ddyfodiad Crist, a'r gogoniant oedd i ganlyn. Ac ym mha ddull dyrchafedig y maent hwy oll yn llefaru am y pethau hynny! Y maent yn llefaru am bethau eraill fel dynion eraill; ond pan y maent yn dyfod at y testun hwn, pa oruchelder nefolaidd sydd yn eu hiaith! Y mae rhai o honynt yn dra neillduol a chyflawn yn eu rhagfynegiadau am y pethau hyn, ac uwchlaw pawb o honynt, y prophwyd Esaiah, yr hwn, gan hynny, mewn ystyr teilwng, a elwir yn brophwyd efengylaidd. Fe ymddengys ei fod yn traddodi athrawiaeth ogoneddus yr efengyl braidd mor eglur a'r apostolion, y rhai a bregethasant Grist wedi ei ddyfodiad. Gan hynny y mae 'r apostol Paul yn gwneud sylw ar hyn, ac yn dywedyd, fod "Esaias yn ymhyfhâu;" *Rhuf.* 10. 20. hynny yw, yn hynod o eglur, fel yr arferir y gair yn y Testament Newydd. 2 *Cor.* 3. 12. "Yr ydym yn arfer hyfder mawr." Pa mor eglur a chyflawn y mae 'r prophwyd Esaiah yn darlunio modd ac amgylchiadau, natur a diben, dioddefiadau ac aberth Crist, yn *pen.* 53. o'i brophwydoliaeth! Nid oes nemawr bennod yn y Testament Newydd ei hun yn fwy cyflawn ac eglur ar yr athrawiaeth. Gyda pha fath iaith oruchel y mae yr un prophwyd yn llefaru o bryd i bryd am ogoneddus

radau Crist, a'r bendithion annhraethadwy sydd yn dylifo i'r eglwys trwy y prynedigaeth ynddo ef. Iesu Grist, y Person am ba un yr oedd y prophwyd yn llefaru, a ymddangosodd iddo unwaith mewn ffurf ddynol yn ngwedd y natur a gymmerodd efe wedi hynny. *Pen.* 6. 1. "Gwelais hefyd yr Arglwydd yn eistedd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig, a'i odre yn llenwi y deml." Crist oedd yn awr yn ymddangos i Esaiah, fel y mae yn amlwg oddiwrth yr hyn a ddywedir yn y Testament Newydd. *Ioan* 12. 39,—41.

Os ystyriwn y prophwydoliaethau helaeth a ysgrifenwyd gan Esaiah, a'r prophwydi eraill, pa mor fawr oedd y cynnydd ar oleuni yr efengyl. Pa mor helaeth oedd y datguddiedigaethau a'r prophwydoliaethau am Grist yn awr, mewn cydmariaeth i'r hyn oedd yn amser cyntaf yr Hen Destament, sef o Adda hyd Noah; neu yn yr ail amser, o Noah hyd Abraham; neu ychydig cyn dyddiau Moses, neu yn ei amser ef, Josua, a'r Barnwyr. Rhan fawr o'r Hen Destament a ysgrifenwyd o ddyddiau Uzziah hyd y caethiwed i Babilon; a pha mor ardderchog ydyw y rhannau hynny o hono! Pa drysor gwerthfawr a drosglwyddodd y prophwydi hynny i eglwys Dduw, ag sydd yn tueddu i gadarnhau efengyl Crist; ac a fu o fawr fuddioldeb a chysur i eglwys Dduw trwy yr holl oesoedd o hynny hyd yn bresennol, ac a fydd felly yn ddiammau hyd ddiwedd y byd.

---

## RHAN VI.

*O amser y Caethiwed i Babilon hyd Ddyfodiad Crist.*

Yr wyf yn awr yn dyfod at amser diweddaf yr Hen Destament, gan ddechreu gyda chaethiwed Babilon, ac yn cyrhaedd hyd ddyfodiad Crist, yr hyn ydoedd y rhan fwyaf o chwe chan mlynedd, i ddangos y modd yr oedd gwaith y prynedigaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen trwy yr amser hwn.—Ond cyn dechreu ar ddim neillduol, myfi a sylwaf ar dri pheth, yn yr hyn yr oedd yr yspaid hwn yn gwahaniaethu oddiwrth yr amserau o'r blaen.

1. Er nad oes gennym hanes am ran fawr o'r amser hwn yn yr ysgrythyr, etto y mae ei ganlyniadau yn destun mwy i'r prophwydoliaethau na dim a ddigwyddodd o'i flaen. Y mae yr ysgrythyr mewn dwy ffordd yn gosod allan y digwyddiadau, trwy ba rai y dygir gwaith y prynedigaeth ym mlaen, sef naill

ai mewn hanesyddiaeth ai mewn prophwydoliaeth; a thrwy y naill neu 'r llall o'r ffyrdd hyn, y mae gennym hanes pa fodd y dygwyd ym mlaen waith y prynedigaeth o ddechreuad y byd. Er na cheir yr holl hanes am yr holl waith yn bennodol yn yr ysgrythyrau, etto fe gynnwysir ynddynt y gadwyn o'r holl ddigwyddiadau mawrion, trwy ba rai y dygir y gorchwyl hwn ym mlaen o'r cwymp hyd ddiwedd y byd, naill ai mewn prophwydoliaethau ai mewn hanesion. Ac y mae i'w sylwi arno, pan y mae diffyg yn yr ysgrythyr yn y naill o'r ffyrdd hyn, y mae yn cael ei wneud i fynu yn y llall. A'r lleoedd y mae pall yn yr hanesyddiaeth ysgrythyrol, yno y mae prophwydoliaeth yn cymmeryd lle; fel ag y mae 'r hanes yn cael ei ddwyn y'mlaen o hyd, ac ni thorrir mo'r gadwyn hyd oni ddelom i'r ddolen *(link)* olaf yn niddymiad pob peth.

A chan hynny y mae i'w sylwi mewn perthynas i'r amser yr ydys yn sôn am dano yn awr, er ei fod yn gymmaint llai testun hanesyddiaeth ysgrythyrol, na'r rhan fwyaf o'r amser o'r blaen, fel y mae mwy na phedwar can mlynedd, na rydd yr ysgrythyr i ni ddim hanes am danynt, etto y mae digwyddiadau yr amser hwn yn destun mwy i'r prophwydoliaethau na'r holl amserau eraill ynghyd. Y rhan fwyaf o'r prophwydoliaethau nodedig yn llyfr Daniel, ac yn Esaiah, Jeremiah, ac Ezeciel, yn erbyn Babilon, Tyrus, a'r Aipht, ac amryw genhedloedd eraill, a gyflawnwyd yr amser hwn.

Felly, y rheswm paham na roddir hanes yn yr ysgrythyrau am ran fawr o'r amser hwn yw, nid am nad oedd y digwyddiadau a ddigwyddasant ynddo mor fawr, neu yn llai teilwng i sylwi arnynt na digwyddiadau yr amserau o'r blaen, ond o herwydd amryw resymmau eraill a ellir eu rhoddi. Un o honynt ydyw, mai ewyllys Duw oedd i yspryd prophwydoliaeth ballu yr amser hwn, y rhesymmau am yr achos o hyn a roddir ym mlaen; felly nid oedd prophwydi i ysgrifennu hanesion yr amserau hyn; a chan fod Duw wedi bwriadu i hynny gymmeryd lle, efe a ofalodd na byddai i ddigwyddiadau mawrion yr amser hwn fod heb un sylw arnynt yn ei air. Y mae yn beth i sylwi arno, fod nifer y prophwydi a gyfododd Duw i fynu yn Israel, i ysgrifennu eu prophwydoliaethau, wedi eu codi tua diwedd yr amser o'r blaen y buom yn sôn am dano, ac oddeutu dechreu hwn; yr hyn a wnawd mewn rhan am fod yr amser yn awr wedi nesâu, pan y byddai i yspryd prophwydoliaeth ballu, ac na byddai ychwanegu at yr hanes ysgrythyrol, ac am hynny na byddai un hanesyddiaeth ysgryth-

yrol i'w gael, ond yr hyn a ellid ei gasglu oddiwrth y prophwydoliaethau.

Rheswm arall a ellir ei roddi paham y gadawyd rhan mor fawr o'r amser hwn heb ddim hanes am dano yn yr ysgrythyrau yw, am fod Duw yn ei ragluniaeth yn gofalu y byddai i hanes cyflawn a chredadwy gael ei gadw am dano mewn hanesyddiaeth cyffredin. Y mae i'w sylwi mewn perthynas i'r digwyddiadau yn y pum amser blaenorol, ag y rhoddir hanes am danynt yn yr ysgrythyr, nad ydyw hanesion cyffredin yn cyffwrdd â hwy, neu o'r hyn lleiaf âg ychydig o honynt. Y mae amryw hanesion ansicr a dychymmygol am bethau a ddigwyddasant yn yr amseroedd hynny; ond fe fernir yn gyffredin nad oedd dechreuad amseroedd hanesyddiaeth gredadwy ond ychydig gyda chan mlynedd cyn amser Nebuchodonosor. Yr oedd dynion dysgedig y'mysg y Groegiaid a'r Rhufeiniaid yn arfer galw yr oesoedd cyn hynny yn oesoedd ffugiol; ond yr amserau ar ol hynny a alwant yn oes hanesiawl. Ac y mae gennym hanesion dibetrus am y prif ddigwyddiadau, a fu o'r pryd hynny hyd ddyfodiad Crist, mewn hanesion cyffredin, pa rai sydd mewn modd rhyfeddol yn cyttuno â'r prophwydoliaethau sydd gennym yn yr ysgrythyr am yr amseroedd hynny. Fel hyn y cymmerodd y Duw mawr, yr hwn sydd yn llywio pob peth, ofal i roi hanesyddiaeth am bethau ar dechreuad y byd, trwy yr holl oesoedd blaenorol, y rhai nad oedd hanesion cyffredin yn cyrhaedd attynt; ac ni pheidiodd efe a gwneud hynny hyd oni ddaeth yr amseroedd diweddar hyn, yn mha rai y mae hanesion cyffredin yn hyspysu am bethau gyda gradd o sicrwydd: ac mewn perthynas i'r amserau hynny, y mae efe wedi rhoddi hyspysiaeth helaeth am danynt mewn prophwydoliaethau, fel trwy gydmaru hanesion cyffredin â'r prophwydoliaethau hynny, y gallem weled eu cyssondeb, a'r modd y maent yn cyttuno â'u gilydd.

2. Hwn oedd amser diweddaf yr Hen Destament, a'r agosaf at ddyfodiad Crist, ac fe ymddengys iddo gael ei ddosparthu yn nodedig oddiwrth yr holl amserau eraill yn y chwyldroadau mawrion a fu ym mysg cenhedloedd y ddaear, i wneud ffordd i ddyfodiad teyrnas Crist. Yr oedd yr amser yn awr wedi nesâu, ym mha un yr oedd Crist, y Brenhin mawr ac Iachawdwr y byd, i ymddangos, a mawr oedd y cyfnewidiadau a ddygwyd oddi amgylch, er rhwyddhau 'r ffordd i'w ddyfodiad ef. Y ffordd i'w ddyfodiad ef oedd yn cael ei pharottoi er cwymp dyn, trwy yr holl amseroedd o'r blaen; ond yn awr yr oedd yr amser

wedi agoshau, pethau yn dechreu aeddfedu yn gyflym, a dwyfol ragluniaeth yn gweithredu yn rhyfeddol. Y chwyldroadau mwyaf ag y ceir hanes am danynt, a ddigwyddodd yn yr amser hwn. Braidd yr holl fyd adnabyddus y pryd hynny, sef yr holl genhedloedd oddi amgylch gwlad Canaan, ym mhell ac yn agos, ag oedd o fewn cyrhaedd adnabyddiaeth trigolion Canaan, a ddadymchwelwyd drachefn a thrachefn. Yr holl wledydd oeddynt fel pe buasent yn cael eu gwaghau a'u dadymchwelyd, a phob cenedl yn ei thro yn cael ei darostwng a'i chaethgludo, a'r rhan fwyaf o honynt yn cael hynny yn fynych, yn yr amser hwn yn ol yr hyn a ddywedir yn y brophwydoliaeth; "Wele yr Arglwydd yn gwneuthur y ddaear yn wag, ac yn ei difwyno hi; canys efe a ddadymchwel ei hwyneb hi, ac a wasgar ei thrigolion." *Esa.* 24. 1.

Y gwaghau a'r dadymchwelyd yma, a ddechreuodd gyd âg eglwys weledig Duw, yn ei chaethgludiad gan frenhin Babilon. Ac yna y cwppan a aeth oddi wrthynt hwy oddi amgylch at yr holl genhedloedd eraill, yn ol yr hyn a ddatguddiwyd gan Dduw i'r prophwyd Jeremiah, (*pen.* 25. 15,—27.) Fe ymddengys fod yma gyfeiriad neillduol at y chwyldroadau mawrion oedd ar wyneb y ddaear yn amseroedd yr Ymerodraeth Babilonaidd. Ond fe fu dadymchweliadau cyffredinol ar y byd wedi hynny cyn dyfodiad Crist, trwy weithrediadau tair o frenhiniaethau mawrion a gyfododd ar ol yr Ymerodraeth Babilonaidd. Fe arddangosir brenhin Babilon yn yr ysgrythyr fel un yn dadymchwelyd y byd; ond wedi hynny yr Ymerodraeth Babilonaidd a ddadymchwelwyd gan Cyrus, yr hwn a sylfaenodd Ymerodraeth Persia yn ei lle hi; yr hon oedd yn llawer mwy ehang nag y bu Ymerodraeth Babilon pan oedd yn ei gogoniant mwyaf. Fel hyn y dadymchwelwyd y byd yr ail waith. Wedi hynny Ymerodraeth Persia a ddadymchwelwyd gan Alexander, a'r Ymerodraeth Roegaidd a godwyd i fynu ar ei hadfeiliau; yr hon oedd drachefn yn llawer mwy ehang nag un Persia. Fel hyn y dadymchwelwyd y byd y drydedd waith. Ac yn ddiweddaf Ymerodraeth Groeg a ddadymchwelwyd gan y Rhufeiniaid, a'r Ymerodraeth Rufeinaidd a sefydlwyd yn ei lle hithau; ac yr oedd hon yn rhagori yn fawr ar yr holl lywodraethau blaenorol mewn gallu ac ehangder ei llywodraeth. Ac felly y byd a ddadymchelwyd y bedwaredd waith.

Yr amrywiol lywodraethau hyn, a'r chwyldroadau mawrion a fu yn eu canlyn yn y byd, sydd yn cael llefaru yn helaeth am

danynt ym mhrophwydoliaethau Daniel. Y maent yn cael eu harddangos yn y ddelw aur, arian, pres, a haiarn, a welodd Nebuchodonosor, a'r esponiad a roddir gan Daniel i'r weledigaeth yn yr ail bennod; ac yn ngweledigaeth y pedwar bwystfil, a'r esponiad a roddir iddi gan yr angel yn y seithfed bennod. Dilyniad Ymerodraeth Persia a Groeg a arddangosir yn fwyaf neillduol yn ngweledigaeth yr hwrdd a'r bwch, yn yr wythfed bennod, a thrachefn yn yr unfed bennod ar ddeg.

Heblaw y pedwar dadymchweliad cyffredinol hynny, fe gadwyd y byd yn barhaus mewn terfysg ac aflonyddwch, trwy yr holl amser hwn hyd oni ddaeth Crist. Cyn hyn yr oedd wyneb y ddaear mewn tawelwch cydmariaethol; er fod llawer o ryfeloedd mawrion wedi bod, etto nid ydym yn darllen am y fath gynhyrfiadau galluog a chyffredinol ag oedd yn yr amser hwn. Yr oedd y rhan fwyaf o genhedloedd y byd, wedi hir aros megis ar eu gwaddod, heb gael eu tywallt o lestr i lestr, fel y dywedir am Moab. *Jer.* 48. 11. Yn awr yr oedd y cynhyrfiadau mawrion hyn yn bod oblegid fod amser y Messiah mawr yn agoshau. *Ezec.* 21. 27. "Dymchwelaf, dymchwelaf, dymchwelaf hi; ac ni bydd mwyach hyd oni ddelo yr hwn y mae yn gyfiawn iddo; ac iddo ef y rhoddaf hi." Wrth fynychu y gair dymchwelaf dair gwaith, y mae 'r prophwyd yn cyfeirio at dri dadymchweliad, fel yn *Dat.* 8. 13. Y mae mynychu y gair gwae dair gwaith, yn arwyddo tair gwahanol wae, fel yr ymddengys oddiwrth yr hyn a ganlyn: "Un wae a aeth heibio; wele, y mae yn dyfod etto ddwy wae ar ol hyn." *Dat.* 9. 12.

Y mae yn rhaid sylwi, fod Ezeciel yn prophwydo yn amser y caethiwed yn Babilon; a chan hynny fe fu tri dadymchweliad mawr a chyffredinol ar y byd wedi rhoddi y brophwydoliaeth hon, cyn dyfodiad Crist. Y cyntaf gan y Persiaid, yr ail gan y Groegiaid, a'r trydydd gan y Rhufeiniaid; ac wedi hynny, Crist, yr hwn oedd â hawl i wisgo 'r meitr a theyrnasu, oedd i ddyfod. Y mae yn amlwg fod y chwyldroadau mawrion hyn, y llefarir am danynt yma, yn rhagbarottoawl i ddyfodiad teyrnas Crist. Ond tu ag at iawn ddeall y geiriau, y mae yn rhaid sylwi ar yr ymadrodd, "Dymchwelaf, dymchwelaf, dymchwelaf hi," h. y. y meitr a choron Israel, neu dymhorol oruchel lywodraeth ar bobl weledig Duw. Hyn yr oedd Duw yn ei hyspysu trwy 'r prophwyd, na byddai mwyach; y goron oedd i gael ei chymmeryd ymaith, a'r meitr i'w symmud, fel y dywedir yn yr adnod o'r blaen. Nid oedd yr awdurdod oruchel ar Israel

i fod mwyach yn llin-âch frenhinol Dafydd, ym mha un yr oedd yn briodol iddi fod, ond fe'i symmudwyd, ac a'i rhoddwyd i eraill, ac a ddymchwelwyd o'r naill i'r llall. Yn gyntaf yr oedd yr awdurdod oruchel ar Israel i fod yn nwylaw y Persiaid; ac yna yr oedd i'w dadymchwelyd drachefn, ac i ddyfod i ddwylaw y Groegiaid; a thrachefn y byddai dadymchweliad arall, a'r llywodraeth yn dyfod i ddwylaw y Rhufeiniaid, ac na byddai mwyach yn y llin-âch o Dafydd, hyd oni ddeuai y person hwnnw, ag oedd yn fab i Dafydd, hawl briodol yr hwn oedd gwisgo y meitr, ac i'r hwn yr oedd Duw yn ei rhoddi.*

Fod yr holl chwyldroadau mawrion hynny yn parottoi'r ffordd i ddyfodiad Crist, a chodiad i fynu ei deyrnas ef, a ymddengys ym mhellach, oddiwrth yr hyn a ddywedir gan Haggai, pen. 2. 6, 7. "Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd; Unwaith etto, ennyd fechan yw, a mi a ysgydwaf y nefoedd, a'r ddaear, a'r môr, a'r sychdir; ysgydwaf hefyd yr holl genhedloedd, a dymuniant yr holl genhedloedd a ddaw: llanwaf hefyd y tŷ hwn â gogoniant, medd Arglwydd y lluoedd." Gwel hefyd adn. 21,—23. Y mae yn amlwg fod y cynhyrfiadau hyn, trwy ba rai yr oedd gorseddfeydd teyrnasoedd a byddinoedd yn cael eu dadymchwelyd, a phob un yn dyfod i lawr trwy gleddyf ei frawd ei hun, yn parottoi 'r ffordd i'w ddyfodiad ef, yr hwn yw dymuniant yr holl genhedloedd.

Y cyfnewidiadau a'r trallodau mawrion y cyfarfu yr eglwys weledig â hwy ar rai amserau, a gydmerir i wewyr arni hyd oni esgorai hi ar Grist. *Dat.* 12. 2. Felly, y trallodau a'r chwyldroadau mawrion a galluog hyn cyn geni Crist, oeddynt mewn cyffelybiaeth, fel pe buasai y byd mewn gwewyr i esgor arno ef. Y

---

* Nid oedd y deyrn-wialen i ymadael hyd oni ddeuai y Siloh; yma yr ydym yn gweled fod y goron i gael ei chymmeryd ymaith, ac nad oedd i'w hadferu hyd oni ddeuai y Messiah. Fe all y dywediadau hyn ymddangos ar y golwg cyntaf yn anghysson; ond hawdd yw eu cyssoni trwy sylwi ar y gwahaniaeth amlwg sydd rhwng teyrn-wialen y llwyth, a meitr y deyrnas. Y mae yn amlwg, fod yr Iuddewon yn ddeiliaid i ymerodraethau Paganaidd dros hir amser cyn ymddangosiad Crist yn y cnawd, ac etto heb eu hollol ddiosg o'r awdurdod dymhorol hyd ar ol hynny. Yr oedd gan yr Iuddewon ffurf o lywodraeth wladol, cystal ag eglwysig, yn eu mysg eu hunain; etto yr oeddynt mewn sefyllfa o gaethiwed, ac yn ddeiliaid i awdurdodau eraill. Mewn gair, yr oedd ganddynt awdurdod, ond nid awdurdod oruchel, yn eu plith eu hunain. Yr oedd hyn yn gwneuthur cyflawniad y prophwydoliaethau hyn yn llawer mwy eglur.

mae 'r apostol yn *Rhuf.* viii. yn arddangos yr holl greadigaeth fel pe bai yn cyd-ocheneidio, ac mewn gwewyr i esgor ar ryddid a datguddiad meibion Duw. Yr oedd bod y byd yn cael ei gadw cyhyd mewn rhyfeloedd a thywallt gwaed, yn parottoi 'r ffordd i ddyfodiad Tywysog tangnefedd, a'r agwedd yr oedd ynddo, yn dangos y mawr angenrheidrwydd am y fath Dywysog.

Fe welodd Duw yn dda i drefnu yn ei ragluniaeth, i awdurdod a llywodraeth ddaearol gael ei chodi i'r uchder mwyaf, ac ymddangos yn ei gogoniant pennaf yn y pedair brenhiniaeth fawr hynny a ddilynodd y naill y llall, ac y byddai i bob un o honynt fod yn fwy gogoneddus na'r un flaenorol, cyn iddo osod i fynu deyrnas ei Fab. Fel trwy hynny yr ymddangosai pa gymmaint y mae ei deyrnas ysprydol ef yn rhagori ar y teyrnasoedd bydol mwyaf gogoneddus. Yr oedd nerth a gogoniant teyrnas Satan yn ymddangos yn eu huchder mwyaf, yn y pedair brenhiniaeth hynny: canys llywodraethau y byd Paganaidd oeddynt, ac felly eu nerth hwy oedd nerth teyrnas Satan. Duw a oddefodd i'r ddiweddaf gyfodi i'r fath uchder mawr mewn awdurdod a gorwychedd cyn dyfodiad ei Fab, er parottoi 'r ffordd iddo ef gael buddugoliaeth mwy gogoneddus pan y deuai i'w dadymchwelyd. Yr oedd yn rhaid i Goliah ymwisgo yn ei holl arfogaeth pan yr oedd y llengcyn Dafydd yn dyfod i'w erbyn gyda ffon dafl a charreg, fel y byddai buddugoliaeth Dafydd yn fwy gogoneddus. Fe oddefodd Duw i un o'r llywodraethau mawrion hyn ddarostwng un arall, ac felly y naill i godi ar ddinystr y llall, ac yr oedd yr olaf o hyd yn ymddangos yn fwy nerthol, ond y ddiweddaf oedd y gryfaf a'r alluoccaf o honynt oll; felly Crist, wrth ddadymchwelyd hon, oedd megis pe buasai yn eu dadymchwelyd hwynt oll ar unwaith; fel y mae 'r garreg a dorwyd o'r mynydd, nid â dwylaw, yn cael ei harddangos megis yn malurio 'r ddelw o aur, arian, haiarn, pres, a chlai, hyd onid oedd y cyfan yn myned fel mân us yn y lloriau dyrnu haf.

Fe oddefwyd i'r ymerodraethau hyn gynhyrfu y byd, ac i'r naill ddinystrio y llall; ac er fod eu hawdurdod mor fawr, etto ni's gallasent eu cynnal eu hunain, ond hwy a syrthiasant y naill ar ol y llall, ac a ddaethant i ddiddymdra, ie, y ddiweddaf, yr hon oedd y gryfaf o honynt, ac a lyngcasai yr holl ddaear. Fe welodd Duw yn dda ddangos trwyddynt hwy anwadalwch a gwagedd pob mawredd daearol, y rhai oeddynt yn wasanaethgar fel addurn i osod allan ogoniant teyrnas ei Fab, yr hon ni ddinystrir byth. *Dan.* 2. 44. " Ac yn nyddiau y brenhinoedd hyn-

y cyfyd Duw y nefoedd frenhiniaeth yr hon ni ddistrywir byth: a'r frenhiniaeth ni adewir i bobl eraill; ond hi a faluria, ac a dreulia yr holl frenhiniaethau hyn, a hi a saif yn dragywydd." Gymmaint y mae hon yn gwahaniaethu oddiwrth yr holl frenhiniaethau hynny; y maent hwy yn diflannu ymaith, ac yn cael eu gadael i bobl eraill, ond hon a saif yn dragywydd. Fe oddefodd Duw i'r diafol i wneud ei egni i sefydlu ei achos trwy godi i fynu y llywodraethau mwyaf gogoneddus a nerthol yn y byd, cyn i'r Iesu, yr hwn oedd yn ddirmygedig gan ddynion, ei ddadymchwelyd ef yn ei ymerodraeth. Fe ddaeth Crist i'r byd i dynnu i lawr uchel bethau teyrnas Satan, "fel y byddai i law yr Arglwydd fod ar bob balch ac uchel, ac ar bob tŵr uchel, a phob magwyr gadarn." *Esa.* 2. 12. Ac oblegid hynny fe oddefwyd i'r pethau hynny gyfodi yn hynod o uchel, fel y byddai i Grist ymddangos yn gymmaint mwy gogoneddus uwchlaw iddynt. Mewn modd rhyfedd fel hyn y darfu i Lywodraethwr mawr a doeth y byd barottoi 'r ffordd i godi i fynu deyrnas ei anwyl Fab Iesu.

3. Peth arall neillduol nodedig yn yr amser diweddaf hwn, neu yr yspaid hwn cyn dyfodiad Crist, oedd rhyfeddol gadwraeth yr eglwys trwy yr holl ddadymchweliadau hyn. Yr oedd hynny, ar ryw gyfrifon, yn fwy nodedig trwy yr yspaid hwn nag yr un o'r amserau blaenorol. Yr oedd yn hynod o ryfedd fod yr eglwys, yr hon oedd yn awr mor wan, ac mewn agwedd mor isel, a chan mwyaf yn ddarostyngedig i lywodraeth yr unbennaethau Paganaidd, yn cael ei chadw yspaid pump neu chwe chan mlynedd ynghyd, tra yr oedd y byd mor fynych yn cael ei ddadymchwelyd, a'r ddaear megis yn cael ei rhwygo yn ddarnau, ac mor aml yn cael ei gwaghau a'i gosod yn ddifrod, a'i thrigolion yn cael eu torri i lawr cyn fynyched, pob un gan gleddyf ei frawd. Yr wyf yn dywedyd, mai peth rhyfedd oedd fod yr eglwys, yn ei sefyllfa isel a gwan, yr hon nad oedd ond dyrnaid bychan o bobl, yn cael ei chadw yn yr holl gynnyrfiadau mawrion hynny, yn neilltuol wrth ystyried fod gwlad Judea, yr hon oedd preswylfa bennaf yr eglwys yn nghanol y terfysgiadau hynny, ac fel pe buasai yn ganol-bwynt i'r pleidiau ymrafaelgar, ac yn fynych iawn yn anneddfa rhyfel yn eu mysg hwy, ac yn cael ei gorlenwi a'i sathru yn aml gan fyddinoedd; weithiau yn meddiant y naill bobl, bryd arall yn meddiant eraill; a'r genedl yn wrthddrych cenfigen a chasineb yr holl genhedloedd Paganaidd oddi amgylch iddi, ac yn cael ei dinystrio ganddynt

hwy, lluaws mawr o drigolion y wlad yn fynych yn cael eu lladd, a'r tir mewn mesur mawr yn cael ei ddiboblogi, a'r rhai hynny a fyddai yn awdurdodi arnynt yn bwriadu yn fynych i gwbl ddinystrio yr holl genedl. Etto fe'u cynnaliwyd hwy, ac a'u diogelwyd yn eu caethiwed yn Babilon, ac a'u cynnaliwyd drachefn yn y peryglon yr aethant trwyddynt tan frenhinoedd Persia, a'r peryglon mwy o lawer yr oeddynt yn ddarostyngedig iddynt drachefn dan ymerodraeth Groeg, ac wedi hynny pan y sathrwyd y byd gan y Rhufeiniaid.

Eu cadwraeth trwy yr yspaid hwn o amser oedd yn nodedig neillduol; canys nid ydym yn darllen i'r eglwys erioed mewn un amser blaenorol ddioddef erlidigaeth i'r fath radd ag y darfu iddi yr amser hwn dan Antiochus Epiphanes, fel y cawn son wedi hyn. Yr oedd cadwraeth yr eglwys trwy yr holl ddadymchweliadau hynny ar y byd, yn rhoi goleuni a chadarnhad ar yr hyn a ddarllenwn yn *Ps.* 46. "Duw sydd noddfa a nerth i ni, cymmorth hawdd ei gael mewn cyfyngder. Am hynny nid ofnwn pe symmudai y ddaear, a phe treiglid y mynyddoedd i ganol y môr: Er rhuo a therfysgu o'i ddyfroedd, er crynu o'r mynyddoedd gan ei ymchwydd ef."

Sylwais fel hyn ar ryw bethau cyffredinol, y'mha rai yr oedd yspaid diweddaf amseroedd yr Hen Destament yn gwahaniaethu oddiwrth yr amserau eraill. Yr wyf yn awr yn dyfod i sylwi yn fwy neillduol ar y modd y dygwyd gwaith y prynedigaeth ym mlaen.

1. Y peth cyntaf i fod dan sylw yn awr, ydoedd caethiwed yr Iuddewon yn Babilon. Goruchwyliaeth fawr o eiddo rhagluniaeth oedd hon, na bu ei chyffelyb erioed o'r blaen. Yr oedd plant Israel wedi cael eu mynych ddarostwng gan eu gelynion yn amser y barnwyr, ac amryw bersonau neillduol wedi cael eu cymmeryd i gaethiwed ar amserau eraill. Ond ni bu erioed y fath beth a dinystr hollol ar yr holl wlad, ac ar y cyssegr, a dinas Jerusalem, a holl bentrefydd y wlad, a chorph y genedl yn cael eu mudo o'u gwlad eu hun i wlad oedd amryw gannoedd o filltiroedd o bellder oddi wrthynt, a thir Canaan yn cael ei waghau o bobl weledig Duw. Fe ymadawodd yr arch unwaith o'r tabernacl yn Siloh, ac a'i caethgludwyd i dir y Philistiaid: ond erioed ni bu y fath beth a llosgi y cyssegr, a hollol ddinystrio yr arch, y dodrefn a'r llestri sanctaidd yn cael eu mudo ymaith, yr addoliad gosodedig yn cael ei rwystro, a'r tir yn ddifrod ac yn wag am gymmaint o flynyddoedd. Pa mor

fywiog y mae Galarnadau Jeremiah yn gosod y pethau hyn allan! Yr oedd gwaith y prynedigaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen trwy yr oruchwyliaeth nodedig hon yn y pethau canlynol:

(1.) Yr oruchwyliaeth hon a ddygodd iachad terfynol i'r genedl Iuddewig oddiwrth ei heilun-addoliaeth. Y mae y prophwyd Esaiah, wrth lefaru am godiad i fynu deyrnas Crist, yn dywedyd, y byddai i'r eilunod gael eu hollol ddiddymmu. Pan yr oedd yr amser yn nesâu ag yr oedd Duw am ddiddymmu eilun-addoliaeth Paganaidd trwy y rhan fwyaf o'r byd adnabyddus, fe ryngodd bodd iddo yn gyntaf ddiddymmu Paganiaeth ym mysg ei bobl ei hun, trwy eu caethiwed yn Babilon. Hwynt-hwy, ag oeddynt er's cynnifer o oesoedd mor dueddol i eilun-addoliaeth, fel nad oeddynt yn diwygio er yr holl farnedigaethau a ddaeth arnynt o'i herwydd, ie yr holl rybuddion, argyhoeddiadau, ceryddon, a gawsant, oedd heb atteb diben, ond yn awr hwy a gwbl feddyginiaethwyd; ac er y gallasai rhai o honynt syrthio i'r pechod hwn wedi hyn, fel y darfu oddeutu amser erlidigaeth Antiochus, etto fel cenedl ni ddangosasant unrhyw duedd mwyach iddo. Yr oedd hyn yn gyfnewidiad nodedig a rhyfeddol yn y bobl hynny, ac yn beth ag oedd yn dwyn ym mlaen yn union-gyrchol waith y prynedigaeth, fel yr ydoedd yn ddyrchafiad mawr ar achos gwir grefydd yn y byd.

(2.) Yr ydoedd yn un peth ag oedd yn parottôi'r ffordd i ddyfodiad Crist, a gosodiad i fynu oruchwyliaeth ogoneddus yr efengyl, fel ag yr ydoedd yn tynnu ymaith lawer o'r pethau hynny, ym mha rai yr oedd gogoniant yr oruchwyliaeth Iuddewig yn gynnwysedig. Yn gyntaf, yr oedd yn symmud ymaith y goron ddaearol o dŷ Dafydd, neu y llywodraeth oruchel ac anymddibynol oedd ganddynt yn eu mysg eu hunain. Yr oedd yr amser yn awr yn agosâu pan y byddai i Grist, Brenhin mawr a thragywyddol ei eglwys, deyrnasu, ac felly yr ydoedd yn bryd i'r brenhinoedd cysgodol gilio ymaith. Yr Iuddewon oeddynt o hyn allan, hyd oni ddaeth Crist, yr hyn oedd yn cynnwys yn agos i chwe chan mlynedd, yn ymddibynol ar genhedloedd eraill, oddieithr tua deng mlynedd a phedwar ugain y buont dan y Maccabeaid a'u hiliogaeth, am ba yspaid y cynnaliasant fath o lywodraeth anymddibynol, a hynny trwy ryfeloedd gwastadol.

Trwy y caethiwed hefyd, fe dynnwyd ymaith ogoniant a gorwychedd y deml, ac nid oedd y deml a adeiladwyd wedi hynny ddim mewn cydmariaeth iddi hi. Yr oedd hyn yn addas, gan fod yr amser yn nesâu i wrthgysgod gogoneddus y deml ym-

ddangos. Yn y caethiwed hefyd hwy a gollasant y ddwy lech faen a roddwyd i Moses, ar ba rai yr oedd Duw wedi ysgrifennu y deg gorchymyn â'i fys ei hun yn Mynydd Sinai. Ymddengys i'r llechau gael eu cadw yn yr arch hyd y caethiwed, ac yr oedd-ynt yno pan osododd Solomon hi yn y deml. 1 *Bren.* 8. 9. "Nid oedd dim yn yr arch ond y ddwy lech faen a osodasai Moses yno yn Horeb."

Peth arall a gollodd yr Iuddewon y pryd hyn, oedd yr Urim a Thummin. *Ezra* 2. 63. "A'r Tirsatha a ddywedodd wrthynt, na fwyttâent o'r pethau sancteiddiaf, hyd oni chyfodai offeiriad âg Urim ac â Thummin." Ac nid oes gennym hanes fod hwn byth wedi cael ei adferyd, ac y mae hen ysgrifeniadau yr Iuddewon yn dywedyd na adferwyd hwynt. Nid wyf yn bwriadu chwilio allan yn awr pa beth oedd yr Urim a Thummin, ond yn unig i sylwi mai rhyw beth ydoedd trwy yr hwn y byddai yr arch-offeiriad yn ymofyn â Duw, ac yn derbyn atteb digyfrwng oddi wrtho ef, neu beth y byddai yr Arglwydd yn rhoi hyspysiadau digyfrwng trwyddo ar achlysuron neillduol. Yr oedd hwn yn awr wedi cilio, yr amser oedd yn nesâu pan y deuai gwrth-gysgod yr Urim a'r Thummim, sef Crist, gair mawr a gwir oracl Duw.*

Peth arall y mae yr hynafiaethau Iuddewig yn ddywedyd ei

---

* Y mae y rhan fwyaf o'r ysgrifenwyr Cristionogol yn meddwl mai y meini gwerthfawr yn nwyfronneg yr arch-offeiriad oedd yr Urim a'r Thummim; ond y Rabbiniaid a ddywedant mai annrhaethadwy enw y JEHOFAH ydoedd yn argraphedig rhwng cyssylltiadau y meini; ond nid wedi ei argraphu gan y gweithwyr, fel y naddwyd y cerrig, ond gan Moses ei hun, fel yr oedd efe dan ddwyfol gyfarwyddyd. Y mae yn rhaid y byddai yr attebiad a roddai yr oracl hwnnw naill ai yr hyn a gesglid oddiwrth y llewyrch neillduol ar lythyrenau enwau y llwythau ag oedd yn argraphedig ar y meini, neu yr hyn a draddodid mewn llais oddiwrth y *Sechina*, fel ar amserau eraill, *Num.* 7. 8, 9. 1 *Sam.* 23. 11, 12. a 30. 8. 2 *Sam.* 2. 1. Y mae pawb yn cyttuno nad oedd ymofyn â'r oracl hwn yn gyfreithlon i neb ond y personau mwyaf enwog, a hynny ar yr achlysuron mwyaf pwysig. Y mae yr Iuddewon yn dywedyd na ddefnyddiwyd mo hono byth ar ol adeiladu teml Solomon, a'r rheswm a roddir ganddynt am hynny ydyw, fod y llwythau wedi ymrannu yn fuan wedi hynny, ac nad oedd yn gyfreithlon ymgynghori âg ef ond mewn achos a berth-ynai iddynt oll. Os oedd yr atteb yn cael ei roddi trwy lais o'r lle sancteidd-iolaf, yna fe ymddengys mai unig ddefnydd y ddwyfronneg ydoedd bod fel coffadwriaeth o'r deuddeg llwyth ger bron Duw; ac felly yn ei gysgodi ef, yr hwn sydd yn dwyn enwau ei holl bobl ddewisedig ger bron Duw, ac yn ym-ddangos felly yn wastadol ger ei fron ef trostynt hwy.

fod yn ol yn yr ail deml oedd y *Shechina*, neu gwmmwl y gogoniant ar y drugareddfa, yr oedd hwn yn addawedig i fod yn y tabernacl, *Lef.* 16. 2. "Canys mi a ymddangosaf yn y cwmmwl ar y drugareddfa." Ac yr ydym yn darllen fod cwmmwl y gogoniant yn aros ar y babell, *Exod.* 40. 35. ac felly yr un modd mewn perthynas i deml Solomon; ond nid oes gennym hanes fod y cwmmwl gogoniant hwn yn yr ail deml, ac y mae hen hanesion yr Iuddewon yn dywedyd nad oedd yno y fath beth. Nid oedd yn angenrheidiol am dano yn yr ail deml, gan fod Duw wedi addaw ei llenwi â gogoniant mewn modd arall, sef trwy ddyfodiad Crist iddi, yr hyn hefyd a gyflawnwyd. "Ysgydwaf hefyd yr holl genhedloedd, a dymuniant yr holl genhedloedd a ddaw: llanwaf hefyd y tŷ hwn â gogoniant, medd Arglwydd y lluoedd." *Hag.* 2. 7.

Y mae hen ysgrifeniadau yr Iuddewon yn sôn am beth arall ag oedd wedi cilio yr amser hwn, sef y tân o'r nefoedd ar yr allor. Pan adeiladodd Moses y tabernacl a'r allor yn yr anialwch, a phan offrymmwyd yr aberthau cyntaf, fe ddaeth tân o'r nefoedd ac a ysodd y poeth-offrwm. *Lef.* 9. 24. A thrachefn, pan adeiladodd Solomon y deml, ac yr offrymmwyd ebyrth ynddi y waith gyntaf, fe'i hyswyd gan dân o'r nefoedd yr un modd. 2 *Cron.* 7. 1. Nid oedd y tân hwn byth i'w ddiffoddi, ond yr oedd i'w gadw yn fyw gyd â'r gofal mwyaf. *Lef.* 6. 13. "Cynneuer y tân bob amser ar yr allor; na ddiffodded." Ac nid oes un sail i feddwl fod y tân hwnnw a ddifaodd yr aberth yn amser Solomon wedi diffoddi hyd oni ddinystriwyd y deml gan y Babiloniaid; ond y pryd hynny fe'i diffoddwyd, ac ni adferwyd mo hono byth. Ac fe orfu i'r Iuddewon, wedi eu dychwelyd o'r caethiwed, ddefnyddio eu tân cyffredin eu hunain yn ei le, fel y tystia eu hen draddodiadau. Fel hyn yr oedd goleuadau yr Hen Destament yn diffoddi ar ddynesiad gogoneddus Haul Cyfiawnder.

(3.) Y caethiwed yn Babilon a fu yn achlysur i beth arall, yr hyn, wedi hynny, a ddygodd ym mlaen ddyrchafiad ar deyrnas Crist yn y byd, sef gwasgariad yr Iuddewon trwy y rhan fwyaf o'r byd adnabyddus; canys yr holl genedl oedd wedi eu gyrru ym mhell allan o'u gwlad eu hun, ac mewn caethiwed parhaus am gymmaint yspaid o amser, ac felly llawer o honynt yn ennill meddiannau, ac yn adeiladu tai, ac yn cyfanneddu ynddynt, yn nhir eu caethiwed, yn ol yr annogaeth a roddwyd iddynt gan Jeremiah yn y llythyr a ysgrifenodd efe attynt. *Pen.* 29. A

chan hynny, pan y rhoddodd Cyrus ryddid iddynt i ddychwelyd i'r tir yr oeddynt yn byw ynddo o'r blaen, llawer o honynt a arosodd byth heb ddychwelyd. Nid oeddynt yn ewyllysgar i adael eu sefyllfaoedd a'u meddiannau yno, a myned i wlad anghyfannedd, yr hon oedd gynnifer o gannoedd o filltiroedd oddi wrthynt, a'r hon na welsai nemmawr o honynt heblaw yr hen bobl, ac felly nid oedd y rhai a ddychwelodd ond ychydig o nifer, a rhifedi mawr a arosodd yn ol, er hynny yr oeddynt yn glynu wrth yr un grefydd a'r rhai a ddychwelodd, cyn belled ag y gellid ei harfer mewn gwlad ddieithr. Ac fe dybir mai cenhadau a anfonwyd oddiwrth yr Iuddewon yn Babilon i ymofyn â'r prophwydi a'r offeiriaid yn Jerusalem oedd Sareser a Regemelech. *Zech.* 7.

Yr Iuddewon hynny a arosasant yn y wlad honno a gawsant yn fuan eu gwasgaru oddi yno i wledydd cymmydogaethol trwy y cyfnewidiadau mawrion a ddigwyddasant yn y byd. Felly yr ydym yn gweled yn amser Esther, yr hyn oedd wedi y dychweliad o'r caethiwed, fod yr Iuddewon yn wasgaredig trwy holl ymerodraeth eang Persia, yr hon oedd yn cyrhaedd o India hyd Ethiopia. *Est.* 3. 8. "A Haman a ddywedodd wrth y brenhin Ahasferus, Y mae rhyw bobl wasgaredig a gwahanedig ym mhlith y bobloedd, trwy holl daleithiau dy frenhiniaeth," &c. Ac felly y buont yn wasgaredig yn barhaus hyd oni ddaeth Crist, ac hyd onid aeth yr Apostolion allan ar led y byd i bregethu yr efengyl. Ond etto yr oedd yr Iuddewon gwasgaredig yn glynu wrth eu crefydd yn eu gwasgariad, yr oedd eu caethiwed, fel y sylwyd o'r blaen, wedi eu meddyginiaethu yn drwyadl oddiwrth eu heilun-addoliaeth; ac yr oeddynt yn arfer myned, gynnifer o honynt ag a allai, o amser i amser, i Jerusalem, i addoli ar y gwyliau gosodedig. Fel hyn yr ydym yn darllen fod yn Jerusalem, ar wyl fawr y Pentecost, Iuddewon o bob cenedl dan y nef, y rhai hynny oedd yn dyfod o'r holl wledydd i ba rai y gwasgarwyd hwynt, i fynu i addoli ar yr wyl fawr honno. Felly hefyd y gwelwn yn yr hanes a roddir yn llyfr yr Actau, fod yr apostolion, i ba le bynnag yr elent wrth bregethu yr efengyl trwy y byd, yn cyfarfod âg Iuddewon.

Antiochus Fawr, yn nghylch dau can mlynedd cyn Crist, ar un achlysur a symmudodd ddwy fil o deuluoedd o'r Iuddewon o'r wlad oddi amgylch Babilon i Asia leiaf, ac felly llawer o'r rhai hynny a'u hiliogaeth a sefydlasant yn Pontus, Galatia, Phrygia, ac yn Ephesus, ac o'r mannau hynny yr aeth llawer o

honynt i drigiannu yn Athen, Corinth, a Rhufain; yr hyn a fu yn achos o adeiladu y synagogau yn amryw o'r lleoedd hynny ag y bu Paul yn pregethu ynddynt. Y gwasgariad yma ar yr Iuddewon trwy y byd, cyn dyfodiad Crist, a fu yn barottoad i'w ddyfodiad ef, a rhwyddhad i'r ffordd i'w deyrnas gael ei chodi i fynu yn y byd. Yr oedd gwasgariad yr Iuddewon fel hyn yn foddion i godi disgwyliad cyffredinol trwy y byd am y Messïah, oddeutu yr amser y daeth: canys yr oedd yr Iuddewon, i ba le bynnag y gwasgerid hwy, yn dwyn yr ysgrythyrau sanctaidd i'w canlyn, ac felly y prophwydoliaethau am y Messïah; a chan eu bod yn cymdeithasu â'r cenhedloedd, ym mysg pa rai yr oeddynt yn byw, yr oedd y rhai hynny yn dyfod i gydnabyddiaeth â'r prophwydoliaethau, a'r disgwyliad oedd gan yr Iuddewon am eu Messïah gogoneddus, ac oddiwrth hyn yma fe ddechreuodd disgwyliad cyffredinol ynghylch yr amser hwn gymmeryd lle ym mysg cenhedloedd y byd am enedigaeth person gogoneddus yn ngwlad Judea, fel yr ymddengys oddiwrth yr hanesion a roddwyd gan ddynion dysgedig ag oedd yn byw y pryd hynny ym mysg y Paganiaid, ac y mae ysgrifeniadau rhai o honynt etto mewn bod. Virgil, prydydd enwog oedd yn byw yn Italy ychydig cyn genedigaeth Crist, a ganodd yn ardderchog ar y disgwyliad am y Tywysog mawr oedd i ymddangos, a'r amseroedd dedwydd o heddwch a chyfiawnder a ddeuai i'w ganlyn ef i'r byd, ac y mae rhai o'i ganiadau yn hynod o debyg mewn iaith i brophwydoliaeth Esaiah.

Yr oedd gwasgariad yr Iuddewon yn parottoi y ffordd i ddyfodiad Crist mewn modd arall, sef, trwy fod eu cyflwr gwasgaredig yn dangos yr angenrheidrwydd am ddiddymiad ar yr oruchwyliaeth Iuddewig, a gosodiad i fynu oruchwyliaeth newydd y cyfammod gras; yr ydoedd yn dangos angenrheidrwydd neilltuol am ddiddymiad ar y ddeddf seremonïol, a'r hen addoliad Iuddewig; canys yr oedd yn rhy anhawdd i'r Iuddewon eu hunain gyflawni y ddeddf seremonïol yn eu cyflwr gwasgaredig. Yr oedd deddf y seremonïau wedi ei chyfaddasu at sefyllfa pobl ag oedd yn byw ynghyd yn yr un wlad, lle yr oedd dinas wedi ei dewis gan Dduw, ym mha le hefyd yr oedd y Deml, yr unig le yr oedd yn ganiattaol iddynt offrymmu ebyrth, ac yr oedd yn gyfreithlon i'w hoffeiriaid a'u Lefiaid weinyddu eu swyddau, a'r lle hefyd yr oeddynt i ddwyn eu blaen-ffrwythau iddo; y wlad yr oedd eu dinasoedd noddfa ynddi, ac amryw bethau o'r cyffelyb. Ond trwy y gwasgariad hwn, llawer o'r Iuddewon oeddynt,

pan ddaeth Crist, yn byw mewn gwledydd eraill oedd fwy na mil o filltiroedd o bellder oddiwrth Judea, yr hyn oedd yn gwneuthur cyflawni deddf yr aberthau yn rhy anhawdd iddynt. Ac er y gallasai eu tadau fod yn feius beidio myned i wlad Judea pan y rhoddwyd caniattad iddynt gan Cyrus, etto yr oedd eu sefyllfa yn awr y fath, fel ag yr oedd yn rhy anhawdd i lawer o honynt fyned yno. Yr oedd hyn yn dangos yr angenrheidrwydd i godi i fynu oruchwyliaeth newydd ag a fyddai yn addas, nid yn unig i ryw wlad neu genedl neilltuol, ond i amgylchiadau cyffredinol yr holl genhedloedd.

Drachefn, yr oedd y gwasgariad hwn ar yr Iuddewon yn parottoi y ffordd i godi i fynu deyrnas Crist yn y byd mewn ffordd arall, fel yr oedd yn cynnorthwyo i roddi yr hanes am Grist a'i weithredoedd yn adnabyddus a chyhoeddus yn y byd. Canys fel y sylwais o'r blaen, yr oedd yr Iuddewon ag oedd yn byw mewn gwledydd eraill yn arfer myned i fynu i'r tair gwyl fawr a gynhelid o flwyddyn i flwyddyn yn Jerusalem, a thrwy hynny yr oeddynt yn gydnabyddus â'r newyddion am y pethau rhyfedd yr oedd Crist yn eu gwneuthur yn y wlad pan y daeth efe. Nyni a welwn, yn yr hanes sanctaidd, fod amryw o'r rhai hynny yn bresennol pan yr adgyfodwyd Lazarus gan yr Iesu, a'u bod yn gwneud sylw neilltuol ar y wyrth fawr honno, yr hyn hefyd a gynhyrfodd athrylith yr Iuddewon tramor a ddaethai i fynu i wyl y pasg, i ymofyn am weled yr Iesu. *Ioan* 12. 20, 21. Y mae yn amlwg mai Iuddewon tramor a phroselytiaid oedd y rhai hynny, gan eu bod wedi dyfod i addoli ar wyl y pasg. Yr Iuddewon hynny oedd yn byw yma a thraw yn mysg y Groegiaid, ac yn llefaru eu hiaith hwy, a elwid yn Roegiaid neu Helleniaid, felly y gelwir hwy yn *Act.* 6. 1. Nid Cenhedloedd Cristionogol oedd y Groegiaid hynny y lleferir am danynt yma; canys yr oedd hyn cyn galwad y Cenhedloedd.

Yr un modd y daeth yr Iuddewon hynny a ddaethent i fynu i Jerusalem o wledydd eraill i addoli yn hyspys am groeshoeliad Crist. Fel hyn yr oedd y disgyblion oedd yn myned tu ag Emmaus, pan nad oeddynt yn adnabod yr Iesu, yn rhyfeddu ei fod ef yn ddieithr i'r pethau a ddigwyddasent yn Jerusalem. "A wyt ti yn unig yn ymdeithydd yn Jerusalem, ac ni wybuost y pethau a wnaethpwyd ynddi hi yn y dyddiau hyn?" *Luc* 24. 18. Yr hyn oedd yn arwyddo yn eglur, fod y pethau ynghylch yr Iesu mor gyhoedd ac adnabyddus ym mysg yr holl bobl, fel yr oedd yn syndod ganddynt fod neb heb wybod am danynt. Felly

hefyd y daethant yn hyspys o'r newyddion am ei adgyfodiad ef; a phan y dychwelasant i'w cartrefi i'r gwledydd yr oeddynt yn byw ynddynt, yr oeddynt yn dwyn y newyddion hynny i'w canlyn, ac felly yn gwneuthur yr hanes am Grist yn gyhoeddus trwy 'r byd, fel y gwnaethent y prophwydoliaethau am dano yn gyhoeddus o'r blaen.

Wedi hyn hefyd, pan y tywalltwyd yr Yspryd ar ddydd y Pentecost, yr oedd yr Iuddewon tramor hynny a ddaethent i Jerusalem yn gwneud sylw neilltuol ar yr effeithiau rhyfeddol oedd yn ei ganlyn; a llawer o honynt a ddychwelwyd; sef, Parthiaid, Mediaid, Elamitiaid, a thrigolion Mesopotamia, a'r Aipht, a pharthau Lybia, yr hon sydd gerllaw Cyrene, a dieithriaid o Rufeinwyr, Iuddewon a phroselytiaid, Cretiaid ac Arabiaid. Yr oedd y rhai hynny, nid yn unig yn dwyn i'w canlyn y newyddion rhyfedd am Gristionogaeth, ond Cristionogaeth ei hun, i'r gwledydd yr oeddynt yn cyfanneddu ynddynt, yr hyn oedd yn cynnorthwyo yn fawr tu ag at ledaenu yr efengyl trwy 'r byd.

Yr oedd gwasgariad yr Iuddewon yn cynnorthwyo mewn modd arall tu ag at godi i fynu deyrnas yr efengyl yn y byd, sef, fel yr ydoedd yn agoryd y drws i'r Apostolion gael mynedfa i mewn i'r lleoedd hynny yr aethant iddynt i bregethu yr efengyl. Bron yn yr holl leoedd y buont yn pregethu'r gwirionedd, yr oeddynt yn cael synagogau Iuddewig, y'mha rai y darllenid yr Ysgrythyrau Sanctaidd yn feunyddiol, ac yr addolid y gwir Dduw; yr hyn oedd yn fantais fawr i'r Apostolion yn eu teithiau i ledaenu 'r efengyl: canys eu harfer ydoedd, i ba ddinas bynnag yr elent, i fyned yn gyntaf i mewn i synagogau yr Iuddewon, a phregethu yr efengyl yno, gan eu bod o'r un genedl a hwy. Trwy hyn yr oedd eu dyfodiad i'r lleoedd hynny, a'u hathrawiaeth newydd, yn dwyn sylw y Cenhedloedd ag oedd yn gymmydogion i'r Iuddewon hynny, a'u hathrylith oedd yn cael ei gynhyrfu i wrando pa beth oedd ganddynt hwy i'w ddywedyd, yr hyn oedd yn rhoi achlysur neilltuol i'r Apostolion i bregethu yr efengyl iddynt. Fe ymddengys oddiwrth yr hanes a geir yn Actau yr Apostolion, mai fel hyn yr oedd pethau yn bod. Ac yr oedd llawer o'r Cenhedloedd hynny wedi eu parottoi mewn mesur o'r blaen i dderbyn y gair trwy y wybodaeth oedd ganddynt am grefydd yr Iuddewon, eu bod yn addoli un Duw, ac yn disgwyl y Messïah, ynghyd â'r prophwydoliaethau oedd ganddynt am dano; yr oedd y wybodaeth hon a gawsent oddiwrth

yr Iuddewon, pa rai oeddynt wedi bod gyhyd o amser yn gymmydogion iddynt, yn agoryd y drws i'r efengyl i gael dyfodfa attynt. Yr oedd hyn yn ddiammheuol yn gwneuthur y gwaith o'u dychwelyd yn haws i'r Apostolion na phe buasent heb un disgwyliad am y fath berson ag oeddynt hwy yn ei bregethu, neu heb glywed am addoliad yr unig wir Ddûw. Felly yr oedd y caethiwed yn Babilon mewn amryw ffyrdd yn achlysur mawr i barottoi 'r llwybr i ddyfodiad Crist.

2. Y peth neilltuol y gwnaf sylw arno yn nesaf, ydoedd y chwanegiad a wnawd at Ganon yr Ysgrythyr yn amser y caethiwed, sef y ddwy gyfran nodedig hynny o'r ysgrythyr, prophwydoliaeth Ezeciel a Daniel. Crist a ymddangosodd i bob un o'r ddau brophwyd yma yn ffurf y natur a gymmerodd efe wedi hynny. Y mae 'r prophwyd Ezeciel yn rhoi hanes i Grist ymddangos fel hyn iddo yn fynych, *pen.* 1. 26. "Ac oddi ar y ffurfafen yr hon oedd ar eu pennau hwynt, yr oedd cyffelybrwydd gorsedd-faingc, fel gweledigiad maen saphir, ac ar gyffelybrwydd yr orsedd-faingc yr oedd oddi arno ef gyffelybrwydd megis gweledigiad dyn." Hefyd *pen.* 8. 1, 2. Felly hefyd yr ymddangosodd efe i'r prophwyd Daniel, *pen.* 8. 15, 16. "Yna wele, safodd ger fy mron megis rhith gwr. A chlywais lais dyn rhwng glannau Ulai, ac efe a lefodd ac a ddywedodd, Gabriel, gwna i hwn ddeall y weledigaeth." Y mae llawer o bethau, y rhai nad ydyw yn angenrheidiol eu nodi yn neilltuol, yn profi yn eglur mai Crist oedd y person hwn. Felly hefyd yr ymddangosodd efe drachefn i Daniel, *pen.* 10. 5, 6. "Yna y cyfodais fy llygaid, ac yr edrychais, ac wele ryw wr wedi ei wisgo â lliain, a'i lwynau wedi eu gwregysu âg aur coeth o Uphaz. A'i gorph oedd fel maen beryl, a'i wyneb fel gweledigiad mellten, a'i lygaid fel lampau tân, a'i freichiau a'i draed fel lliw pres gloyw, a sain ei eiriau fel sain tyrfa." Y mae 'n amlwg wrth gymharu 'r weledigaeth hon â'r un a gafodd Ioan, *Dad.* 1. 13. mai Crist oedd yr un a ymddangosodd i'r prophwyd. Y mae efe hefyd, yn y rhan hanesiol o'i lyfr, yn rhoi hanes am ymddangosiad hynod o nodedig o Grist gyda Sadrach, Mesach, ac Abednego, yn ffwrn Nebuchodonosor, *Dan.* 3. 25. "Wele fi yn gweled pedwar gwŷr rhyddion, a dull y pedwerydd sydd debyg i Fab Duw."

Crist a ymddangosodd yno, nid yn unig yn ffurf y natur ddynol, ond hefyd i waredu y rhai hynny ag oedd yn credu ynddo o'r ffwrn honno; yn yr hyn yr arddangosir i ni y modd y daeth efe ei hun i'r ffwrn o dân digofaint Duw i achub y rhai hynny a

gredant ynddo ef; ac nad ydyw digofaint Duw byth yn eu cyrhaedd, nac yn cyffwrdd â hwy, gymmaint ag i ddeifio gwallt eu pennau.

Y ddau brophwyd hyn ydynt, mewn amryw ystyriaethau, yn fwy neilltuol, mewn perthynas i ddyfodiad Crist, a theyrnas ogoneddus ei efengyl, nag yr un prophwyd a fuasai o'r blaen. Y mae pob un o honynt yn gwneuthur sylw manwl ar y chwyldroadau mawrion a fyddai yn rhagflaenu ei ddyfodiad ef yn y byd. Y mae Ezeciel yn neilltuol mewn amryw fannau o'i brophwydoliaeth mewn perthynas i ddyfodiad Crist; ac y mae y prophwyd Daniel yn rhagfynegi yn fwy eglur nag un prophwyd a fuasai o'r blaen am amser ei ddyfodiad ef. Yn y nawfed bennod o'i brophwydoliaeth, y mae efe yn rhagfynegi y byddai deng wythnos a thriugain, neu ddeng wythnos a thriugain o flynyddoedd, neu ddeg a thriugain seithwaith, hynny ydyw pedwar cant a deg a phedwar ugain o flynyddoedd o roddiad y gorchymyn i ail-adeiladu y deml, ac adferu 'r Iuddewon, hyd groeshoeliad y Messiah; y mae yn rhaid cyfrif yr amser hwn, ac i ddechreu gyd â'r caniattâd a roddwyd gan Artaxerxes i Ezra, a thrwy ei olygu yn y modd hynny y mae 'r unig amser y croeshoeliwyd Crist yn cael ei nodi allan, ac ni chafwyd y fath amlygiad erioed o'r blaen.

Y mae y prophwyd Ezeciel yn hynod o neilltuol yn y darluniad cyfriniol a rydd efe o'r eglwys efengylaidd, yn yr hanes y mae yn ei roi yn y rhan olaf o'i brophwydoliaeth, sef yn y weledigaeth mewn perthynas i'r deml a'r ddinas. Y mae y prophwyd Daniel yn nodi allan ddull neilltuol y digwyddiadau a ddeuai i'r eglwys Gristionogol ar ol dyfodiad Crist, megis cyfodiad Anghrist, parhad ei deyrnasiad, ei gwymp, a'r gogoniant a fydd yn canlyn hynny. Fel hyn y mae goleuni 'r efengyl yn cynnyddu fwyfwy, pa agosaf yr ydym yn dyfod at amser genedigaeth Crist.

3. Y peth neilltuol y sylwaf arno yn nesaf, ydoedd dinystr Babilon, a dadymchweliad ymerodraeth Caldea gan Cyrus. Babilon a ddinystriwyd y nos honno pan yr oedd Belsassar, a thrigolion y ddinas yn gyffredinol, yn ymdroi mewn meddwdod yn y wledd yr oeddynt yn ei chynnal i'w duwiau, pan y galwyd am Daniel i ddarllen yr ysgrifen-law ar galchiad y pared; a phethau a ddygwyd oddi amgylch er ei dinystr hi yn y fath fodd rhyfeddol ag oedd yn dangos llaw Duw, ac yn gyflawniad nodedig o'i air ef trwy ei brophwydi, yr hyn nas gellir yn awr sefyll

arno yn neilltuol.* Yn awr y ddinas fawr honno, yr hon a fu gyhyd o amser mewn gelyniaeth at ddinas Duw, sef Jerusalem, a ddinystriwyd, wedi iddi sefyll er pan adeiladwyd Babel gyntaf, oddeutu dau gant ar bymtheg o flynyddoedd. Ac os bu yr attalfa a roddwyd ar adeiladu y ddinas hon yn ei dechreuad cyntaf, trwy yr hyn y rhwystrwyd hwy i'w chodi i'r gorwychedd eithaf y bwriadasant, ïe, os oedd hynny yn ddyrchafiad ar waith y prynedigaeth, fel y dangosais ei fod, pa faint mwy oedd y distryw hollol hwn a ddaeth arni.

Yr ydoedd yn brawf nodedig o ddialedd Duw ar elynion ei eglwys; canys efe a ddygodd y dinystr hwn ar Babilon o herwydd y cam a wnaethai hi â'i blant ef, fel y dangosir yn fynych

* Y mae *Rollin* yn ei *Antient History* wedi casglu a threfnu amryw o'r prophwydoliaethau ag oedd yn cyfeirio at yr amser hwn, ac yn dangos pa mor fanwl y cyflawnwyd hwy. Y mae yr hyn a ganlyn yn dalfyriad o'i sylwadau.

1. Duw a ragfynegodd am gaethiwed yr Iuddewon yn Babilon, ac y byddai ei barhâd yn ddeng mlynedd a thriugain. *Jer*. 25. 11.

2. Yr achos o ddigofaint Duw yn erbyn Babilon oedd, ei balchder, a'i chreulondeb, tu ag at yr Iuddewon, ynghyd â'u hannuwiol gyssegr-yspail. *Esa*. 47. 6,--11.

3. Ei dedfryd yn cael ei chyhoeddi, a'r blinderau oedd i'w goddiweddyd, ynghyd â'i dinystr hollol ac anfeddyginiaethol. *Ps*. 137. 8, 9. *Esa*. 13, 44. *Jer*. 51.

4. Cyrus yn cael ei alw i'w dinystrio hi, ac i waredu yr Iuddewon. *Esa*. 45. 1,--4.

5. Duw yn rhoi arwydd i'r Cadpeniaid a'u marchluoedd i ymosod ar Babilon. *Esa*. 13. 2, 5. a 21. 2.

6. Amgylchiadau neilltuol mewn perthynas i'r gwarchae a fu ar Babilon, a'r modd y cymmerwyd hi.—Y byddai y fyddin yn gynnwysedig o Fediaid a Phersiaid. *Esa*. 21. 2. *Jer*. 51. 11.—Yr ymosodent ar y ddinas yn ddisymmwth. *Esa*. 47. 11.—Y byddai i afon Euphrates gael ei sychu. *Jer*. 50. 38, 39. a 51. 36.—Y byddai i'r ddinas gael ei chymmeryd pan y byddai y dinasyddion yn nghanol eu gloddest a'u rhysedd. *Jer*. 51. 39,—57.—Y byddai i'r brenhin gael ei ddal â dychryn disymmwth. *Esa*. 21. 3, 4. *Dan*. 5. 6.—Y byddai iddo drachefn ddychwelyd at ei loddest. *Esa*. 21. 5.—Y byddai i farchluoedd Babilon, pa rai oeddynt gan mwyaf o wledydd pellenig, gael eu gwasgaru, ac y ffoent i'w cartrefleoedd. *Esa*. 12. 4.—Na chai y brenhin ei gladdu gyd â'i hynafiaid. *Esa*. 14. 19, 20.—Y lleddid ei blant ef. *Esa*. 14. 21, 22.

Pob un o'r pethau hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol. Ac un o'r pethau mwyaf hynod ydoedd i Cyrus allu trefnu ffordd i arwain ei luoedd trwy afon Euphrates i mewn i'r ddinas y noson yr oedd y wledd loddestawl yn cael ei chynnal, yr hyn a fu, trwy ragluniaeth Duw, pan yr oedd y gwarchawdlu wedi esgeuluso cau pyrth y dwfr.

gan y prophwydi. Yr oedd hyn hefyd yn gynnydd ar waith y prynedigaeth, fel trwy y dinystr yma ar y Babiloniaid yr oedd pobl Dduw, ag oeddynt mewn caethiwed ganddynt, yn cael rhyddid i ddychwelyd i'w gwlad eu hun i ail-adeiladu Jerusalem; a chan hynny y geilw Duw Cyrus, yr hwn a fu yn offeryn i wneuthur hyn, ei enneiniog. *Esa.* 45. 1. A'r pethau hyn oedd, heblaw y moddion hynny trwy ba rai y codwyd ac y dadymchwelwyd pedair unbennaeth y byd, yn dwyn ym mlaen waith y prynedigaeth, yr hyn y sylwyd arno o'r blaen.

4. Y peth nesaf a ganlynodd hyn, ydoedd dychwelyd yr Iuddewon i'w gwlad eu hun, ac ail-adeiladu y ddinas Jerusalem, a'r Deml. Yn fuan wedi i Cyrus ddinystrio yr ymerodraeth Babilonaidd, a chodi i fynu un Persia, efe a roddodd orchymyn, o ewyllys da i'r Iuddewon, y caent ddychwelyd i'w gwlad, ac ail-adeiladu eu teml a'u dinas. Yr oedd y dychweliad hwn i'r Iuddewon o gaethiwed Babilon yr amgylchiad tebyccaf i'r waredigaeth o'r Aipht o unrhyw beth y ceir hanes am dano, yr ydoedd yn waredigaeth fwyaf nodedig o holl waredigaethau yr Hen Destament, ac a osodir allan yn yr ysgrythyr fel y cysgod mwyaf o'r waredigaeth fawr trwy Iesu Grist. Yr ydoedd dan arweiniad un o hynafiaid cyfreithlon Crist, sef Zorobabel mab Salathiel, enw Babilonig yr hwn oedd Sesbazzar. Efe oedd llywodraethwr yr Iuddewon, a'u harweinydd yn eu dychweliad cyntaf o'u caethiwed; ac efe a Josuah mab Josedec yr archoffeiriad, oedd â'r llaw bennaf ganddynt yn ail-adeiladu y deml. Y waredigaeth hon a ddygwyd oddi amgylch trwy ddwylaw Zorobabel a Josuah yr offeiriad, fel y dygwyd y waredigaeth o'r Aipht oddi amgylch trwy ddwylaw Moses ac Aaron.

Yr oedd y dychweliad o'r caethiwed yn oruchwyliaeth nodedig o eiddo rhagluniaeth. Yr ydoedd yn beth tra hynod i galon Tywysog Paganaidd, fel Cyrus, gael ei thueddu i gefnogi y fath amcan, megis ag y darfu iddo, nid yn unig roi rhyddid i'r bobl ddychwelyd, ac ail-adeiladu y ddinas a'r deml, ond hefyd efe a roddodd orchymyn iddynt gael eu cynnorthwyo âg arian, aur, ac anifeiliaid. *Ezra* 1. 4. Fe dueddwyd calon Darius, mewn modd rhyfedd wedi hynny, i fyned âg adeiladaeth tŷ Dduw ym mlaen, ar draul ei arian teyrnged ei hun, a thrwy orchymyn i'w elynion chwerwon, y Samariaid, y rhai oedd yn ymegnïo i'w rhwystro, i'w cynnorthwyo o ddydd i ddydd â phob peth angenrheidiol i fyned â'r gwaith ym mlaen. Efe hefyd a osododd orchymyn i dynnu coed o dŷ pwy bynnag a wrthodai

gynnorthwyo fel hyn, a'u gosod i fynu, a'i grogi ef arnynt, ac y cai ei dŷ ef fod yn dommen. *Ezra* 6. Wedi hynny fe duedd-odd Duw galon Artaxerxes, un arall o frenhinoedd Persia, i ddwyn ym mlaen y gorchwyl o ddiogelu yr Iuddewon yn eu sefyllfa, trwy y caniattâd eang a roddodd efe i Ezra, ac o'i hael-ioni efe a'u cynnorthwyodd yn helaeth âg arian, ac aur, ac erchi offrymmu mwy, fel y byddai angen yn galw, o drysordŷ y bren-hin, a gorchymyn i'w drysorwyr, y tu hwnt i'r afon Euphrates, i roddi ychwaneg, os byddai yn angenrheidiol, hyd at gant o dalentau arian, a chan mesur o wenith, a chan bath o win, a chan bath o olew, a halen heb fesur. Efe hefyd a roddodd ganiattâd i sefydlu Barnwyr yn y wlad, ac a ryddhaodd yr offeiriaid oddi-wrth rwymau i dalu toll, teyrnged, a threth, a llawer o bethau eraill, ag oedd yn gwneud cyhoeddiad a chaniattâd Artaxerxes yn fwy eang a helaeth mewn ewyllys da i'r Iuddewon i adferu Jerusalem nag yr un a roddwyd un amser: ac oddiwrth hyn y gelwir y cyhoeddiad hwn yn orchymyn i adferu ac adeiladu Jerusalem, ym mhrophwydoliaeth Daniel, ac oddi yma y mae y deng wythnos a thriugain yn cael eu dyddiad.

Fe roddwyd cennadwri gymmwynasgar i'r Iuddewon wedi hyn gan frenhin Persia i Nehemiah. *Pen.* 2. Yr ydoedd yn beth hynod fod calonnau Tywysogion Paganaidd yn cael eu tu-eddu yn y fath fodd. Yr oedd hyn yn tarddu oddiwrth effeith-iau gallu yr hwn y mae calonnau brenhinoedd yn ei law, ac yn eu troi hwy y ffordd y mynno efe, ac yr ydoedd hefyd yn brawf neilltuol o'i ewyllys da ef tu ag at ei bobl.

Amgylchiad arall y cyfarfu yr Iuddewon âg ef yn eu hail sef-ydliad yn eu gwlad eu hun, sef bod i hynny gael ei gyflawni yn ngwyneb cymmaint o wrthwynebrwydd oddiwrth eu gelynion chwerwon a diorphwys, y Samariaid, pa rai, am amser maith, a'u gwrthwynebasant gyda phob dichell genfigennus a allasent ymarfer tu ag attynt, gan geisio eu dinystrio hwy. Unwaith fe amcanodd Bislam, Mithredath, Tabeel, Rehum, a Simsai, eu niweidio; wedi hynny Tatnai, Sethar-bozuai, a'u cyfeillion; a thrachefn, Sanbalat, a Tobiah, fel y gwelir yn llyfr Nehemiah, *Pen.* iv. v.

Dangosais o'r blaen y modd yr oedd sefydliad y bobl yn y tir yn amser Josuah yn dwyn ym mlaen waith y prynedigaeth. Ar yr un cyfrif yr oedd eu hail-sefydliad yno yn perthynu i'r un gorchwyl. Yr oedd ail-sefydliad yr Iuddewon yn ngwlad Canaan yn perthynu i'r gwaith hwn, fel yr oedd yn foddion

angenrheidiol i gadw yr eglwys a'r oruchwyliaeth Iuddewig mewn bod, hyd oni ddeuai Crist. Pe na buasai yr adferiad yma ar yr eglwys, a'r addoliad Iuddewig, ynghyd â'r deml, buasai y bobl yn aros heb wlad o'u heiddo eu hunain i fod yn brif gartref, ac heb deml, a lle i addoli, a chyfaneddfa i ymgynnull iddi. Yr holl sefydliadau ag y gwnaethai Duw gymmaint er eu gosod i fynu a fuasai mewn perygl i ballu yn hollol, amser maith, cyn i'r chwe chan mlynedd oedd o'r caethiwed hyd ddyfodiad Crist ddyfod i ben. Ac felly, buasai yr holl ragbarottoi a fu gan Dduw, er amser Abraham i ddyfodiad Crist, yn myned yn ofer. Ond yn awr yr oedd y deml honno yn cael ei hadeiladu, yr hon yr oedd Duw wedi addaw ei llenwi â gogoniant, trwy ddyfodiad y Messiah iddi, fel yr oedd y prophwydi Haggai a Zechariah yn llefaru wrthynt er eu calonnogi i'w hadeiladu.

5. Y peth neilltuol i sylwi arno yn nesaf, ydoedd y chwanegiad a wnawd at Ganon yr Ysgrythyrau, yn fuan ar ol y caethiwed, gan y prophwydi Haggai a Zechariah, pa rai a anfonwyd i galonogi y bobl i ail-adeiladu y ddinas a'r deml, a'r prif reswm yr oeddynt yn gwneud defnydd o hono i'r diben hwnnw oedd, fod amser ymddangosiad Crist yn dynesu. Fe ragfynegodd Haggai y deuai efe o hiliogaeth Zorobabel, *Pen.* 2. 23. Y mae yn ymddangos fod hwn yn un o'r datguddiedigaethau diweddaf a mwyaf hynod am achau Crist, hyd oni anfonwyd yr angel Gabriel i'w ddatguddio i Mair ei fam.

6. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno, ydoedd y tywalltiad o Yspryd Duw a fu yn canlyn gweinidogaeth Ezra yr offeiriad, wedi y dychweliad o'r caethiwed. Yn ddioed wedi i Ezra ddyfod i fynu o Babilon, gyd â'r caniattâd helaeth a roddwyd iddo gan Artaxerxes (yr amser hwn y dechreuodd deng wythnos a thriugain Daniel) efe a ymosododd i ddiwygio yr Iuddewon oddiwrth y drygau a'r llygredigaethau a ganfu efe yn eu mysg; ac y mae gennym hanes am ei fawr lwyddiant yn hynny yn y ddegfed bennod o'i lyfr; fel yr ymddengys fod galar mawr yn nghynnulleidfa Israel yn gyffredinol oblegid eu pechodau, mewn canlyniad i hyn yr aeth y bobl i gyfammod difrifol â Duw, a diwygiad mawr a chyffredinol a gymmerodd le. Oddeutu yr un amser yr oedd y bobl gyda mawr zel, parch, a difrifoldeb, yn ymgasglu ynghyd i wrando ar air Duw yn cael ei ddarllen gan Ezra; ac yr oeddynt yn gwrando yn astud, tra 'r oedd Ezra a'r offeiriaid eraill yn pregethu iddynt wrth ddarllen ac esponio y gyfraith, a'r gwrandawiad oedd yn effeithio yn fawr arnynt.

Hwy a wylasant pan glywsant eiriau y gyfraith, ac ymroisant i wneuthur sylw arni, a chadwasant wyl y pebyll, fel y mae 'r ysgrythyr yn nodi, yn y fath fodd na chadwyd o'r blaen er dyddiau Josuah mab Nun. *Neh.* 8. Wedi hyn ymddidolasant oddiwrth bob dieithriaid, a thrwy wrando gair Duw, hwy a ymostyngasant mewn ympryd difrifol, gan gyffesu eu pechodau, ac adnewyddu eu cyfammod â Duw; a hwy a ddangosasant eu cywirdeb yn y gorchwyl hynny, trwy weithredol ddiwygio llawer o gamymddygiadau mewn crefydd a moesau.

Y mae yn beth i sylwi arno, y modd yr oedd Duw, ym mhob sefydliad newydd ar sefyllfa ei eglwys weledig, yn rhoi tywalltiad nodedig o'i Yspryd. Felly yr ydoedd ar sefydliad cyntaf yr eglwys Iuddewig pan y daeth i Ganaan dan arweiniad Josuah, fel y sylwyd o'r blaen; ac hefyd yn yr ail-sefydliad hwn yn yr un tir yn amser Ezra; ac felly yr ydoedd ar sefydliad cyntaf yr eglwys Gristionogol wedi adgyfodiad Crist. Yr oedd Duw mewn modd doeth a grasol yn gosod sylfaen y sefydliadau hyn mewn gwaith o eiddo ei Yspryd sanctaidd, er buddioldeb parhaus i gyflwr ei eglwys, ac o hynny allan i aros yn y sefydliadau hynny. Yr oedd y tywalltiad hwn o Yspryd Duw yn feddyginiaeth derfynol i'r genedl honno oddiwrth y pechod neilltuol, yr hwn ychydig o'r blaen yr oeddynt yn neillduol yn rhedeg iddo, sef ymgymmysgu mewn priodasau gyd â'r Cenhedloedd; canys pa mor dueddol bynnag oeddynt iddo o'r blaen, ni ddangosasant un tuedd iddo byth wedi hynny.

7. Ezra a chwanegodd at Ganon yr Ysgrythyr. Efe a ysgrifenodd y llyfr a elwir ar ei enw; ac fe dybir mai efe a ysgrifenodd ddau lyfr y Cronicl, neu o'r hyn lleiaf, mai efe oedd eu casglydd, os nad awdwr eu defnyddiau. Fod y llyfrau hynny wedi eu cyfansoddi, a'u hysgrifennu, neu eu cyflawn orphen, wedi y caethiwed, a ymddengys oddiwrth y pethau sydd yn ysgrifenedig ynddynt; canys y mae yr achau yn cael eu dwyn ym mlaen trwy y caethiwed. 1 *Cron.* 3. 17. Yno y cawn hanes hiliogaeth Jehoiacim trwy amryw ddilynol genedlaethau. Ac fe sylwir, yn y llyfrau hynny, ar y caethiwed hwn yn Babilon fel peth oedd wedi bod, a myned heibio, ac felly ar bethau oedd yn cael eu gwneud ar ddychweliad yr Iuddewon oddi yno, megis y gwelir yn y nawfed bennod. Y mae y bennod honno, gan mwyaf, yn rhoi hanes pethau a ddigwyddasant wedi y caethiwed, fel y gwelir wrth ei chydmaru â'r hyn a ddywedir yn llyfrau Ezra a Nehemiah. Ac mai Ezra a gyfansoddodd y llyfrau

hynny sydd yn dra thebygol oddiwrth eu bod yn cael eu diweddgloi â geiriau ag y gwyddom eu bod yn hanes Ezra. Y ddwy adnod olaf o ail lyfr Cronicl ydynt y ddwy adnod gyntaf o lyfr Ezra.

8. Fe dybir fod Ezra wedi casglu ynghyd yr holl lyfrau yn y rhai yr oedd yr ysgrythyrau sanctaidd yn gynnwysedig y pryd hynny, a'u dosparthu i drefn addas. Fe lefarir yn fynych am Ezra fel ysgrifenydd enwog a nodedig o gyfraith Duw, ac y mae yn amlwg fod canon yr ysgrythyr, yn ei amser, dan ei neilltuol ofal ef; y mae yr Iuddewon, yn yr hanesion cyntaf sy gennym oddi wrthynt, yn dal allan yn wastadol fod cymmaint o ganon yr ysgrythyrau ag oedd y pryd hynny mewn bod wedi cael eu trefnus ddosparthu a'u sefydlu gan Ezra; ac y mae yn amlwg mai oddi wrtho ef y traddodwyd hwy i lawr hyd amser Crist yn y drefn ag y darfu iddo ef eu dosparthu, pan y derbyniodd yr eglwys Gristionogol hwy oddiwrth yr Iuddewon, ac y traddodwyd hwy i lawr i'n hamserau ninnau. Y gwirionedd o hyn sydd yn cael ei ganiattau fel peth diammheuol gan y cyffredinolrwydd o'r duwinyddion.

9. Yr oedd gwaith y prynedigaeth yn cael ei ddwyn ym mlaen a'i ddyrchafu, yr amser hwn, trwy y mawr luosogi ar adysgrifeniadau o'r gyfraith, pa rai a sefydlwyd i'w darllen yn gyhoeddus yn holl ddinasoedd Israel yn eu synagogau. Nid oedd ond ychydig o *gopïau* o'r gyfraith i'w cael cyn y caethiwed. Yr oedd adysgrif gwreiddiol o honi gerllaw yr arch, ac yr oedd yn orchymynedig i'r brenhinoedd ysgrifennu *copi* o honi er addysg iddynt eu hunain, ac yr ydoedd yn orchymynedig i'w darllen unwaith bob saith mlynedd i holl gynnulleidfa Israel; ond nid oes gennym hanes am ddarlleniad cyhoeddus o honi unrhyw amserau pendant ond hynny cyn y caethiwed. Y mae 'n amlwg, oddiwrth amryw bethau a ellid eu nodi, fod adysgrifau y gyfraith yn hynod o anaml y pryd hynny, ond wedi y caethiwed fe godwyd i fynu ddarlleniad cyhoeddus o honi yn wastadol ym mhob synagog trwy y tir. Yn gyntaf, dechreuasant ddarllen y gyfraith yn eu cynnulleidfaoedd, ac wedi hynny aethant ym mlaen gan sefydlu gwastadol ddarlleniad llyfrau eraill o'r Hen Destament. Llithoedd a ddarllenid allan o'r Hen Destament, o'r gyfraith, a rhannau eraill o'r ysgrythyr, ag oedd y pryd hynny mewn bod yn yr holl synagogau, pa rai a godid i fynu ym mhob dinas a lle y byddai gryn nifer o Iuddewon yn byw. Fel hyn y gwelwn yr oedd pethau yn amser Crist, a'r apostolion.

"Canys y mae i Moses ym mhob dinas, er yr hen amseroedd, rai a'i pregethant ef, gan fod yn ei ddarllen yn y synagogau bob sabboth." Fe dybir yn gyffredinol, gan Iuddewon a Christionogion, i'r arferiad yma gael dechreuad gan Ezra. Yr oedd, yn ddiammheuol, gynnulleidfaoedd yn addoli yn gyhoeddus cyn y caethiwed. Byddent yn arfer ymgynnull i'r deml ar y gwyliau gosodedig, ac os byddent yn methu deall unrhyw beth yn y gyfraith, yr oeddynt i fyned at yr offeiriaid i gael eu haddysgu; byddent hefyd yn arfer cyrchu i deiau y prophwydi i gael hyfforddiant. Ac yr ydym yn darllen fod synagogau yn y tir o'r blaen, *Ps.* 74. 8. ond ni's gellir tybied fod ganddynt *gopïau*, neu adysgrifau o'r gyfraith, i'w darllen yn gyhoeddus, a'u hesponio yn wastadol trwy yr holl dir, fel yr oedd ganddynt wedi hynny. Ac yr oedd hyn a gawsant yn un o'r moddion neilltuol i'w diogelu rhag eilun-addoliaeth.

10. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno, ydoedd i Dduw, mewn modd rhyfedd, ddiogelu ei eglwys, a chenedl yr Iuddewon, pan yr oeddynt mewn perygl dirfawr gan fygythiad o ddinystr cyffredinol yn crogi uwch eu pennau oddiwrth Haman, fel y gwelir yr hanes yn llyfr Esther. Ond cyfres o ragluniaethau, mewn modd rhyfedd, a ragflaenodd y distryw hwn i'w goddiweddyd. Y mae 'n beth diammheuol i Esther gael ei geni i'r diben i fod yn offeryn yn y waredigaeth fawr hon.

11. Wedi hyn canon yr ysgrythyr a helaethwyd ym mhellach yn llyfrau Nehemiah ac Esther; llyfr Nehemiah a ysgrifenwyd ganddo ef ei hun; a pha un a ysgrifenwyd y llall gan Nehemiah, neu Mordecai, neu Malachi, nid ydyw o bwys i ni wybod, gan ei fod yn un o'r llyfrau hynny ag oedd bob amser yn cael ei dderbyn a'i ganiattâu yn ganonaidd gan yr Iuddewon, ac ym mysg y rhai hynny a alwent hwy yn Ysgrythyrau yn amser Crist, ag oedd hefyd yn cael eu cymmeradwyo fel y cyfryw ganddo ef. Canys y mae Crist, yn fynych yn ei areithiau i'r Iuddewon, yn cadarnhau, ac yn eglur gymmeradwyo, y llyfrau hynny ag oedd yn eu mysg hwy yn myned tan yr enw Ysgrythyrau, fel y gellid hawdd ddangos pe bai achos.

12. Wedi hyn fe orphenwyd canon yr Hen Destament, ac a'i seliwyd gan Malachi. Y mae 'r modd y mae 'r brophwydoliaeth hon yn cael ei diweddgloi, yn arwyddo nad oeddynt i ddisgwyl unrhyw brophwydoliaethau ychwaneg, na datguddiedigaethau ysgrifenedig oddiwrth Dduw, hyd oni ddeuai Crist: canys y mae y prophwyd, yn y bennod olaf, yn prophwydo am ddyfodiad

Crist, *adn.* 2, 3. " Ond Haul cyfiawnder a gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw, â meddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch allan ac a gynnyddwch megis lloi pasgedig. A chwi a fethrwch yr annuwiolion; canys byddant yn lludw dan wadnau eich traed chwi, yn y dydd y gwnelwyf hyn, medd Arglwydd y lluoedd." Yna yr ydym yn darllen yn *adn.* 4. " Cofiwch gyfraith Moses fy ngwas, yr hon a orchymynais iddo ef yn Horeb i holl Israel, y deddfau a'r barnedigaethau," hynny yw, Cofiwch a defnyddiwch yr hyn sy gennych, ymgedwch yn agos at y rheol ysgrifenedig sydd yn eich meddiant, gan beidio disgwyl dim i'w ychwanegu atti mwy, hyd oni byddo amser yr Hen Destament trosodd, a Haul cyfiawnder a ymddengys o'r diwedd.

13. Yn fuan wedi hyn, fe ballodd yspryd prophwydoliaeth o blith y bobl hyd amser y Testament Newydd. Fel hyn goleuadau yr Hen Destament, ser y nos faith honno, a ddechreuasant yn fuan guddio eu pennau, ac amser Haul cyfiawnder oedd yn awr yn dynesu. Sylwasom o'r blaen fel yr oedd y frenhiniaeth ddaearol yn darfod yn nhŷ Dafydd cyn dyfodiad pen yr eglwys, y gwir frenhin; y modd y ciliodd cwmmwl y gogoniant, cyn i Grist, yr hwn oedd yn ddisgleirdeb gogoniant ei Dad, ymddangos. Ac yn awr yr oedd yspryd prophwydoliaeth yn cilio ymaith; gan fod amser prophwyd mawr Duw mor agos, yr ydoedd yn bryd i'r prophwydi cysgodol ddistewi.

Yr ydym wedi myned trwy yr amser ag y ceir unrhyw hanes am dano yn ysgrifeniadau yr Hen Destament, a'r peth diweddaf a grybwyllwyd, trwy yr hyn y dygid ym mlaen waith y prynedigaeth, yw ymadawiad yspryd prophwydoliaeth. Yn awr myfi a âf ym mlaen i ddangos y modd yr oedd yr un gwaith yn cael ei ddwyn ym mlaen trwy y gweddill o amser ag oedd hyd ddyfodiad Crist. Ac nid oes gennym yr edefyn lleiaf o hanesyddiaeth ysgrythyrol i'n cyfarwyddo yn hyn, fel yr oedd gennym hyd yma; ond y mae tri pheth a rydd i ni gyfarwyddyd, sef prophwydoliaethau yr Hen Destament, hanesyddiaeth ddynol yr amseroedd hynny, a rhyw bethau y crybwyllir am danynt yn achlysurol yn llyfrau y Testament Newydd, a ddigwyddodd yn yr amseroedd hyn.

14. Y peth neilltuol nesaf y gwnaf sylw arno, dan y pen hwn, ydoedd dinystr ymerodraeth Persia, a chodiad i fynu unbennaeth Groeg gan Alexander. Fe dybir i hyn gael ei ddwyn oddi amgylch y'mhen triugain neu ddeg a thriugain o flynyddoedd wedi i Malachi fod yn prophwydo, ac ynghylch tri chant a deg a thriugain

o flynyddoedd cyn Crist. Hwn oedd y trydydd dadymchweliad ar y byd, ac a ddygwyd oddi amgylch yr amser hwn, ac yr ydoedd yn fwy hynod nag yr un a fuasai o'r blaen. Yr ydoedd yn dra nodedig ar gyfrif y goresgyniad prysur a wnaeth Alexander ar y byd, a mawredd yr ymerodraeth a gododd efe i fynu, yr hon oedd yn llawer mwy ehang na'r holl rai a fuasai o'i blaen.

Y mae y digwyddiad hwn yn cael sôn am dano yn helaeth ym mhrophwydoliaeth Daniel. Y mae ymerodraeth Groeg yn cael ei harddangos yn y drydedd deyrnas o bres, yn y deongliad a rydd Daniel i freuddwyd Nebuchodonosor, *pen.* 2. ac yn ei weledigaeth am y pedwar bwystfil, y meddylir wrth y trydydd, yr hwn oedd yn debyg i lewpard, ac yn meddu pedair o adenydd aderyn, ei gyflymdra yn buddugoliaethu, *Pen.* 7. Yr hyn a arddangosir yn fwy neillduol yn y weledigaeth am y bwch geifr, *pen.* 8. a'i fod yn dyfod o'r gorllewin ar hyd wyneb y ddaear, ac heb gyffwrdd â'r ddaear, oedd yn dangos pa mor gyflym y darostyngai Alexander y byd. Y mae 'r angel yn hyspysu, yn y deongliad a rydd efe o'r weledigaeth, fod y bwch hwn yn arwyddo brenhin Groeg, *adn.* 21. "A'r bwch blewog yw brenhin Groeg; a'r corn mawr, yr hwn sydd rhwng ei lygaid ef, dyna y brenhin cyntaf," sef Alexander.

Alexander a fu farw yn fuan wedi iddo ddarostwng y byd, ac ni ddisgynodd ei frenhiniaeth i'w hiliogaeth, ond pedwar o'i brif flaenoriaid a ranasant ei ymerodraeth ef rhyngddynt, a'r rhaniad hwnnw a fu mewn grym yn yr oesoedd canlynol. Yn awr yr ydoedd y frenhiniaeth wedi ei thorri, yn gymmaint a bod pedwar yn sefyll i fynu am dani, "pedair brenhiniaeth a gyfodant o'r un genedl, ond nid o'r un nerth ag ef;" felly hefyd y gwelir yn *Dan.* 11. Y mae'r angel, wedi rhagfynegi am ymerodraeth Persia, yn myned ym mlaen i ragfynegi am Alexander, *adn.* 3. "A brenhin cadarn a gyfyd, ac a lywodraetha â llywodraeth fawr, ac a wna fel y mynno." Wedi hynny y mae efe, yn *adn.* 4. yn rhagfynegi rhaniad ei deyrnas rhwng ei bedwar cadpen: "A phan safo efe, dryllir ei deyrnas, ac a'i rhennir tu a phedwar gwynt y nefoedd; ac nid i'w hiliogaeth ef, nac fel ei lywodraeth a lywodraethodd efe: o herwydd ei frenhiniaeth ef a ddiwreiddir i eraill heblaw y rhai hynny." O'r pedwar cadpen hynny yr oedd dau yn meddiannu brenhiniaethau agos i wlad Judea, un o honynt oedd yn meddiannu yr Aipht a'r gwledydd cymmydogaethol i ddeheudir Judea, a'r llall oedd yn meddiannu Syria a'r gwledydd cymmydogaethol i ogledd Judea;

a'r ddau hyn yw y rhai hynny a elwir yn frenhinoedd y gogledd a'r dehau yn *Dan.* 11.

Yr oedd codiad i fynu ymerodraeth Groeg yn parottoi y ffordd yn fawr i ddyfodiad Crist, a gosodiad ei deyrnas ef i fynu yn y byd. Heblaw y ffyrdd cyffredin hyn o ddadymchweliadau eraill y byd y sylwyd arnynt eisoes, yr amser hwn yr oedd un peth neilltuol y gwnaf sylw arno, ag oedd yn nodedig yn dwyn ym mlaen waith y prynedigaeth, sef bod y chwyldroad hwn yn gwneud yr iaith Groeg yn gyffredin trwy y byd. Fod un iaith gyffredin yn ddealladwy, ac yn cael ei harfer trwy y rhan fwyaf o'r byd, oedd yn parottoi y ffordd yn fawr tu ag at osod i fynu deyrnas Crist. Yr oedd hyn yn fanteisiol i ledaenu yr efengyl o'r naill genedl i'r llall, ac felly trwy yr holl genhedloedd, gyda llawer mwy o rwyddineb na phe buasai pob cenedl yn meddu iaith wahanol, ac heb ddeall y naill y llall. Canys er fod rhai o bregethwyr cyntaf yr efengyl yn meddu y ddawn i lefaru â thafodau, fel yr oeddynt yn gallu pregethu mewn unrhyw iaith, etto nid oedd gan bawb o honynt y ddawn neilltuol honno, ac ni's gallai y rhai oedd yn ei meddu ei harfer pan y mynnent, ond yn unig ar amserau neilltuol, pan y rhyngai bodd i yspryd Duw eu hysprydoli yn y modd hynny. Ac ni's gallasai yr eglwys, mewn gwahanol fannau o'r byd, megis eglwysi Jerusalem, Galatia, Antiochia, ac eraill, pa rai oedd mewn gwledydd pell y naill oddiwrth y llall, gael cymdeithas â'u gilydd, fel y ceir hanes am danynt yn llyfr yr Actau, pe buasent heb iaith gyffredin. Felly yr oedd cyn codiad i fynu ymerodraeth Groeg. Ond wedi hyn yr oedd llawer yn yr holl wledydd hynny yn deall yr un iaith yn dda, sef y Groeg, yr hyn oedd mewn modd rhyfedd yn agoryd y drws i'r eglwysi hynny gyd-gymdeithasu â'u gilydd, er eu bod mor ddidoledig y naill oddiwrth y llall. Yr oedd bod yr iaith Roeg yn cael ei gwneud yn gyffredin trwy ran mor fawr o'r byd, mewn modd rhyfedd, yn gwneud ffordd i godiad teyrnas Crist i fynu, oblegid mai hi oedd yr iaith yr ysgrifenwyd y Testament Newydd ynddi yn wreiddiol. Fe ledaenwyd yr efengyl gan yr apostolion ym mysg amryw ugeiniau o genhedloedd, a phe na buasai y rhai hynny yn deall y Bibl heb iddo gael ei gyfieithu i gymmaint o wahanol ieithoedd, buasai yn llawer mwy anhawdd taenu athrawiaeth yr efengyl; ond trwy fod yr iaith Roeg yn cael eu gwneud yn gyffredin i bawb, yr oeddynt oll yn deall Testament Newydd Crist yn yr iaith yr ysgrifenwyd ef yn wreiddiol gan yr apostolion a'r efengylwyr; felly yr

ydoedd yn cael ei osod yn agored o flaen y byd, mewn iaith ag oedd yn ddealladwy yn gyffredin, cyn gynted ag yr ysgrifenwyd ef gan ei ysgrifenwyr gwreiddiol.

15. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno, ydoedd cyfieithiad ysgrythyrau yr Hen Destament i'r iaith Roeg, yr hwn gyfieithiad a elwir yn gyffredin *Septuagint*, neu gyfieithiad y deg a thriugain. Fe dybir i hyn gael ei wneud oddeutu deg a deugain, neu driugain mlynedd, wedi i Alexander ddarostwng y byd. Hwn oedd y cyfieithiad cyntaf o'r ysgrythyrau ag y mae gennym un hanes gredadwy am dano. Nid oedd canon yr Hen Destament wedi cael ei gyflawni gan Malachi, ond oddeutu cant ac ugain mlynedd cyn hyn; ac hyd yn hyn yr ysgrythyrau oeddynt wedi eu cloi i fynu oddiwrth bob cenedl arall heblaw yr Iuddewon, yn yr iaith Hebraeg, yr hon nid oedd yn ddealladwy gan un genedl arall. Ond yn awr fe'i cyfieithwyd i'r iaith Roeg, yr hon, fel y sylwyd o'r blaen, oedd yn ddealladwy yn gyffredinol gan genhedloedd y byd.

Y mae'r cyfieithiad hwn o'r Hen Destament mewn bod etto, ac yn meddiant dynion dysgedig, pa rai sy'n ei ganfod yn dra defnyddiol. Y mae gan yr Iuddewon lawer o ffug-dybiau mewn perthynas i'r modd y bu, a'r achlysur o'r, cyfieithiad hwn; ond fe dybir mai y gwir achos o hono oedd hyn, sef fod lluaws o'r Iuddewon yn byw mewn mannau eraill o'r byd heblaw Judea, ac wedi eu geni a'u dwyn i fynu ym mysg y Groegiaid, ac felly y Groeg oedd eu hiaith gyffredin, ac nid oeddynt yn deall yr Hebraeg yn dda. Ac o herwydd hynny iddynt fynnu cael cyfieithiad o'r ysgrythyrau er eu haddysg i'r iaith Roeg: ac o hynny allan, fod yr Iuddewon yn yr holl wledydd, heblaw Judea, yn arfer defnyddio y cyfieithiad hwn yn lle yr Hebraeg, yn eu synagogau.

Yr oedd y cyfieithiad hwn o'r ysgrythyrau i iaith ag oedd yn ddealladwy trwy y byd, yn parottoi y ffordd i ddyfodiad Crist, a gosodiad ei deyrnas ef i fynu, yr hon oedd yn cael dyrchafiad mawr trwy hyn. Canys fel yr oedd yr apostolion yn myned trwy y byd i bregethu yr efengyl, yr oeddynt yn gwneud defnydd mawr o ysgrythyrau yr Hen Destament, ac yn neilltuol y prophwydoliaethau am Grist sydd yn gynnwysedig ynddynt. A thrwy gyfrwng y cyfieithiad hwn, a bod yr Iuddewon yn wasgaredig ym mhob lle, yr oedd ganddynt yr ysgrythyrau wrth law mewn iaith ddealladwy i'r cenhedloedd; a'r cyfieithiad hwn yn bennaf oeddynt yn ei ddefnyddio yn eu pregethau a'u hys-

grifeniadau i ba le bynrag yr elent, fel y mae yn amlwg oddiwrth hyn, sef, fod yr holl nodiadau o'r Hen Destament yn eu hysgrifeniadau, braidd ym mhob lle, yn yr un geiriau â chyfieithiad y deg a thriugain, gan fod y ddau (sef yr eiddynt hwy a'r deg a thriugain) yr un iaith. Y mae hyn yn profi fod yr apostolion, yn eu pregethau a'u hysgrifeniadau, yn gyffredinol yn gwneud defnydd o'r cyfieithiad hwn. Felly hefyd y cyfieithiad hwn yn bennaf oedd yn cael ei ddefnyddio yn yr eglwysi Cristionogol, ym mysg y rhan fwyaf o genhedloedd y byd, am amryw gannoedd o flynyddoedd ar ol geni Crist.

16. Y peth nesaf i sylwi arno, ydoedd rhyfeddol gadwraeth yr eglwys pan yr ydoedd dan fygythiad arswydus, ac erlidigaeth ddirfawr, oddiwrth yr ymerodraeth Roegaidd. Y waith gyntaf fe'i bygythiwyd gan Alexander ei hun. Pan yr oedd yn gwarchae ar ddinas Tyrus, efe a anfonodd at yr Iuddewon am gynnorthwy a chynnaliaeth i'w fyddin; a hwythau, oddiar rwymau cydwybod i'w llw a wnaethant i frenhin Persia, a wrthodasant roddi un cynnorthwy iddo; yntau ydoedd ddyn o yspryd gorwyllt a ffyrnig, yn ol yr arddangosiad ysgrythyrol am dano, y bwch blewog, a aeth yn eu herbyn hwy, gyda bwriad i'w llwyr dorri ymaith; ond yr offeiriaid a aethant i'w gyfarfod yn eu gwisgoedd offeiriadol, a phan y gwelodd efe hwynt, Duw, mewn modd rhyfedd, a droes ei galon ef i'w harbed hwy, ac i ddangos tiriondeb iddynt, fel ag y trowyd calon Esau pan y cyfarfu efe â Jacob. Wedi hyn, un o frenhinoedd yr Aipht, yr hwn oedd ddilynwr i un o gadpeniaid Alexander, a amcanodd ddinystrio cenedl yr Iuddewon; ond efe a attaliwyd, mewn modd rhyfedd, trwy nerthol gyfryngiad y nefoedd er eu cadwraeth hwy.

Ond y gadwraeth fwyaf rhyfeddol o honynt oll a gafodd pobl Dduw yr amser hwn, ydoedd dan erlidigaeth greulon Antiochus Epiphanes, brenhin Syria, yr hwn oedd ddilynwr i un arall o bedwar cadpeniaid Alexander. Yr Iuddewon oeddynt y pryd hynny yn ddarostyngedig i awdurdod Antiochus, ac yr oedd efe wedi ymgynddeiriogi yn eu herbyn hwy, ac yn ymdrechu â'i holl egni, am amser maith, i'w diwreiddio a'u dinystrio hwy oll, neu o'r hyn lleiaf bawb o honynt na ymwrthodent â'u crefydd, ac addoli ei eilunod ef. Efe a ddifrododd y wlad mewn mesur mawr, ac a ddiboblogodd ddinas Jerusalem, ac a halogodd y deml, trwy osod i fynu eilunod mewn rhyw rannau o honi, a chyda chreulondeb diarbed efe a erlidiodd y bobl, fel nad oes hanes am un erlidigaeth gyffelyb i hon o'i blaen. Llawer o

bethau neilltuol oedd yn amgylchiadau yr erlidigaeth hon ag a fyddai yn hynod o effeithiol i'r meddwl pe byddai amser i sefyll arnynt. Yr erlidigaeth greulon hon a ddechreuodd ynghylch cant a deg a thriugain o flynyddoedd cyn dyfodiad Crist: fe lefarir am dani ym mhrophwydoliaeth Daniel, ac a gyfeirir atti yn y Testament Newydd. *Dan.* 8. 9,—25. a 11. 3. *Heb.* 11. 36,—38.

Antiochus a amcanodd, nid yn unig ddiwreiddio y grefydd Iuddewig, ond, cyn belled ag yr oedd ynddo, y genedl hefyd, yn neilltuol efe a lafuriodd â'i holl egni i ddistrywio holl adysgrifau y gyfraith. Wrth ystyried pa mor ddinerth oeddynt hwy mewn cydmariaeth â brenhin oedd yn meddu y fath lywodraeth eang, yr oedd rhagluniaeth Duw, mewn modd rhyfedd, yn ymddangos yn niddymiad ei amcanion ef. Llawer gwaith yr ymddangosodd fod yr Iuddewon yn ymyl dinystr, a bron a chael eu llyngcu i fynu ganddo, mynych y meddyliodd eu gelynion eu bod yn sicr o gyrhaedd eu hamcan. Daethant unwaith yn erbyn y bobl â byddin alluog, gan fwriadu lladd pawb, ond y gwragedd a'r plant, a gwerthu y rhai hynny yn gaethion; ac mor hyderus oeddynt y cyrhaeddent eu diben, ac eraill y caent brynu, fel y daeth mwy na mil o farsiandwyr gyd â'r fyddin, âg arian yn eu dwylaw i brynu y caethion ag a fyddai ar werth. Ond Duw a gynhyrfodd ac a gynnorthwyodd, mewn modd rhyfedd, un Judas, ac eraill o'i ddilynwyr, y Maccabeaid, pa rai, gyda dyrnaid bychan o bobl mewn cydmariaeth i'w gwrthwynebwyr, a orchfygasant eu gelynion o amser i amser, ac a waredasant eu cenedl. Fe ragfynegwyd am hyn gan Daniel, *Pen.* 11. 32. Wrth son am erlidigaeth Antiochus, y mae efe yn dywedyd, "A throseddwyr y cyfammod a lygra efe trwy weniaith; eithr y bobl a adwaenant eu Duw, a fyddant gryfion, ac a ffynnant." (Gwel 1 *Mac.* iii, iv.)

Duw wedi hyn a ddygodd yr Antiochus hwn i farwolaeth ddychrynllyd a thruenus trwy glefyd ffiaidd, dan ba un yr oedd efe mewn poenydiau corph, a dychrynfeydd meddwl, tra bu efe byw. Hyn hefyd a ragfynegodd Daniel, *Pen.* 11. 45. "Etto efe a ddaw hyd ei derfyn, ac ni bydd cynnorthwywr iddo." Wedi ei farwolaeth ef, llawer o gynnygiadau a fu i geisio dinystrio eglwys Dduw; ond fe'u lluddiwyd oll i gael eu hamcan.

17. Y peth nesaf i sylwi arno, ydoedd dinystr ymerodraeth Groeg, a chodiad i fynu yr un Rufeinaidd. Hwn oedd y pedwerydd dadymchweliad ar y byd; ac er iddo gael ei ddwyn oddi amgylch yn fwy graddol na chodiad i fynu ymerodraeth

Groeg, etto yr ydoedd yn rhagori yn fawr ar un Groeg, a'r unbennaeth fwyaf a helaethaf ydoedd a ymddangosodd erioed ar y ddaear cyn hyn. Ac o herwydd hynny ymerodraeth Rhufain a elwid yn gyffredin y byd. *Luc* 2. 1. Fe leferir am yr ymerodraeth hon fel y gadarnaf a'r ehangaf o'r un o'r pedair unbennaeth, *Dan.* 2. 40. "Bydd hefyd y bedwaredd frenhiniaeth yn gref fel haiarn: canys yr haiarn a ddryllia ac a ddofa bob peth: ac fel haiarn yr hwn a ddryllia bob peth, y maluria ac y dryllia hi." Felly hefyd yn *Dan.* 7. 7, 19, 23. Yr amser y darfu i'r Rhufeiniaid ddarostwng gyntaf, a dwyn danynt wlad Judea, oedd rhwng triugain a deg a thriugain o flynyddoedd cyn geni Crist. Yn fuan wedi hyn y sefydlwyd ymerodraeth Rhufain yn ei ehangder mwyaf, i'r hon yr oedd y byd yn ddarostyngedig hyd oni ddaeth Crist, ac am amryw gannoedd o flynyddoedd wedi hynny.

Yr oedd bod cenhedloedd y byd wedi eu huno fel hyn dan un unbennaeth pan ddaeth Crist, a phan aeth yr apostolion allan i bregethu, yn tueddu er mantais i ledaenu yr efengyl, a gosod i fynu deyrnas Crist yn y byd. Yr oedd bod y byd fel hyn dan un llywodraeth yn agoryd y ffordd i rydd dramwyaeth o'r naill genedl i'r llall, ac felly yn rhoi cyfleusdra i'r efengyl gael ei lledaenu trwyddo yn fwy cyflym. Y mae fod y genedl Frytanaidd y fath ag ydyw, yn peri i rydd dramwyaeth o'r naill ran o'i llywodraeth i'r llall fod yn llawer haws nag a fyddai myned i deyrnasoedd tramor. Y mae aneirif anhawsderau i ymdaith trwy wledydd a fyddo dan wahanol lywodraethau anymddibynol, pa rai nad ydynt wrth ymdaith trwy wahanol rannau o'r un llywodraeth, neu wahanol lywodraethau yr un tywysog. Felly yr oedd fod y byd gan mwyaf dan yr un llywodraeth, sef Rhufain, yn amser Crist a'i apostolion, yn rhoi rhwyddineb i'r apostolion ymdaith trwyddo i ledaenu yr efengyl.

18. Oddeutu yr un amser yr oedd philosophyddiaeth a dysgeidiaeth wedi eu codi i'r uchder mwyaf yn y byd Paganaidd. Yr oedd yr holl philosophyddion enwog bron i gyd ag y mae gennym hanes am danynt ym mysg y Paganiaid, yn byw wedi y caethgludiad i Babilon. Bron yr holl ddynion dysgedig a fu yn Groeg a Rhufain oeddynt yn blodeuo yr amser hwn. Yr oedd llawer o honynt yn wir yn ddynion ag oedd yn meddu doethineb naturiol mawr, ac yr oeddynt yn gyffredinol yn proffesu mai eu gorchwyl pennaf oedd chwilio ym mha le y mae prif ddedwyddwch dyn yn gynnwysedig, a'r modd i'w gyrraedd. Ac fe

ymddengys eu bod yn egnïol a thrafferthus yn chwilio i hyn, a hwy a ysgrifenasant lawer o lyfrau yn yr achos, llawer o ba rai sydd etto mewn bod. Y mae amryw gannoedd o'u gwahanol farnau ar y testun wedi eu cyfrif i fynu. Fel hyn yr oeddynt yn ymflino yn ofer, yn gwibio yn y tywyllwch, heb feddu yr efengyl ogoneddus i'w cyfarwyddo. Fe ryngodd bodd i Dduw adael i ddynion wneud cymmaint ag a allai eu doethineb ddynol, ac i brofi eithaf eu dealltwriaethau eu hunain, i gael allan y ffordd i ddedwyddwch, cyn i oleuni ddyfod i oleuo y byd, cyn anfon y prophwyd mawr i arwain dynion ar hyd yr union ffordd i ddedwyddwch. Fe oddefodd Duw i'r philosophyddion hynny, am yspaid chwe chan mlynedd ynghyd, i brofi beth a allent ei wneuthur; ac yr oedd digon o brawf, trwy ddigwyddiadau amser maith, nad oedd yr hyn a allent ei wneud ond ofer. Nid oedd y byd o ddynolryw yn dyfod ddim gwell, na dedwyddach, neu ddoethach, dan eu haddysgiadau; ond yn y gwrthwyneb, yr oedd yn cynnyddu mewn ynfydrwydd, annuwioldeb, a thrueni. Efe a oddefodd i'w doethineb, a'u philosophyddiaeth hwy gynnyddu i'r uchder mwyaf cyn i Grist ddyfod, fel y gwelid pa cyn belled y gallai rheswm a philosophyddiaeth gyrraedd yn eu hesgynfa uchaf, ac y byddai i'r angenrheidrwydd am i ddysgawdwr dwyfol ymddangos cyn i Grist ddyfod. Ac fe ryngodd bodd i Dduw wneuthur doethineb y byd hwn yn ffolineb, i ddangos i ddynion ynfydrwydd eu doethineb pennaf trwy athrawiaethau gogoneddus yr efengyl, pa rai sydd ym mhell uwchlaw eu holl philosophyddiaeth hwy, 1 *Cor*. 1. 19,—21.

Fe ryngodd bodd i Dduw, wedi iddo ddangos gwagedd dysgeidiaeth ddynol, neu ei hannigonolrwydd i arwain i ddedwyddwch, ei gwneud yn is-wasanaethgar i deyrnas Crist, fel llaw-forwyn i ddwyfol ddatguddiad; ac felly yr oedd cynnydd dysgeidiaeth yn y byd, cyn dyfodiad Crist, yn agoryd y ffordd i'w ddyfodiad, trwy ddangos gwagedd doethineb ddynol, a'r angenrheidrwydd am yr efengyl. Trwy hyn hefyd fe barottowyd llaw-forwyn i'r efengyl, ac fe ddefnyddiwyd dysgeidiaeth ddynol fel y cyfryw gan yr apostol Paul, yr hwn oedd yn enwog, nid yn unig mewn dysgeidiaeth Iuddewig, ond hefyd philosophïaidd, ac yr oedd efe yn defnyddio ei ddysgeidiaeth er llwyddiant yr efengyl, fel y gwelir yn ei ddadl â'r philosophyddion yn Athen, *Act*. 17. 22. Efe a wyddai yn dda, trwy ei ddysgeidiaeth, pa fodd i ddefnyddio yr hyn a ddarllenasai yn eu hysgrifeniadau er profi gwirionedd yr efengyl, fel yr ydoedd yn adrodd dywediadau

eu Beirdd. A Dionysius yr Areopagiad, yr hwn oedd yn Philosophydd, a ddychwelwyd trwy ei ymresymiadau ef, ac a wnawd wedi hynny yn offeryn enwog er llwyddiant yr efengyl, fel y tystia hanesion eglwysig. Yr ydoedd hefyd amryw eraill yn yr oes honno, a'r oesoedd canlynol, y rhai trwy eu dysgeidiaeth a fuont yn hynod o ddefnyddiol i ddwyn ym mlaen achos teyrnas Crist.

19. Ychydig cyn geni Crist, yr oedd ymerodraeth Rhufain, nid yn unig wedi ei dyrchafu i'r uchder mwyaf, ond hefyd wedi ei sefydlu mewn heddwch. Ynghylch pedair blynedd ar hugain cyn hynny (sef cyn geni Crist) yr esgynodd Augustus Cæsar, yr ymerawdwr Rhufeinaidd cyntaf, i'r orsedd: hyd hynny yr oedd y wladwriaeth a'r ymerodraeth Rufeinig wedi bod tan lywodraeth y senedd, ond yn awr hi a ddaeth yn unbennaeth anymddibynol. Yr oedd Augustus Cæsar, fel mai efe oedd y cyntaf, felly hefyd y mwyaf o holl ymerawdwyr Rhufain. Fel hyn yr oedd awdurdod y byd Paganaidd, ym mha un yr oedd teyrnas weledig Satan yn gynnwysedig, wedi ei dyrchafu i'r uchder mwyaf, ar ol bod o amser Solomon hyd yr amser hwn, yr hyn oedd ynghylch mil o flynyddoedd, yn cynnyddu yn raddol, ac yn ymgryfhau fwyfwy. Yn awr yr oedd y byd Paganaidd wedi cyrhaedd i'w ogoniant mwyaf mewn nerth, cyfoeth, a dysgeidiaeth.

Duw a wnaeth ddau beth i barottoi'r ffordd i ddyfodiad Crist, yn yr hyn yr oedd efe yn gweithredu yn wrthwyneb i'r modd y buasai doethineb ddynol. Efe a ddygodd ei bobl weledig yn hynod o isel, ac a'u gwnaeth hwynt yn weiniaid; ond y Paganiaid, pa rai oeddynt ei elynion, a ddyrchafodd efe i'w huchder mwyaf, fel y byddai buddugoliaeth croes Crist yn fwy gogoneddus. Fel hyn y darfu i Grist ar y groes fuddugoliaethu ar y tywysogaethau a'r awdurdodau.

Augustus Cæsar oedd wedi bod amryw flynyddoedd yn sefydlu yr ymerodraeth Rufeinig, gan ddarostwng ei elynion yn y naill le a'r llall, hyd y flwyddyn y ganed Crist; pan yr oedd ei holl elynion wedi eu darostwng, a'i lywodraeth ef ar y byd yn ymddangos wedi ei sefydlu yn ei gogoniant mwyaf. Y cwbl a sefydlwyd mewn heddwch; ac fel arwydd o hyn yr oedd y Rhufeiniaid wedi cau i fynu deml Janus, yr hyn oedd yn arwydd sefydlog yn eu mysg hwy pan y byddai heddwch cyffredinol trwy holl ymerodraeth Rhufain. A'r heddwch cyffredinol hwnnw, yr hwn a ddechreuodd y flwyddyn y ganed Crist, a

barhaodd ddeuddeng mlynedd, sef hyd y flwyddyn yr oedd efe yn ymresymmu â'r doctoriaid yn y deml.

Fel hyn, wedi i'r byd fod amryw gannoedd o flynyddoedd ynghyd mewn cynnwrf parhaus, fel y pedwar gwynt ar y cefnfôr cynhyrfus, yn ymryson â'u gilydd; ac felly y codwyd y pedair unbennaeth fawr hynny, oedd yn awr wedi sefydlu yn yr uchder mwyaf yn y bedwaredd a'r ddiweddaf o honynt, ag oedd yn bresennol mewn heddwch; pob peth oedd yn awr yn barod erbyn genedigaeth Crist. Yr heddwch cyffredinol hwn oedd yn nodedig, ar ol cymmaint o oesoedd terfysglyd a rhyfelgar, ag oedd yn addas ragredegwr i ddyfodiad Tywysog gogoneddus y Tangnefedd i mewn i'r byd.

Aethum trwy yr amser arbennig cyntaf yn y modd hyn, sef o gwymp dyn hyd ddyfodiad Crist yn y cnawd, dangoswyd y gwirionedd o'r hyn a osodwyd i lawr dan y pen cyntaf, sef, Bod Duw yn gwneuthur y pethau hynny o gwymp dyn hyd ymddangosiad Crist yn y cnawd ag oeddynt yn parottoi'r ffordd i, ac yn rhagredegwyr i'w ddyfodiad ef.

---

DEFNYDD ODDIWRTH YR AMSER CYNTAF.

Cyn myned ym mlaen at y testun nesaf, myfi a wnaf ychydig o nodiadau addysgiadol oddiwrth yr hyn a ddywedwyd.

1. Gallwn gadarnhau yn wrol, fod Iesu o Nazareth yn wir yn Fab Duw, ac yn Iachawdwr y byd; ac mai y grefydd Gristionogol ydyw y wir grefydd, gan mai Crist ydyw yr unig berson y cyfeirir atto yn holl oruchwyliaethau mawrion dwyfol ragluniaeth er cwymp dyn; ac mor ddiammheuol, trwy lawer o brofion, mai efe oedd yn cael rhagfynegi am dano o oes i oes, a thrwy lawer o wahanol gysgodau a darluniadau yn cael ei gysgodi. Pe baem yn difrifol ystyried gyrfa pethau o'r dechreuad, ac yn gwneud sylw ar holl ysgogiadau olwynion mawrion rhagluniaeth, nyni a welem eu bod oll yn tueddu yma. Y maent oll fel cynnifer o linellau, rhedfa pa rai, ond eu dilyn yn gywrain, sy'n cyrhaedd i'r canol-bwynt hwn. Y Person hwn a ddaeth i'r byd gyda chennadwri ac awdurdod oddiwrth Dduw i wneuthur ei waith ef, ac i gyhoeddi ei feddwl. Ac ni's gall mai gwag ddychymmyg, ond yn y gwrthwyneb, mai gwirionedd profadwy ac eglur yw, fod yn rhaid mai y Person a anwyd yn Methlehem,

ac a fu yn byw yn Nazareth a Chapernaum, ac a groeshoeliwyd y tu allan i byrth Jerusalem, ydyw y Messïah mawr, neu enneiniog Duw. A dedwydd ydyw y rhai hynny oll ag sy'n credu ynddo ef, ac yn ei gyffesu; a thruenus a fydd y rhai hynny oll a'i gwadant ef. Y mae y pethau hyn yn dangos afresymoldeb y Gwrthgredwyr, sef y *Deistiaid*, pa rai sydd yn gwadu y grefydd ddatguddiedig; ac hefyd yr Iuddewon, pa rai sydd yn gwadu mai yr Iesu hwn yw y Messïah y rhagfynegwyd am dano, ac a addawyd i'w tadau.

Y mae rhai personau yn barod i haeru a gwrthddadleu, mai rhyw ddynion cyfrwys a dichellgar, trwy dwyll, a ddychymmygasant yr hanes a'r prophwydoliaethau hyn, i gyfeirio at Iesu Grist i'r diben i geisio profi mai efe oedd y Messïah. Gellir atteb y cyfryw gan ofyn, pa fodd y gallasai eu cyfrwysdra a'u dichell eu cynnorthwyo i ragweled a chyfeirio at ddigwyddiad ag oedd i ddyfod gymmaint o oesoedd ym mlaen; canys nid oes unrhyw wirionedd yn fwy amlwg, na bod yr ysgrifeniadau hynny gan yr Iuddewon amser maith cyn geni Crist; fel y maent ganddynt o hyd mewn bri mawr, ym mha le bynnag y byddont mewn unrhyw barth o'r byd; ac ni buasent hwy byth yn derbyn y fath ddyfais oddiwrth Gristionogion ag sy'n nodi ac yn cadarnhau mai Iesu o Nazareth yw y Messïah, yr hwn y maent hwy bob amser yn ei wadu; a llawer llai tebygol y gwneid iddynt gredu eu bod hwy yn meddu y llyfrau hyn yn wastadol yn eu dwylaw, pe buasent yn cynnwys twyll.

2. Y mae yr hyn a ddywedwyd yn rhoi rheswm am ddwyfol awdurdod llyfrau yr Hen Destament, oddiwrth y cydweddiad rhyfeddol sydd ynddynt hwy, trwy yr hyn y maent oll yn cyfeirio at yr un gwrthddrych. Canys nyni a allwn weled oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, fel y mae holl rannau yr Hen Destament yn prydferth gydgordio, er iddynt gael eu hysgrifennu gan gynnifer o wahanol ysgrifenwyr, ac mewn oesoedd mor bell y naill oddiwrth y llall, etto oll yn cyttuno mewn un dystiolaeth, ac oll yn cyd-gyfarfod yn yr un digwyddiad; ac yr oedd yn ammhossibl i neb ragweled y digwyddiad hwn, sef dyfodiad Crist, ond trwy ddwyfol ddatguddiad. Y mae hyn yn amlwg oddiwrth yr hyn a ddywedwyd.

Yn awr, os nad trwy ddwyfol ysprydoliaeth y rhoddwyd llyfrau yr Hen Destament, pa reswm a aller ei roddi tros y fath gyd-gordiad sydd ynddo? Canys pe na buasai y llyfrau hyn yn unig ond ysgrifeniadau dynol, wedi eu hysgrifennu heb gyfar-

wyddyd dwyfol, yna ni buasai yr un o'r ysgrifenwyr hynny yn gwybod y deuai y fath berson ag Iesu Grist i'r byd; a'i ddyfodiad a fuasai yn ffug o'u hymenyddiau hwy eu hunain. Ac os felly, pa fodd y digwyddodd i'r dychymmyg hwn o'u heiddo, yr hwn yr oeddynt yn ei ragfynegi, heb un math o sail i'w rhagfynegiad gael ei gyflawni mor fanwl? Ac, yn neilltuol, pa fodd y daethant oll i gyttuno yn hyn, ac i gyfeirio mor union-gyrchol at yr un peth, a hwythau yn byw gynnifer o gannoedd o flynyddoedd y naill oddiwrth y llall? Gan hynny y mae yn rhaid fod y cyd-gordiad rhyfeddol hwn yn rhagfynegi digwyddiad dyfodol, yn brawf eglur a sicr o ddwyfol awdurdod yr ysgrifeniadau hynny.

3. Oddi yma gallwn ddysgu pa mor anwybodus ydyw rhyw rai, a pha mor wan yw eu gwrthddadl yn erbyn rhyw rannau o'r Hen Destament ag sydd yn cynnwys cymmaint o hanes brenhinoedd a llywodraethwyr Israel, a'u rhyfeloedd â'r cenhedloedd cymmydogaethol iddynt, ynghyd â'r cyfnewidiadau a ddigwyddodd o amser i amser yn eu llywodraeth a'u sefyllfa. Hwy a ddywedant fod cenhedloedd eraill yn cadw hanes eu gorchwylion cyffredin cystal a'r Iuddewon, paham gan hynny y dylem feddwl fod yr hanesion hyn yn air Duw, mwy na rhai sy gan bobl eraill am eu cenedl? Ond y mae yr hyn a ddywedwyd yn dangos ffoledd y fath wrthddadl: canys fe ymddengys, fod yr achlysur i'r hanesion hyn yn hynod o wahanol i bob hanesion eraill. Y rhai hyn yn unig sydd yn rhoi i ni hanes dechreuad pob peth; ac mewn rhestr reolaidd yn eu casglu hwy i lawr o'r dechreuad hwnnw, gan roddi golwg ar holl gynllun dwyfol ragluniaeth o'r dechreuad hyd ddiweddiad pob peth, gyda hanes am ddibenion doeth a sanctaidd Llywodraethwr y byd yn y cyfan.—Trwy yr hanesion hyn y mae yn ymddangos y modd yr oedd Duw yn dwyn ym mlaen waith y prynedigaeth o oes i oes. Ac er mai hanesion ydynt, etto y maent yn gyflawn o addysgiadau dwyfol, ac yn gosod allan Grist a'i efengyl ogoneddus, nid yn llai, ond yn gymmaint a rhannau eraill o'r ysgrythyrau, pa rai nid ydynt yn hanesiol.

Yr wrthddadl, mai peth cyffredin gan genhedloedd a theyrnasoedd ydyw ysgrifennu a chadw coffadwriaeth am eu rhyfeloedd, a'r chwyldroadau a ddigwyddai yn eu tiriogaethau, sydd mor bell oddiwrth fod yn wrthddadl bwysig yn erbyn y rhannau hanesiol o'r ysgrythyr, fel pe na bai yn air Duw, a'i fod yn hytrach yn rheswm cryf o'i phlaid. Canys os ydyw goleuni natur

yn cyfarwyddo cenhedloedd gwaraidd i gadw y fath goffadwriaethau, a'u cyhoeddi er addysg i eraill, pa faint mwy y gallwn ddisgwyl fod y coffadwriaethau a roddes Duw i'r byd o oruchwyliaethau ei ddwyfol lywodraeth, y rhai yn ddiammheuol sydd yn hanesion anfeidrol mwy teilwng er ein haddysg. Os oedd brenhinoedd doeth yn cymmeryd gofal am i hanesion cywir gael eu cadw am y cenhedloedd, ar ba rai yr oeddynt yn teyrnasu, a ddylem ni dybied yn anghredadwy fod Iesu Grist yn cymmeryd gofal am fod ei eglwys, yr hon yw ei deyrnas ef, a'i bobl briodol, yn meddu hanes yn eu dwylaw am eu cenedl, a'i lywodraethiad ef arnynt?

Pe na buasai gennym hanesyddiaeth yr Hen Destament, pa mor anwybodus a fuasem am ymddygiad Duw tu ag at ddynolryw, ac yn neilltuol ei ymddygiad tu ag at ei eglwys er dechreuad y byd! Buasem yn hollol yn y tywyllwch am greadigaeth y byd, cwymp dyn, dechreuad a chynnydd parhaus goruchwyliaeth gras tu ag at ddynolryw syrthiedig, y modd y dechreuodd goleuni yr efengyl dywynu yn y byd, ac y cynnyddodd, a'r modd yr oedd pethau yn parottoi y ffordd i ddyfodiad Crist.

Os ydym yn Gristionogion yr ydym yn perthyn i'r adeiladaeth ddwyfol hon o eiddo Duw, yr hon ydyw testun ein traethawd, a phe na buasai hanesyddiaeth yr Hen Destament ni chawsem byth wybod yr achlysur i Dduw fyned at y gorchwyl o'i hadeiladu, a pha fodd y rhoddwyd ei sylfaen i lawr, ac y dygwyd hi ym mlaen o'r dechreuad. Y mae y rhan fwyaf o amseroedd yr Hen Destament y fath nad ydyw hanesion eraill yn cyrraedd attynt; gan hynny, pe na buasai Duw yn cadw hanes y pethau hyn yn ei air buasem yn hollol hebddynt.

Y rhai hynny a wrthddadleuant yn erbyn awdurdod yr Hen Destament, o herwydd fod cymmaint o hono yn cynnwys hanes cenedl yr Iuddewon, a allant, ar yr un sail, godi gwrthddadl yn erbyn yr hanes a roddir gan Moses am greadigaeth y byd, am mai hanes ydyw; canys y mae 'r cyntaf yn rhoddi hanes am beth nad ydyw o lai pwys, sef gwaith y prynedigaeth. Ië, y mae yn waith llawer mwy gogoneddus fel y sylwyd o'r blaen: a phe gofynid pa un ydyw y mwyaf, ai gwaith y greadigaeth ynte gwaith rhagluniaeth? y mae 'n rhaid atteb mai gwaith rhagluniaeth, gan mai gwaith y prynedigaeth ydyw y pennaf o weithredoedd rhagluniaeth. A bydded i'r rhai hynny ag sydd yn codi yr wrthddadl hon, ystyried pa ran o'r Hen Destament a ellir ei hebgor, heb wneud rhwyg mawr yn hanes rhestr y digwydd-

iadau, trwy ba rai y dygwyd y gwaith gogoneddus hwn ym mlaen.

4. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, nyni a allwn ganfod llawer o ddoethineb Duw y'nghyfansoddiad ysgrythyrau yr Hen Destament. Nyni a gymmerwn olwg byr ar ei amrywiol rannau, a'r angenrheidrwydd oedd am danynt.

Yn gyntaf, yr ydoedd yn angenrheidiol er mwyn i ni gael hanes creadigaeth y byd, a'n rhieni cyntaf yn eu cyflwr dechreuol, y cwymp, a dirywiad yr hen fyd, y diluw cyffredinol, ac hefyd dechreuad cenhedloedd y byd ar ol y dinystr cyffredinol hwnnw.

Y mae 'n ymddangos yn addas fod rhyw hanes am ddilyniad eglwys Dduw o'r dechreuad, ac yn gymmaint a'i fod ef wedi goddef i'r holl fyd ymddirywio, a chymmeryd un genedl yn unig yn bobl iddo ei hun, i gynnal ei addoliad a gwir grefydd, hyd oni ddeuai y Gwaredwr, fel trwyddynt hwy y byddai i'r byd gael ei barottoi yn raddol i dderbyn y goleuni mawr, a'r pethau rhyfedd y byddai yr Iachawdwr yn awdwr o honynt, ac fel y byddai iddynt hwy fod yn genedl gysgodol, trwy yr hon y gallai Duw osod allan, mewn cysgodau, ogoneddus bethau yr efengyl ag oedd i ddyfod. Yr oedd gan hynny yn angenrheidiol i ni fod yn meddu rhyw hanes am y pethau hyn, y modd y gwnawd yn ngalwad cyntaf Abraham, a phan oeddynt yn gaeth-weision yn yr Aipht, a'u dygiad oddi yno i Ganaan. Yr oedd yn angenrheidiol fod gennym ryw hanes am y datguddiad a roddodd Duw o hono ei hun i'r bobl hyn yn rhoddiad y ddeddf, ac yn sefydliad yr addoliad cysgodol, a'u ffurfiad hwy mewn sefyllfa wledig ac eglwysig.

Yr oedd yn angenrheidiol fod gennym hanes am eu dygiad hwy i wlad Canaan, y tir addawedig. Ac hefyd fod gennym hanes am ddilyniadau eglwys Israel, a'r rhagluniaethau hynny o eiddo Duw tu ag attynt, pa rai ond eu hystyried, sydd yn dra chyflawn o efengyl. A bod gennym ryw hanes am ogoniant allanol uchaf y genedl honno yn amser Dafydd a Solomon, ac yn neilltuol tan deyrnasiad y cyntaf, hanes yr hwn sydd mor gyflawn o efengyl, ac yn yr hwn y dechreuodd llinach eu brenhinoedd; a bod gennym hanes am adeiladu y deml, yr hon ym mhellach oedd mor gyflawn o ddirgelwch.

Yr ydoedd hefyd yn beth o ganlyniad, fod gennym hanes am ymraniad Israel oddiwrth Judah, ac o hollol wrthodiad a chaethiwed y deg llwyth; ac am ddilyniad brenhinoedd Judah a'r

eglwys, hyd eu caethiwed i Babilon; ac hefyd eu dychweliad oddi yno, a'u hail-sefydliad yn eu gwlad eu hun; ac am ddechreuad y cyfiwr diweddaf yr oedd yr eglwys ynddo cyn dyfodiad Crist.

Ychydig o ystyriaethau a rydd brawf i feddwl pawb, fod yr holl bethau hyn yn angenrheidiol, ac na's gallesid yn hawdd hepgor yr un o honynt; a bod gennym hanes cyffredinol am eglwys Dduw hyd y fath amseroedd ag sydd o fewn cyrhaedd hanesyddiaeth ddynol; ac yr ydoedd o bwys i ni fod yn meddu hanesyddiaeth wedi ei thraddodi trwy ddwyfol ysprydoliaeth am yr amserau hynny pan yr oedd cymdeithas mwy anghyffredinol rhwng yr eglwys Iuddewig a Duw, pan yr oedd efe yn preswylio yn eu mysg hwy, megis yn weledig, ac yn ei ddatguddio ei hun trwy y Shecinah, a'r Urim a'r Thummim, a thrwy brophwydoliaeth, ac felly mewn modd mwy digyfrwng yn trefnu eu hachosion hwy. Ac hefyd fod gennym ryw hanesion mewn prophwydoliaethau am oruchwyliaethau mawrion Duw, pa rai oedd i gymmeryd lle wedi gorphen yr hanesyddiaeth ddwyfol. Felly yr oedd yn hollol angenrheidiol i nifer o brophwydi gael eu codi i ragfynegi dyfodiad Mab Duw, a natur ei deyrnas a'i gogoniant, ac i fod megis cynnifer o rag-redegwyr i agoryd y ffordd iddo ef, ac fel y byddai eu prophwydoliaethau yn aros yn yr eglwys.

Yr oedd hefyd yn ddymunol fod gan yr eglwys lyfr o ddwyfol ganiadau, wedi ei roddi trwy ddwyfol ysprydoliaeth gan Dduw, ym-mha un y byddai arddangosiad bywiog o wir addoliad ysprydol, a ffydd, gobaith, cariad dwyfol, llawenydd, ymroddiad, gostyngeiddrwydd, ac edifeirwch. Ac hefyd fod gennym lyfrau yn cynnwys y fath addysgiadau moesol ag ydyw y Diarhebion a'r Pregethwr, pa rai sy mor berthynol i gyflwr ac achosion dynolryw, a'r fath reolau sydd yn ein cyfarwyddo i ymddwyn yn ddoeth ac yn gall ym mhob amgylchiadau: ac hefyd y mae o fawr ddefnydd fod gennym y fath ddarluniad, o'r mawr gariad sy rhwng Crist a'i ddyweddi, yn Nghaniad Solomon, yn neillduol fel y mae yr eglwys yn gosod allan dueddfryd serchiadau sanctaidd y gwir gredadyn: ac hefyd fod gennym lyfr i'n haddysgu pa fodd i ymddwyn mewn cystuddiau, gan mai mewn sefyllfa filwraidd y mae eglwys Dduw yn y byd hwn, a thrwy lawer o orthrymderau y mae ei bobl ef yn myned i mewn i deyrnas nef. Gan hynny Duw a roddodd i ni y llyfr mwyaf priodol i'r amgylchiadau hynny, sef Job, wedi ei ysgrifennu ar yr achlysur o gystuddiau sant neillduol, yr hwn, y mae yn debygol, a roddwyd i'r eglwys pan ydoedd dan gystuddiau yn yr Aipht, ac a

ddefnyddir gan yr apostol Iago i gysuro Cristionogion tan eriidigaethau. *Iago* 5. 11. "Chwi a glywsoch am amynedd Job, ac a welsoch ddiwedd yr Arglwydd: oblegid tosturiol iawn yw yr Arglwydd, a thrugarog." Fe ryngodd bodd i Dduw roddi i ni, trwy lyfr Job, olwg ar dduwinyddiaeth yr hen amser cyn rhoddiad y ddeddf.

Yr wyf yn tybied yr ymddengys, oddiwrth yr adolygiad byrr hwn, fod yr holl rannau o Ysgrythyrau yr Hen Destament yn hynod o fuddiol ac angenrheidiol, ac na allesid hepgor yr un ran o hono heb golled i eglwys Dduw; a chan hynny y mae doethineb Duw yn eglur yn nhrefniad ysgrythyrau yr Hen Destament i fod yn gynnwysedig yn yr ysgrythyrau hynny ag y maent.

Cyn gadael y matter hwn, myfi a ychwanegaf, fod hanesyddiaeth yr Hen Destament yn hynod o helaeth ac amlwg, yn neillduol lle mae gwaith y prynedigaeth yn gofyn hynny; megis lle y gwnaed mwyaf tu ag at y gwaith hwn, a'r pethau ag oedd fwyaf yn cysgodi Crist, ac yn parottoi y ffordd i'w ddyfodiad. Fel hyn y mae yr hanes yn helaeth ac yn fanwl am Abraham a'r Patrieirch eraill; ond yn hynod o fyrr am yr amser a dreuliodd meibion Israel yn yr Aipht. Drachefn y mae yr hanes yn helaeth am eu gwaredigaeth o'r Aipht, a sefydliad cyntaf yr eglwys a'r genedl Iuddewig yn amser Moses a Josuah; ond yn llawer byrrach am amser y Barnwyr. Felly hefyd y mae yr hanes yn helaeth a manwl am amserau Dafydd a Solomon, ac yn hynod o fyrr am y teyrnasiadau canlynol. Yn y modd hyn y mae yr hanesion yn fyrr neu yn helaeth, fel y maent yn dangos mwy neu lai o waith y prynedigaeth.

5. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, nyni a allwn weled mai Crist a'r prynedigaeth, ydyw testun mawr yr holl Fibl. Mewn perthynas i'r Testament Newydd, y mae yr hyn a gynnwysir ynddo yn eglur; a thrwy yr hyn a ddywedwyd ar y testun hwn hyd yn hyn, fe ymddengys yr Hen Destament felly hefyd. Crist a'r prynedigaeth ydyw testun mawr prophwydoliaethau cystal a chaniadau yr Hen Destament; a'r rheolau moesawl, ynghyd â'r gorchymynion oll, a roddwyd i fod yn is-wasanaethgar iddo ef. Crist a'r prynedigaeth ydyw testun mawr hanesyddiaeth yr Hen Destament, o hyd o'r dechreuad; ac y mae hyd yn oed gwaith y greadigaeth wedi cael ei ddodi i lawr i fod fel arweiniad i mewn i hanes y prynedigaeth, yr hyn yn union-gyrchol a ddilynodd. Yr holl lyfr, sef yr Hen Destament a'r Newydd, sydd yn gyflawn o efengyl, yn unig gyda hyn o wahaniaeth, sef,

ei bod yn yr Hen dan lèn, ac yn y Newydd wedi ei dilènu, fel y gallom edrych âg wyneb agored ar ogoniant yr Arglwydd.

6. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gallwn weled defnyddioldeb ac ardderchogrwydd yr Hen Destament. Y mae rhai yn barod i edrych arno fel pe bai wedi heneiddio a'i ddirymmu, ac fel pe na bai gennym ni, yn y dyddiau hyn, dan yr efengyl, ddim ond ychydig i wneud âg ef; yr hyn sydd yn gam-gymmeriad mawr, ag sydd yn tarddu oddiar ddiffyg sylwi ar ei natur a'i ddiben; ond pe gwneid sylw arno, fe ymddangosai yn gyflawn o efengyl Crist, yr hwn, mewn modd ardderchog, sydd yn cadarnhau athrawiaethau ac addewidion gogoneddus y Testament Newydd. Y rhannau hynny o'r Hen Destament, yr edrychir arnynt yn gyffredin yn cynnwys lleiaf o addysg ddwyfol, ydynt megis mwngloddiau yn llawn o drysorau gwybodaeth efengylaidd; â'r achos paham y tybir eu bod yn cynnwys cyn lleied yw, am nad yw dynion yn eu darllen ond yn arwynebol. Nid ydyw y trysorau sydd y'nghudd oddi tanodd ynddynt yn cael sylwi arnynt. Y maent hwy yn edrych yn unig ar wyneb y maes, ac felly yn fyrbwyll yn barnu nad oes dim ynddo; ond nid ydynt byth yn cloddio i'r mwnglawdd. Pe gwnaent, hwy a ganfyddent ei fod yn drysordy cyfoethog o aur ac arian, ac fe'u gwobrwyid yn helaeth am eu llafur.

Y mae yr hyn a ddywedwyd yn dangos pa fath drysor gwerthfawr y mae Duw wedi ei roddi yn ein dwylaw, gan iddo roddi i ni y Bibl. Pa gyn lleied y mae llawer o bobl yn ystyried gymmaint y maent yn ei feddu trwy fod y llyfr sanctaidd hwn yn eu meddiant, â'r hwn y gallant gyd-ymddiddan pan y mynont. Y fath lyfr ardderchog yw hwn, a pha faint y mae yn ragori ar bob ysgrifeniadau dynol, yn yr hwn y mae Duw yn ei ddatguddio ei hun i ni, ac yn rhoddi i ni, naill ai mewn hanes ai mewn prophwydoliaeth, olwg ar ddiben mawr a gogoneddus ddyfais Rhagluniaeth, o ddechreuad y byd; ac yn datguddio y Gwaredwr mawr a'r prynedigaeth gogoneddus, ynghyd â'r amrywiol gamrau a gymmerodd efe i'w gyflawni, o'i sylfaeniad cyntaf hyd y maen uchaf. A gyfrifir yn werthfawr gennym hanesyddiaeth am ryw dywysog daearol, neu ryfelwr galluog, fel Alexander Fawr, Julius Cesar, neu Duc Marlborough; ac oni chyfrifir yn werthfawr gennym yr hanes a roddes Duw i ni am deyrnas ogoneddus ei Fab Iesu Grist, y Tywysog a'r Iachawdwr; ac am ryfeloedd, a gweithrediadau mawrion eraill, Brenhin y brenhinoedd, ac Arglwydd y lluoedd, yr Arglwydd cadarn

mewn rhyfel;—yr hanes am y pethau a wnaeth efe er prynu ei bobl ddewisedig?

7. Y mae y testun yn dangos i ni pa mor feius ydyw rhai pobl, o herwydd eu dull anystyriol a diofal yn darllen yr Ysgrythyrau. Pa faint y mae yr ysgrythyrau yn ei gynnwys, pe baem ond yn sylwi arnynt? Y Bibl ydyw y llyfr mwyaf cynnwysfawr yn y byd. Ond pa les ydyw hynny i ni, os bydd i ni ei ddarllen heb ystyried amcan yr Yspryd Glân ynddo? Yr oedd y Salmydd yn erfyn ar Dduw "agoryd ei lygaid, fel y gwelai bethau rhyfedd allan o'i gyfraith ef." Y mae yr ysgrythyrau yn llawn o bethau rhyfedd. Yr hanesion hynny a ddarllenir yn gyffredin fel pe baent yn unig ond hanesion am achosion neilltuol, a phersonau neilltuol, megis Abraham, Isaac, Jacob, a Joseph; ac hefyd hanes Ruth; hanesion am ddeddfroddwyr neilltuol a thywysogion, megis hanes Josuah a'r Barnwyr, Dafydd a thywysogion Israel; ond y maent yn cynnwys pethau llawer mwy eu pwys, ac achos llawer mwy ehang, nag y mae y rhai sydd yn eu darllen yn gyffredin yn ei wybod.

Fe ddarllenir hanesyddiaeth yr ysgrythyrau, yn gyffredin, fel pe baent ond yn unig ryw chwedlau ysgrifenedig i foddio anianduedd dynion, ac i'w difyrru yn eu horiau segur, pan y mae y pethau anfeidrol y cyfeirir attynt, ag sydd yn gynnwysedig ynddynt, yn cael eu gadael heibio, a byth heb sylwi arnynt. Pa drysorau bynnag sydd yn gynnwysedig yn yr ysgrythyrau, ni fyddwn byth yn well erddynt, oddieithr i ni sylwi yn fanwl arnynt. Yr hwn sydd yn meddu Bibl, ac heb sylwi pa beth sydd yn gynnwysedig ynddo, sydd gyffelyb i ddyn yn meddu cist a fyddai yn llawn o arian ac aur, ac yntau heb wybod fod ynddi y fath drysorau; o ganlyniad, nid ystyria y byddai yn cynnwys dim mwy na llestr a fyddai yn llawn o gerrig cyffredin. Cyhyd ag y byddai un felly, ni fyddai byth ddim gwell er ei drysorau; canys yr hwn sydd heb wybod ei fod yn meddiannu trysor, nid ydyw byth yn ei ddefnyddio, ac felly a allai fod mor foddlon hebddo. Yr hwn sydd yn meddu helaethrwydd o'r ymborth mwyaf dewisol yn ei dŷ, ac heb wybod ei fod, nid ydyw byth yn ei archwaethu, ac a fydd mor debyg o newynu a phe byddai ei dŷ heb ddim ynddo.

8. Trwy y pethau hyn, fe'n haddysgir i wybod y fath Berson mawr yw Iesu Grist, a chyd â'r fath gennadwri mor fawr y daeth efe i'r byd, gan fod cymmaint yn cael ei wneud i barottoi y ffordd i'w ddyfodiad ef. Nid ydoedd Duw yn gwneuthur dim

arall, trwy yr holl oesoedd o'r dechreuad, ond parottoi ffordd i'w ddyfodiad ef. Pe baem yn sylwi ar ryw un dieithr a fyddai am ddyfod i'r wlad, ac yn edrych ar y parottoad mawr a fyddai yn cael ei wneud erbyn ei ddyfodiad, a'r amryw ffsoedd a fyddai yn cael eu treulio i hynny, a'r pethau mawrion a fyddai yn cael eu gwneuthur; y cyfnewidiadau mawrion a wneid yn sefyllfa yr holl wlad, y lluaws dwylaw a fyddai yn cael eu cynnal, y personau enwog a fyddai yn ymroddi i wneuthur parottoad i'w ddyfodiad ef, yr holl wlad yn cael ei dadymchwelyd, a'i holl orchwylion a'i hachosion yn cael eu trefnu i groesawu y fath berson pan y deuai; fe fyddai yn naturiol i ni feddwl ynom ein hunain, a dywedyd, yn sicr, y mae hwn yn rhyw un anghyffredinol, ac at ryw orchwyl mawr y mae yn dyfod!

Pa fath Berson mawr y mae yn rhaid ei fod ef, er dyfodiad yr hwn i'r byd y bu Duw mawr y nefoedd a'r ddaear, llywodraethwr pob peth, bedair mil o flynyddoedd yn parottoi y ffordd—ac yn dwyn oddi amgylch ddigwyddiadau mawrion, a gwneuthur rhyfeddodau heb rifedi, yn fynych yn dadymchwelyd y byd mewn trefn i hyn, ac yn peri i'r holl chwyldroadau a'r cyfnewidiadau, o genhedlaeth i genhedlaeth, fod yn wasanaethgar i'r diben mawr hwn? Yn sicr y mae yn rhaid ei fod ef yn rhyw Berson mawr anghyffredinol, ac yn wir y mae yn rhaid fod y gwaith y daeth efe efe i'w wneuthur yn fawr!

Yr ydym yn darllen, pan yr oedd Crist yn myned i Jerusalem, a'r lluaws yn rhedeg o'i flaen ef, ac yn torri cangau o'r gwydd i'w taenu ar hyd y ffordd, ac eraill yn taenu eu dillad, ac yn llefain, "Hosanna i Fab Dafydd," fod yr holl ddinas wedi cynhyrfu, ac yn dywedyd, Pwy ydyw hwn? *Mat.* 21. 8, 9, 10. Hwy a synnasant, gan fod y fath gynnwrf ar yr achlysur o'i ddyfodiad ef i'r ddinas, a'r fath barottoi ar y ffordd iddo. Ond pe ystyriem yr hyn a ddywedwyd ar y testun hwn, pa bethau mawr a wnawd yn holl oesoedd y byd i barottoi y ffordd i genhedliad Crist, a'r modd y mynych ddadymchwelwyd y byd, i wneud ffordd i'w ymddangosiad ef, mwy o lawer y gallem waeddi, Pwy yw hwn? Pa fath Berson mawr yw efe? A dywedyd, gyd â'r Salmydd, *Ps.* 24. 8, 9, 10. "Pwy yw Brenhin y gogoniant hwn," pan y mae Duw wedi rhoddi y fath fri iddo, a gosod y fath anrhydedd mawr arno? Yn sicr y mae efe yn Berson ag sydd yn wir anrhydeddus yn ngolwg Duw, ac a gerir yn fawr ganddo ef; ac yn ddiammeu y mae y gennadwri, ar ba un yr anfonwyd ef i'r byd, yn un fawr.

# DOSPARTH II.

*O'r Amser yr ymunodd Crist â Chnawd hyd ei Adgyfodiad.*

DANGOSAIS y modd y dygwyd ym mlaen waith y prynedigaeth trwy yspaid yr amser cyntaf, sef o gwymp dyn hyd gnawdoliaeth Crist: yr wyf yn awr yn dyfod ym mlaen at yr ail amser, sef amser darostyngiad Crist, neu yr yspaid hynny o'r amser yr ymunodd efe â chnawd hyd ei adgyfodiad. A hwn ydoedd yr amser mwyaf rhyfedd a fu erioed nac a fydd byth. Er nad oedd ond rhwng deg ar hugain a deugain mlynedd, etto fe wnawd mwy ynddo nag a wnawd o ddechreuad y byd hyd hynny. Nyni a sylwasom o'r blaen, fod yr holl ddigwyddiadau a fu o'r cwymp hyd pan yr ymunodd efe â chnawd yn unig yn barottoawl i wneuthur y gwaith oedd i'w wneud yr amser hwn. Ac fe ellir sylwi hefyd, fod yr hyn a wnawd gan y Personau Dwyfol, yn nhragywyddol gyngor Duw, cyn dechreuad amser, yn bennaf yn cyfeirio at yr amser hwn. Gan hynny nyni a awn ym mlaen yn awr i sylwi ar yr hyn a ddodwyd i lawr dan yr ail gynnygiad, sef,

*Fod yr amser o'r pryd yr ymunodd Crist â Chnawd hyd ei Adgyfodiad yn cael ei dreulio i ennill a phwrcasu Prynedigaeth.*

Er fod llawer o bethau wedi cael eu gwneud yn barottoawl i'r prynedigaeth, o gwymp dyn hyd yr amser hwn, megis offrymmu i fynu filiynau o aberthau; etto ni's gallasai yr un o honynt bwrcasu ein prynedigaeth. Ond cyn gynted ag y daeth Iesu Grist i undeb â chnawd, y pwrcasiad a ddechreuodd yn ddioed; a holl amser ei ymddarostyngiad ef, sef o'r pryd yr ymunodd â dynoliaeth hyd foreu yr adgyfododd oddiwrth y meirw, a gymmerwyd i fynu yn ngwneuthuriad y pwrcasiad hwn, ac ynddo fe'i cyflawn orphenwyd. Megis na wnawd dim yn weithredol, er pwrcasu prynedigaeth i ddynion, cyn iddo ef ymuno â chnawd, felly ni wnawd dim ar ol ei adgyfodiad ef, Ac ni wneir dim mwyach i dragywyddoldeb: canys yr unig fynyd ag y rhyddhawyd ei natur ddynol ef odditan awdurdod marwolaeth, fe dalwyd y ffyrling eithaf o bridwerth iachawdwriaeth pob un o'r etholedigion.

Ond i'r diben i ystyried yn fwy trefnus a rheolaidd yr hyn a wnawd gan ein Ceidwad bendigedig i bwrcasu prynedigaeth i

ni—mynfi a sylwaf, (1.) Fod Crist wedi ymuno â chnawd i'w addasu ei hun i gyflawni y pwrcasiad hwn;—ac yn (2.) Y pwrcasiad ynddo ei hun.

---

## RHAN I.

*Yr Arglwydd Iesu yn ymuno â Chnawd.*

YN GYNTAF, Sylwaf fod Crist wedi cymmeryd ein natur ni, i'r diben i'w addasu ei hun i bwrcasu ein prynedigaeth neu ein rhyddhad.—Yr oedd hynny yn angenrheidiol anhepgorol; canys er ei fod ef fel Duw yn anfeidrol ddigonol i'r gwaith, etto, tu ag at fod yn addas ddigyfrwng i'r gorchwyl, yr oedd yn angenrheidiol iddo, nid yn unig fod yn Dduw, ond yn ddyn hefyd. Pe buasai Crist yn aros yn ei natur ddwyfol yn unig, ni allasai bwrcasu ein hiachawdwriaeth; nid o herwydd un ammherffeithrwydd yn ei natur ddwyfol, ond oblegid ei hanfeidrol a'i hollol berffeithrwydd; canys nid ydoedd Crist, fel Duw, yn meddu cymmwysder i ufuddhau na dioddef. Ac yr oedd yn angenrheidiol iddo ef, nid yn unig gymmeryd natur grëedig, ond ein natur ni. Ni buasai yn ddigon iddo ddyfod yn angel, ac ufuddhau a dioddef yn y natur angylaidd. Ond yr oedd yn angenrheidiol iddo ddyfod yn ddyn, a hynny oblegid tri pheth:

(1.) Yr oedd yn angenrheidiol, er cyflawni gofynion y ddeddf, i'r natur honno ufuddhau, i ba un y rhoddwyd y ddeddf. Ni's gallesid cyflawni y ddeddf a roddwyd i ddyn ond trwy gael ufudd-dod gan ddyn. Yr oedd cyfiawnder Duw yn galw am i'r ddeddf a roddwyd i ddyn gael anrhydedd, ac ymostyngiad iddi, a'i chyflawni gan y natur ddynol; heb hynny ni buasai iddi gael cyflawni ei gofynion tros ddyn. Y geiriau *gwna*, neu *na* wna y fel a'r fel, a lefarwyd wrth ddynolryw, a chan hynny y mae yn rhaid cael natur ddynol i'w cyflawni.

(2.) Yr oedd yn angenrheidiol er cyflawni gofynion y ddeddf, i'r natur a bechodd farw. Y mae yr ymadrodd, "Gan farw tydi a fyddi farw," yn dwyn perthynas â'r natur ddynol: yr un natur ag y rhoddwyd y gorchymyn iddi, ydyw y natur tu ag at ba un y mae y bygythiad yn cyfeirio.

(3.) Duw a welodd yn addas i'r byd, a fu yn orsaf i gwymp dyn a'i ddinystr, fod hefyd yn orsaf i'w brynedigaeth. Yr ydym yn fynych yn darllen, fod Crist wedi dyfod i'r byd i gadw pech-

aduriaid, ac mai i'r diben hwnnw yr anfonwyd ef gan Dduw. Felly yr oedd yn angenrheidiol iddo ef ddyfod i'r byd truenus a phechadurus hwn, i'w adferu, a phabellu gyda ni, ac achub dynion. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni." *Ioan* 1. 14.

Mewn perthynas i gnawdoliaeth Crist, myfi a sylwaf ar y pethau canlynol:

1. Fe ymunodd yr Arglwydd Iesu â chnawd; ac mewn perthynas i hynny y mae dau beth neilltuol i'w hystyried:—(1.) Ei genhedliad ym mru Mair, trwy yr hyn y daeth efe yn wir Fab dyn, fel y gelwir ef yn fynych. Yr oedd efe yn un o hil Adda, yn fab Abraham, ac yn fab Dafydd yn ol addewid Duw. Ond ni chenhedlwyd ef yn ol trefn natur, eithr trwy nerth yr Yspryd Glân. Felly yr oedd efe yn ddigyfrwng fab y wraig, ond nid yn ddigyfrwng fab i unrhyw ŵr; ac felly yn had y wraig, ac yn fab y forwyn.—(2.) Ei enedigaeth. Er fod cenhedliad Crist yn oruwch-naturiol, etto, wedi ei genhedlu, yr oedd ei natur ddynol yn cael ei pherffeithio yn raddol yn y groth, fel eraill o ddynolryw, a'i enedigaeth ydoedd yn ol trefn natur. Ond ei genhedliad ydoedd yn oruwch-naturiol, trwy allu yr Yspryd Glân; ac efe a genhedlwyd, ac a anwyd heb bechod.

2. Yr ail beth, mewn perthynas i Grist yn ymuno â chnawd, y sylwaf arno ydyw, i hynny gael ei gyflawni yn nghyflawnder yr amser: sef wedi i bethau fod yn cael eu parottoi erbyn ei ddyfodiad ef er y cwymp, a phan yr oedd pob peth yn barod. Efe a ddaeth yn yr amser mwyaf addas a phriodol yn ngolwg doethineb dwyfol. "Ond pan ddaeth cyflawnder yr amser, y danfonodd Duw ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf." *Gal.* 4. 4.

Yn awr oedd yr amser mwyaf priodol i Grist ymddangos yn y cnawd, ar amryw gyfrifon. Ni buasai unrhyw amser cyn y diluw mor addas; canys nid oedd y drygau a'r distryw a ddygodd y cwymp ar ddynolryw i'w gweled y pryd hynny mor gyflawn. Nid ydoedd y felldith wedi dyfod mor gyflawn ar y ddaear cyn y diluw ag y daeth wedi hynny: canys er fod y ddaear wedi ei melldithio mewn mesur mawr o'r blaen, etto fe ryngodd bodd i Dduw gyflawni y felldith mewn distryw cyffredinol ar y ddaear, fel y byddai i effeithiau echrydus y cwymp ymddangos unwaith yn y modd hynny yn amlwg cyn i'r adferiad trwy Grist gymmeryd lle. Er fod dynolryw yn meirw cyn

y diluw, etto yr oedd eu dyddiau yn parhau y rhan fwyaf o fil o flynyddoedd; yr hyn oedd yn fath o anfarwoldeb, mewn cymhariaeth â'r peth ydyw oes dyn yn bresennol. Ond fe ryngodd bodd i Dduw beri i'r felldith honno, "Pridd wyt ti, ac i'r pridd y dychweli," gael ei hollol gyflawni cyn i'r Gwaredwr ddyfod i bwrcasu bywyd annherfynol i ddyn.

Ni buasai yr amser mor addas i Grist ddyfod rhwng y diluw a dyddiau Moses; canys hyd hynny, nid ydoedd dynolryw wedi gwrthgilio mor gyffredinol oddiwrth y gwir Dduw, ac nid oeddynt wedi syrthio yn hollol i dywyllwch Paganaidd, ac felly nid oedd yr angenrheidrwydd am Grist, goleuni y byd, mor amlwg. Nid oedd aethus ganlyniad y cwymp mewn perthynas i farwoldeb dyn ddim mor gyflawn amlwg hyd hynny, sef dyddiau Moses. Canys nid oedd oes dyn wedi ei byrhau a'i chwttogi i'w hyd presennol hyd oddeutu yr amser hwnnw. Yr ydoedd yn fwy addas na byddai i amser y Messiah fod hyd oni byddai i'r holl genhedloedd, heblaw plant Israel, fod wedi gorwedd yn hir mewn tywyllwch Paganaidd, fel y byddai angen o gael meddyginiaeth i'w hafiechyd ymddangos trwy hir brawf, ac felly yr angenrheidrwydd anhepgorol am y Physygwr nefol.

Rheswm arall ydoedd, mae yn debygol, paham na ddaeth Crist yn fuan ar ol y diluw, fel y byddai i'r ddaear gael amser i'w llenwi â phobl, ac y byddai i'w deyrnas ef fod yn fwy ehang, ac effeithiau ei oleuni, ei ras, a'i allu, gael eu gogoneddu, a'i fuddugoliaeth ef ar Satan gael ei dwyn ym mlaen gyda lluaws mwy o oruchafiaethau. Yr oedd hefyd yn angenrheidiol i'w ddyfodiad ef fod amryw oesoedd ar ol Moses, fel y byddai i'r eglwys gael ei pharottoi, trwy fod y Messiah, mewn amryw ffyrdd, yn cael ei gysgodi, a rhagfynegi am dano, a thrwy hir ddisgwyliad am ei ddyfodiad. Nid ydoedd yn addas i Grist ymddangos yn y cnawd cyn y caethiwed i Babilon, oblegid nad oedd teyrnas Satan y pryd hynny wedi cyrhaedd i'w huchder pennaf. Y byd cyn hynny oedd yn gynnwysedig mewn llywodraethau bychain; ond fe welodd Duw yn addas i ddyfodiad y Messiah fod yn amser un o bedair unbennaeth fawr y byd: canys ewyllys Duw ydoedd i amrywiol unbennaethau cyffredinol ddilyn y naill ar ol y llall, ac i'r Messiah ddyfod yn amser y ddiweddaf, yr hon oedd yn ymddangos yn uwch na'r lleill oll. Unbennaeth Persia a ymddangosodd yn uwch na Babilon, trwy ei dadymchwelyd hi; ac felly yr un Roegaidd, trwy ddadymchwelyd Persia, a ymddangosodd yn uwch na hithau; yr un

modd yr oedd un Rhufain drachefn uwchlaw un Groeg. Yn awr ewyllys Duw ydoedd, i'w Fab ymddangos yn y byd yn amser yr unbennaeth fwyaf a chryfaf, yn yr hon yr oedd teyrnas weledig Satan yn gynnwysedig ar y ddaear; fel, trwy ddadymchwelyd hon, y byddai iddo ef ddadymchwelyd teyrnas Satan yn ei nerth a'i gogoniant mwyaf, ac felly cael cyflawn oruchafiaeth ar y diafol ei hun.

Nid ydoedd hefyd yn addas i Grist ddyfod i'r byd cyn y caethiwed i Babilon; canys nid oes gennym hanesion am sefyllfa y byd Paganaidd cyn hynny, er rhoddi i ni gyflawn brawf o'r angenrheidrwydd am Waredwr. Ac heblaw hynny, nid oedd dysgeidiaeth ddim wedi blodeuo llawer cyn hynny, ac felly nid oedd cyfleusdra i ddangos annigonolrwydd dysgeidiaeth a doethineb ddynol* i ddiwygio ac achub dynolryw. Drachefn, nid oedd yr Iuddewon, cyn hynny, wedi eu gwasgaru ar hyd y byd, fel yr oeddent wedi hynny; ac felly nid oedd pethau wedi eu parottoi yn yr ystyr hynny i ddyfodiad Crist. Felly, gan nad oeddynt hwy wedi eu gwasgaru, nid oedd yr angenrheidrwydd am ddiddymiad y seremoniau Iuddewig mor amlwg ag ydoedd wedi hynny; na'r ffordd wedi ei pharottoi i ledaenu yr efengyl, fel y parottowyd hi trwy eu gwasgariad. Llawer o bethau eraill a ellid eu crybwyll, trwy ba rai yr ymddangosai, nad oedd un amser, ond yr unig amser y daeth Crist, yn addas iddo ef ymddangos yn y byd i bwrcasu prynedigaeth i ddynion.

3. Y peth nesaf y sylwaf arno, ydyw mawredd y digwyddiad hwn. Yr oedd fod Crist yn ymuno â chnawd yn beth mwy rhyfeddol na dim a fu erioed o'r blaen; ac ni bu ond un digwyddiad mwy wedi hynny, sef ei farwolaeth ef. Yr oedd creadigaeth y byd yn beth rhyfedd, ond nid mor rhyfedd a chnawdoliaeth Crist. Peth mawr oedd i'r Creawdwr wneuthur creadur, ond nid mor fawr ag i'r Creawdwr ei hun ddyfod yn ddyn. Nyni a soniasom o'r blaen am lawer o bethau, a gyflawnwyd o amser i amser, yn yr oesoedd rhwng cwymp dyn a chnawdoliaeth Crist; ond yr oedd hyn yn ddigwyddiad llawer mwy nag yr un o honynt. Y pryd hyn y ganwyd y person mwyaf a fu erioed, nac a fydd byth.

---

* Nid oedd ein hawdwr yn ddiystyr o ddysgeidiaeth ddynol, nac yn cefnogi neb arall i fod felly; eithr y mae cyn hyn, ac ar ol hyn, yn y traethawd hwn, yn dangos ei gwerth fel llaw-forwyn i grefydd; ond ei feddwl yw, fel y mae yn dywedyd, ei hannigonolrwydd i achub dynion.

4. Sylwaf ar yr amgylchiadau nodedig hyn, sef iddo gael ei eni o forwyn, yr hon oedd yn wir dduwiol a sanctaidd, ond yn dlawd, fel yr ymddengys oddiwrth ei hoffrwm amser ei phuredigaeth: "Yn ol yr hyn a ddywedwyd yn neddf yr Arglwydd, Pâr o durturod, neu ddau gyw colommen." *Luc* 2. 24. Cyfeiriad at *Lef.* 5. 7. Y wyryf dlawd hon oedd wedi ei dyweddio i ŵr, yr hwn oedd hefyd yn dlawd. Er eu bod hwy eill dau o'r brenhinol deulu o dŷ Dafydd, y teulu mwyaf anrhydeddus yn y wlad, a Joseph ydoedd gyfiawn etifedd y goron; etto yr oeddynt wedi eu darostwng i sefyllfa isel. Y mae hyn yn cael ei arddangos trwy ddrylliad neu gwymp tabernacl Dafydd: "Y dydd hwnnw y codaf babell Dafydd yr hon a syrthiodd, ac a gauaf ei bylchau, ac a godaf eu hadwyau, ac a'i hadeiladaf fel yn y dyddiau gynt." *Amos* 9. 11. *Act.* 15. 16.

Efe a anwyd yn Bethlehem, megis ag y rhagfynegwyd; ac yr oedd rhagluniaeth hynod nodedig o eiddo Duw yn dwyn pethau oddi amgylch er cyflawni y brophwydoliaeth hon, sef trethiad yr holl fyd gan Augustus Cesar. *Luc* 2. 1. Efe a anwyd mewn cyflwr hynod o isel, sef mewn ystabl, ac a ddodwyd yn y preseb.

5. Myfi a sylwaf ar y pethau ag oedd yn cyd-ganlyn y digwyddiad mawr hwn. Ac,

(1.) Adferiad yspryd prophwydoliaeth, yr hyn a ddigwyddodd ychydig cyn i Grist ymuno â chnawd; ond ar yr achlysur hwnnw y rhoddwyd ef, sef i ddatguddio genedigaeth Crist, neu ei rag-redegwr ef Ioan Fedyddiwr. Sylwais o'r blaen fod yspryd prophwydoliaeth wedi cilio cyn pen hir wedi ysgrifennu llyfr Malachi, ac oddeutu yr un amser hefyd, fe ballodd gweledigaethau a datguddiedigaethau digyfrwng. Ond yn awr ar yr achlysur hwn fe ganiattawyd hynny o'r newydd, a'r yspryd a ddychwelodd drachefn yn y gweithrediadau hynny. Y siampl gyntaf sydd gennym o'i adferiad, ydyw hanes a geir am weledigaeth Zacharias, tad Ioan Fedyddiwr. *Luc* 1. Y nesaf, y weledigaeth a gafodd y wyryf Mair. A'r drydedd, y weledigaeth a gafodd Joseph. *Mat.* 1. Yn y lle nesaf, fe roddwyd yr yspryd i Elisabeth; a thrachefn i Mair, megis yr ymddengys oddiwrth ei chân; ac wedi hynny i Zacharias drachefn. *Luc* 1. 41, 46, 64. Ac hefyd i Simeon ac Anna; ac wedi hynny i'r doethion o'r dwyrain. Ac i Joseph drachefn i'w gyfarwyddo i ffoi i'r Aipht, ac wedi hynny i'w gyfarwyddo i ddychwelyd oddi yno. *Luc* 2. 25, 36. *Mat* 2. 19,—23.

(2.) Ystyriwn y sylw mawr oedd yn cael ei wneuthur ar ei gnawdoliaeth ef yn y nefoedd ac ar y ddaear. Y modd y gwnawd sylw ar hyn gan drigolion gogoneddus y byd nefol, a ymddengys oddiwrth eu caniadau gogoneddus ar yr achlysur, y rhai a glywyd gan y bugeiliaid yn y nos. Hwn oedd y digwyddiad mwyaf rhyfedd mewn rhagluniaeth a welwyd erioed gan yr angelion. Yr ydym yn darllen eu bod yn canu mawl pan y gwelsant ffurfio y byd isod: *Job* 38. 7. "Pan gyd-ganodd sêr y boreu, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw." Felly yn awr, hwy a ganasant fawl, ar achlysur llawer mwy, sef genedigaeth Mab Duw, yr hwn yw Creawdwr y byd.

Yr angelion gogoneddus oeddynt o hyd yn disgwyl y digwyddiad hwn: yr oeddynt yn gwneud sylw manwl ar yr addewidion a'r prophwydoliaethau am y pethau hyn: canys yr ydym yn darllen eu bod yn chwennychu edrych ar orchwylion y prynedigaeth. 1 *Petr* 1. 12. Yr oeddynt yn weinidogion i Grist yn wastadol yn y gorchwyl mawr hwn, trwy yr amrywiol gamrau o heno er cwymp dyn. Yn holl ymddygiadau yr Arglwydd tu ag at ei bobl o amser i amser, yn yr hen amseroedd, yr oeddynt hwy yn gwasanaethu; a diammau yw, eu bod wedi hir ddisgwyl, mewn modd gorfoleddus, am ddyfodiad Crist. Ond yn awr gwelsant y cyflawniad o hynny, a chan hynny, fe'u llanwyd â hyfrydwch melus-bêr.

Fe wnawd sylw ar hyn gan rai ym mysg yr Iuddewon, yn neillduol gan Elisabeth a'r wyryf Mair, cyn genedigaeth Crist; heblaw yr hyn a ddywedir am Ioan Fedyddiwr cyn ei eni, pan y llammodd o lawenydd y'nghroth ei fam, wrth gyfarchiad Mair. Ond Elisabeth a Mair, pan gyfarfuont â'u gilydd, oeddynt yn clodfori ynghyd yn y modd mwyaf gorfoleddus, pan yr oedd Crist ym mru y naill, a'i rag-redegwr ym mru y llall, a'r Yspryd Glân yn eu heneidiau. Ac wedi hynny, pa mor orfoleddus yr oedd y bugeiliaid yn sylwi ar y digwyddiad mawr hwn, a'r personau sanctaidd hynny, Zacharias, Simeon, ac Anna! O fel yr oeddynt yn clodfori Duw ar y fath achlysur! Yr oedd yr eglwys yn y nefoedd, ac ar y ddaear, yn ymuno fel hyn mewn mawl gorfoleddus.

Yr oedd rhan fawr o'r ddaeu fyd yn cymmeryd sylw gorfoleddus ar gnawdoliaeth Crist. Y nefoedd oedd yn sylwi arno, a'i thrigolion yn canu gan lawenydd. Y byd o ddynolryw hefyd oedd yn cymmeryd sylw ar hyn, ie, Cenhedloedd yn gystal ag Iuddewon; canys fe ryngodd bodd i Dduw ddodi anrhydedd ar

ei Fab, trwy gynhyrfu yn wyrthiol rai o'r rhai doethaf o'r Cenhedloedd i gymmeryd hir daith i ddyfod i weled Mab Duw a'i addoli pan aned ef. Hwy a arweiniwyd gan seren wyrthiol, yr hon oedd yn arwyddo genedigaeth y Person gogoneddus hwn, yr hwn ydyw y seren foreu eglur; gan fyned o'u blaen hwy, hi a'i cyfarwyddodd i'r man lle yr oedd y mab bychan. Y mae rhai yn meddwl eu bod hwy wedi cael eu haddysgu trwy brophwydoliaeth Balaam, yr hwn oedd yn byw yn y dwyrain, ac a ragfynegodd am ddyfodiad Crist, fel seren yn cyfodi o Jacob: neu, fe allai eu bod wedi eu cynhyrfu trwy y disgwyliad cyffredinol ag oedd y pryd hynny am ddyfodiad y Messiah, fel y soniwyd o'r blaen, ac oddiwrth y rhybuddion oeddynt yn eu cael am dano yn y prophwydoliaethau oedd gan yr Iuddewon yn eu canlyn yn eu gwasgariad trwy amryw rannau o'r byd.

(3.) Y peth nesaf ag oedd yn cyd-ganlyn genedigaeth Crist, oedd ei enwaediad. Ond y mae yn fwy priodol i sylwi ar hyn tan ben arall.

(4.) Peth arall oedd yn cyd-ganlyn yr amgylchiad hwn, ydoedd ei ddyfodiad ef i'r ail deml; fe'i dygwyd ef yno yn gyntaf ar yr achlysur o buredigaeth y forwyn fendigedig. Fel hyn y rhagfynegwyd; "A dymuniant yr holl genhedloedd a ddaw. llanwaf hefyd y tŷ hwn (neu y deml) â gogoniant." *Hag.* 2. 7. A thrachefn, "Ac yn ddisymmwth y daw yr Arglwydd, yr hwn yr ydych yn ei geisio i'w deml; sef angel y cyfammod." *Mal.* 3. 1. Ac yn awr y cafwyd y siampl gyntaf o gyflawniad y prophwydoliaethau hyn.

(5.) Y peth diweddaf y gwnaf grybwylliad am dano yn y lle hwn, yw ymadawiad y deyrn-wïalen o Judah, ar farwolaeth Herod Fawr. Nid oedd y deyrn-wïalen erioed wedi hollol ymadael o Judah cyn hyn. Teyrn-wïalen Judah a gwttogwyd yn fawr yn ngwrthgiliad y deg llwyth, yn amser Jeroboam; ac yr oedd teyrn-wïalen Israel, neu Ephraim, yn ymadaw, pan y caethgludwyd y deg llwyth gan Salmaneser. Ond yr oedd y deyrn-wïalen o hyd yn aros yn llwyth Judah, dan frenhinoedd o dŷ Dafydd. A phan y caethgludwyd Judah a Benjamin gan Nebuchodonosor, fe ballodd y deyrn-wïalen yn Judah dros ychydig ennyd, sef, hyd oni ryddhawyd hwy o'u caethiwed gan Cyrus; ac wedi hynny, er nad oeddynt yn meddu llywodraeth anymddibynol fel o'r blaen, etto, yr oedd eu llywodraethwyr o honynt eu hunain, ond dan rwymau o ffyddlondeb i frenhinoedd Persia; er hynny yr oedd ganddynt awdurdod i benderfynu

achos bywyd ac angau, ac yn llywodraethu yn ol rheolau eu cyfreithiau eu hunain; ac felly yr oedd "deddfwr rhwng ei draed ef," sef Judah, tra y parhaodd unbennaethau Persia a Groeg. Yr oedd y bobl yn cael eu llywodraethu gan frenhinoedd o'u cenedl eu hun oddeutu y rhan olaf o unbennaeth Groeg, sef rhai o hil y Maccabeaid, pa rai a fu yn llywodraethu agos i gan mlynedd. Wedi hynny fe'u darostyngwyd gan y Rhufeiniaid. Ond yr oeddynt hwy yn goddef iddynt fod dan lywodraeth yn ol rheolau eu cyfreithiau eu hunain, ac i fod dan frenhin o honynt eu hunain. Herod Fawr, yr hwn a fu yn teyrnasu oddeutu deugain mlynedd, oedd yn llywodraethu gyda brenhinol awdurdod, yn unig gyd âg ymostyngiad i'r Rhufeiniaid. Ond yn ddioed wedi genedigaeth Crist bu farw Herod, ac Archelaus a'i dilynodd; ond efe a ddiswyddwyd yn fuan gan Ymerawdwr Rhufain; ac yna fe hollol ymadawodd y deyrnwialen o Judah. *Mat.* 2. 19. Nid oedd wedi hynny frenhinoedd tymhorol mwyach yn Judah, ac ni bu gan y bobl o hynny allan eu llywodraethwyr o honynt eu hunain, ond yr oeddynt yn cael eu llywodraethu gan lywodraethwr Rhufeinaidd a anfonid i'w mysg; ac nid oeddynt wedi hynny yn meddu awdurdod yn achos bywyd ac angau, fel y gwelir oddi wrth yr hyn y mae yr Iuddewon yn ei ddywedyd wrth Pilat, "Nid cyfreithlon i ni ladd neb." *Ioan* 18. 31. Felly y deyrn-wialen a ymadawodd o Judah pan y daeth Siloh.

---

## RHAN II.

### *Pwrcas y Prynedigaeth.*

WEDI sylwi, yn y modd hyn, fod Crist wedi dyfod i'r byd, a chymmeryd ein natur ni, i'r diben i'w addasu ei hun i bwrcasu prynedigaeth—yr wyf yn awr yn dyfod i lefaru am y pwrcas ynddo ei hun.—(1.) Pa beth a feddylir wrth bwrcasu prynedigaeth.—(2.) Gwneud rhai sylwadau cyffredinol mewn perthynas i'r pethau hynny trwy ba rai y gwnawd y pwrcas.—(3.) Ystyried yr hyn a wnaeth Crist.—Ac yn (4.) pa bethau a ddioddefodd efe wrth wneuthur y pwrcas.

I. Fe bwrcasodd Crist ein Prynedigaeth trwy ei haeddiant, a'r boddhad a roddodd i gyfiawnder. Y pridwerth a roddodd

ef i lawr a dalodd ein dyled, ac felly yr ydoedd yn boddloni cyfiawnder dwyfol. Trwy y cyttundeb a fu rhwng y Tad a'r Mab, a'r gwerth hanfodol a roddwyd, fe ennillwyd hawl i'n dedwyddwch, ac felly y rhyglyddwyd ein gwynfydedigrwydd. Y boddlondeb a roddodd Crist drosom sydd yn ein rhyddhau oddiwrth drueni, a'i haeddiant a bwrcasodd ein dedwyddwch.

Y gair *pwrcas*, fel yr arferir mewn perthynas i'r hyn a wnaeth Crist; a ddefnyddir naill ai mewn ystyr cyfyng, ai mewn ystyr mwy helaeth. Fe'i defnyddir mewn ystyr cyfyng, i osod allan haeddiant Crist yn unig; ac mewn ystyr mwy helaeth, fel y mae yn cynnwys y boddlondeb* a roddwyd ganddo trwy ei haeddiant. Y mae llawer o'r geiriau, a ddefnyddir i osod allan y gorchwyl hwn, yn cael eu golygu o wahanol ystyriaethau. Y mae rhai duwinyddion yn arfer y gair haeddiant, neu deilyngdod, i osod allan yr holl bridwerth a offrymwyd gan Grist. Felly hefyd y mae y gair *boddlonrwydd* yn cael ei ddefnyddio, weithiau, nid yn unig i arwyddo iawn, ond hefyd ufudd-dod teilyngol. Canys, mewn ystyr, nid yn unig dioddef cosp oedd yn angenrheidiol i foddloni 'r gyfraith, ond hefyd ufuddhau i'w gorchymynion. Yr achos o'r gwahanol ddulliau hyn o arferyd y geiriau, tybygid, ydyw, am nad ydynt yn gwahaniaethu cymmaint yn wirioneddol ag y maent yn berthynasol. Y mae pob un o honynt yn arwyddo taliad o anfeidrol werth; ond y pridwerth hwnnw, fel y mae yn golygu dyled oedd i'w thalu, a elwid boddlonrwydd; ac fel y mae yn golygu y buddioldeb ag oedd i'w dderbyn, gelwir ef yn haeddiant. Y mae yr hwn sydd yn dodi pridwerth i lawr er talu dyled, mewn rhyw ystyr, yn gwneuthur pwrcasiad; y mae yn pwrcasu rhyddhad oddiwrth rwymedigaeth. Ac y mae yr hwn sydd yn dodi y pridwerth i lawr, i bwrcasu daioni, fel pe bai yn gwneuthur boddlonrwydd. Y mae yn boddloni gofynion ammodol yr hwn y mae yn talu iddo. Felly gall hyn fod yn ddigonol i ddangos pa beth a feddylir wrth y pwrcasiad a wnaeth Crist.

II. Yr wyf yn dyfod ym mlaen i wneud rhai sylwadau cyffredinol mewn perthynas i'r pethau hynny trwy ba rai y gwnawd y pwrcas hwn.

* Y gair Saesoneg *merit*, a ddefnyddir gan ein hawdwr, a ellir ei gyfieithu, teilyngdod, haeddiant, neu, rhyglyddiant: a'r gair *satisfaction*, boddlonrwydd, neu, boddhad.

1. Sylwaf, pa beth bynnag yn ngwaith Crist oedd o natur i foddloni, neu gymmodi, ydoedd felly trwy rinwedd ei ddioddefiadau, neu ei ymddarostyngiad ef. Ond pa beth bynnag oedd o natur ryglyddawl, ydoedd felly trwy rinwedd ardderchawgrwydd ei ufudd-dod. Y mae y boddhad a wnaeth Crist yn gynnwysedig yn ei waith yn atteb gofynion y ddeddf ar ran dyn, mewn canlyniad iddi gael ei throseddu, yr hyn a gyflawnwyd ganddo ef trwy ddioddef ei bygythion. Y mae haeddiant Crist yn gynnwysedig yn yr hyn a wnaeth efe er cyflawni yr hyn oedd y ddeddf yn ei ofyn gan ddyn cyn iddo bechu, sef ufudd-dod.

Y mae y boddlonrwydd, neu 'r iawn a roddodd Crist, yn gynnwysedig naill ai yn y poenau a ddioddefodd, ai trwy ei fod dan rwymau i ddarostyngiad. Canys efe a wnaeth gymmod, neu foddlonrwydd, nid yn unig trwy ei ddioddefaint priodol, ond hefyd trwy ba beth bynnag ag oedd o natur ddarostyngol; megis ei arosiad dan awdurdod marwolaeth, tra bu efe yn gorwedd yn y bedd, er nad oedd ei gorph na'i enaid yn dioddef wedi iddo farw. Felly yr oedd holl ufudd-dod Crist yn ei sefyllfa ddarostyngol, yn y naill olygiad neu y llall, o natur ryglyddawl, ac yn rhan o'r pridwerth trwy ba un y pwrcaswyd dedwyddwch yr etholedigion.

2. Yr oedd y cymmod a wnaeth Crist dros bechod, a'r dedwyddwch a ryglyddodd efe trwy ei gyfiawnder, yn cael eu dwyn ym mlaen trwy yspaid amser ei ymddarostyngiad. Nid yn nioddefiadau diweddaf Crist yn unig, er mai yn bennaf yn y rhai hynny, yr oedd y cymmod a wnaeth efe dros bechod; ond ei holl ymddarostyngiad, a'i holl ddioddefiadau a ddioddefodd, o'r mynydyn yr ymunodd efe â chnawd hyd ei adgyfodiad, oeddynt yn ddyhuddawl, neu yn gymmodawl. Felly hefyd yr oedd pwrcasu dedwyddwch trwy ei gyfiawnder yn cael ei ddwyn ym mlaen trwy holl amser ei ymddarostyngiad; nid yn unig trwy ystod ei fywyd, ond hefyd trwy iddo roddi ei einioes i lawr yn y diwedd.

3. Trwy yr un pethau y boddhaodd Crist gyfiawnder Duw ag y darfu iddo hefyd bwrcasu tragywyddol ddedwyddwch i'w bobl. Nid trwy ryw bethau a wnaeth yr oedd efe yn cymmodi, a thrwy bethau eraill yn gwneuthur cyfiawnder; ond yr oedd efe, trwy yr un gweithredoedd, yn cymmodi ac yn gweithredu cyfiawnder, ond yn unig eu cymmeryd mewn gwahanol berthynas. Yr un gweithredoedd o ufudd-dod, ym mha rai y mae

cyfiawnder Crist yn gynnwysedig, â pha rai y pwrcasodd y nefoedd i ni, a'u hystyried mewn perthynas i'r hunan-ymwadiad, y boen, a'r darostyngiad yr oedd efe danynt, oeddynt o natur ddyhuddawl, ac yn ennill maddeuant i ni. Fel hyn, yr oedd ei fynediad oddi amgylch i wneuthur daioni, pregethu yr efengyl, a dysgu ei ddisgyblion, yn rhan o'i gyfiawnder, fel yr oedd yn cael ei wneud mewn ufudd-dod i'w Dad: ac yn rhan o'r cymmod a wnaeth, fel yr oedd hynny yn cael ei weithredu ganddo mewn blinder mawr, a llafur caled, dan brofedigaethau mawrion, gan ei roddi ei hun yn agored i waradwydd a dirmyg. Felly yr oedd cymmodi mewn ystyr priodol yn ei waith yn dodi ei fywyd i lawr, ac ystyried ei fod yn dwyn cospedigaeth yn ein lle ni; ond wrth ystyried hynny fel gweithred o ufudd-dod i Dduw, gan yr hwn y derbyniasai orchymyn i ddodi ei einioes i lawr dros bechaduriaid, yr ydoedd yn rhan o'i gyfiawnder mor wirioneddol ag ydoedd o'r cymmod a wnaeth.—Gall fod y pethau hyn yn ddigonol i'w hystyried yn gyffredinol mewn perthynas i bwrcas y prynedigaeth.

III. Yr wyf yn awr yn dyfod i lefaru yn fwy neillduol am y pethau a wnawd gan Grist, a'r pethau hynny ag yr oedd efe yn ddarostyngedig iddynt dros yspaid amser ei ddarostyngiad, trwy ba rai y gwnawd y pwrcasiad hwn ag yr ydys yn sôn am dano.—Ac y mae natur y pwrcasiad a wnawd gan Grist, fel yr eglurwyd, yn ein harwain i ystyried y pethau hyn dan ddau olygiad:—(1.) Mewn perthynas i gyfiawnder yn ymddangos ynddynt;—(2.) Mewn perthynas i'r ymddarostyngiad a'r dioddefiadau yr aeth efe trwyddynt yn ein lle ni.

I. Ystyriaf yr hyn oedd yn myned ym mlaen trwy yspaid darostyngiad Crist, ac mewn perthynas i'w ufudd-dod ef yn y pethau hynny. A sylwn ar hyn dan dri dosparth:—(1.) Mewn perthynas i'r deddfau yr ufuddhaodd efe iddynt;—(2.) Amrywiol rannau o'i oes a dreuliwyd i gyflawni yr ufudd-dod hwnnw; —(3.) Yr amrywiol rinweddau a ddangosodd neu a ymarferodd efe wrth ufuddhau.

Y dosparthiad cyntaf o weithredoedd Crist, pan oedd yn gweithredu cyfiawnder, ydoedd mewn perthynas i'r deddfau i ba rai yr ydoedd yn ufuddhau. Y gorchymynion, i ba rai yr oedd efe yn ufuddhau, a ellir eu golygu mewn un ddeddf, yr hon a eilw yr apostol yn "ddeddf gweithredoedd." *Rhuf.* 3. 27. Y mae hon, yn ddiammeu, yn cynnwys yr holl ddeddfau a roddwyd erioed gan Dduw i ddynolryw; canys rheol gyffredinol

deddf y gweithredoedd ydyw, ac, yn wir, deddf natur hefyd, fod i Dduw gael ymostyngiad ac ufudd-dod i ba orchymyn mynegol bynnag a welo efe yn dda ei roddi. Ond yn fwyaf neillduol y gorchymynion yr ufuddhaodd Crist iddynt oeddynt dri math; sef, fel yr oedd efe yn ddeiliad iddynt fel Dyn, fel Iuddew, neu fel Cyfryngwr.—Fel yr oedd efe yn ddyn, efe a ufuddhaodd i'r ddeddf foesol, yr hon yw yr un a roddwyd ar fynydd Sinai, yr hon hefyd sydd yn rhwymedigol ar holl ddynolryw trwy holl oesoedd y byd.—Fel Iuddew, yr oedd efe yn ddeiliad i'r ddeddf seremoniol; ac a gyd-ymffurfiodd â hi trwy ymostwng i gymmeryd ei enwaedu yr wythfed dydd; ac efe a ufuddhaodd iddi, gyda manylrwydd, trwy fyned i fynu i'r deml yn Jerusalem dair gwaith yn y flwyddyn; o'r hyn lleiaf wedi iddo gyrhaeddyd deuddeng mlwydd oed, yr hyn, fel yr ymddengys, oedd oedran y gwrrywiaid pan y byddent yn dechreu myned i fynu i'r deml. Felly yr oedd Crist yn wastadol yn dilyn y gwasanaeth yn y deml a'r synagogau. Dan y pen hwn, fe ellir cymmeryd i mewn ei ymostyngiad i gymmeryd ei fedyddio gan Ioan; canys yr oedd gorchymyn neillduol i'r Iuddewon fyned allan at Ioan i gael eu bedyddio ganddo; gan hynny pan aeth Crist atto i gael ei fedyddio, efe (sef Ioan) a warafunodd iddo, gan ddywedyd, "Y mae arnaf fi eisiau fy medyddio gennyt ti;" ac y mae efe yn atteb â'r rheswm hwn, "Canys fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder." *Mat.* 3. 13, 14, 15.—Drachefn, yr oedd efe dan y ddeddf gyfryngol, yr hon oedd yn cynnwys gorchymynion, i ba rai yr oedd efe yn ddeiliad; nid fel dyn, nac ychwaith fel Iuddew, ond y cyfryw ag oedd yn perthyn yn hollol i'w swydd fel Cyfryngwr. Y cyfryw oedd y gorchymynion a roddwyd iddo gan y Tad, i addysgu y fath athrawiaethau, i bregethu yr efengyl, i weithredu y fath wyrthiau, i alw disgyblion, i sefydlu y fath ordinhadau, ac yn ddiweddaf i ddodi ei einioes i lawr: yr holl bethau hyn a wnaeth efe mewn ufudd-dod i'r gorchymynion a dderbyniasai efe gan y Tad, fel y mae efe yn mynych ddywedyd. *Ioan* 10. 18. a 15. 13.

Ac y mae i sylwi arno, fod cyfiawnder Crist, trwy yr hwn y rhyglyddodd efe y nefoedd iddo ei hun, ynghyd â'r holl rai a gredant ynddo, yn gynnwysedig yn bennaf yn ei ufudd-dod i'r ddeddf gyfryngol hon: canys ei brif orchwyl a'i waith yn y byd oedd yn gynnwysedig yn nghyflawniad y ddeddf hon. Yr oedd yr hyn oedd gan Grist i'w wneud yn y byd, fel Cyfryngwr, yn anfeidrol fwy anhawdd na'r hyn oedd ganddo i'w wneud fel dyn,

neu fel Iuddew. I'w ufudd-dod i'r ddeddf gyfryngol hon y perthynai ei fynediad trwy ei ddioddefiadau olaf, gan ddechreu yn ei ing yn yr ardd, a diweddu gyd â'i adgyfodiad. Fel yr oedd ufudd-dod yr Adda cyntaf, ym mha un y buasai ei gyfiawnder yn gynnwysedig, pe buasai yn sefyll, nid yn bennaf i'r ddeddf foesol, i'r hon yr oedd efe yn ddeiliad yn unig fel dyn, ond yn ei ufudd-dod i'r ddeddf bendant, i ba un yr oedd efe yn ddeiliad fel pen moesol a mechnïydd dynolryw, sef y gorchymyn i ymgadw oddiwrth bren gwybodaeth da a drwg; felly yr oedd ufudd-dod yr ail Adda, ym mha un y mae ei gyfiawnder yn gynnwysedig, yn bennaf, nid yn ei ufudd-dod i'r ddeddf ag yr oedd efe yn ddeiliad iddi fel dyn yn unig, ond i'r ddeddf neilltuol honno i ba un yr oedd efe yn ddeiliad yn ei swydd fel Cyfryngwr a mechnïydd ei bobl.

Cyn myned ym mlaen at y dosparth nesaf o gyfiawnder Crist, sylwaf ar dri pheth mewn perthynas i'w ufudd-dod i'r deddfau hyn.

(1.) Efe a roddodd y fath ufudd-dod iddynt ag oedd yn berffaith ym mhob ystyr; yr ydoedd yn gyffredinol i'r deddfau hynny ag yr oedd efe yn ddeiliad iddynt, sef, i bob gorchymyn ag oedd yn gynnwysedig ynddynt ar ei ben ei hun. Yr ydoedd yn berffaith mewn perthynas i'r egwyddor oddiar ba un yr oedd efe yn ufuddhau. Yr oedd ei egwyddor yn hollol uniawn; nid oedd dim llygredigaeth yn ei galon ef. Yr ydoedd yn berffaith mewn perthynas i'r diben oedd ganddo yn gweithredu; canys nid oedd ganddo un amser unrhyw ddiben, ond amcanu yn berffaith at y cyfryw ufudd-dod ag y mae deddf Duw yn ei ofyn. Ei ufudd-dod oedd yn berffaith mewn perthynas i'w wastadrwydd a'i barhad; efe a ddaliodd allan hyd y diwedd, ym mhob cyfnewidiadau yr aeth trwyddynt, a'r profedigaethau y bu danynt. Yr oedd teilyngdod ufudd-dod Crist yn ymddibynnu ar y perffeithrwydd oedd ynddo. Pe buasai yn ddiffygiol mewn un siampl, ni's gallasai fod yn rhyglyddawl; canys ni dderbynir, fel ufudd-dod i unrhyw ddeddf, yr hyn nad ydyw yn cyflawn atteb iddi.

(2.) Y peth nesaf y sylwaf arno mewn perthynas i ufudd-dod Crist ydyw, iddo ei gyflawni trwy y profedigaethau mwyaf y cyflawnwyd unrhyw ufudd-dod erioed; ac yr oedd hynny yn peri bod mwy o deilyngdod a rhyglyddiant ynddo. Nid yw rhoi ufudd-dod i arall, pan fyddo ei orchymynion yn hawdd, mor deilwng a chlodfawr ag ydyw ufuddhau pan na byddo modd gwneud ond trwy anhawsdra mawr.

(3.) Efe a gyflawnodd yr ufudd-dod hwn gyd âg anfeidrol barch i Dduw, ac anrhydedd i'w gyfraith. Yr ufudd-dod a roddodd efe oedd gyda chariad anfeidrol fwy tu ag at Dduw, a pharch i'w awdurdod, nag y mae yr angylion yn ei feddiannu. Y mae yr angylion yn cyflawni eu hufudd-dod oddiar gariad perffaith, a chyda pherffeithrwydd dibechod. Ond Crist a gyflawnodd ei ufudd-dod oddiar gariad llawer mwy na hwy, sef cariad anfeidrol; canys er fod natur ddynol Crist yn annigonol i garu â chariad anfeidrol, etto nid ydyw yr ufudd-dod a roddwyd ganddo ef i'w olygu fel ufudd-dod natur ddynol yn unig, ond ufudd-dod ei berson fel Duw-ddyn; ac yr oedd anfeidrol gariad person Crist yn cael ei amlygu yn yr ufudd-dod hwnnw. A hyn, ynghyd âg anfeidrol fawredd ei berson, oedd yn peri bod yr ufudd-dod yn anfeidrol deilwng.

Yr ail ddosparthiad yn ngweithredoedd ufudd-dod Crist, sydd yn perthynu i'r amrywiol rannau o'i fywyd, ym mha rai yr oedd efe yn eu cyflawni. Ac yn yr ystyr yma, fe ellir dosparthu ei weithredoedd i'r rhai a gyflawnwyd ganddo yn ei fywyd neilltuol, a'r rhai a gyflawnwyd ganddo yn ei weinidogaeth gyhoeddus.

Mewn perthynas i'w fywyd neilltuol, yr oedd efe yn berffaith ufudd o'i febyd; ac anfeidrol wahaniaeth rhyngddo âg unrhyw blant eraill, pa rai, cyn gynted ag y dechreuont weithredu, sydd yn dechreu pechu a gwrthryfela. Efe a ufuddhaodd i'w rieni daearol, er ei fod yn Arglwydd pawb oll; ac yr oedd efe gyd â'r pethau a berthynai i'w Dad, yn y deml, pan oedd yn ddeuddeng mlwydd oed. Luc 2. 42, 51. Efe a ddechreuodd y pryd hynny weithredu yr hyn oedd ganddo i'w wneud er cyflawni y ddeddf gyfryngol, yr hon a roddwyd iddo gan y Tad. Bu fyw ei fywyd neilltuol ynghylch deng mlynedd ar hugain yn Nazareth, yn nhŷ ei dad cyfrifol Joseph, ym mha le yr oedd yn gwasanaethu Duw mewn sefyllfa neilltuol, ac yn gweithio gwaith saer.

Mewn perthynas i'r gweithredoedd hynny a gyflawnwyd ganddo ef trwy yspaid ei weinidogaeth gyhoeddus, yr hyn oedd yn dechreu pan oedd efe ynghylch deng mlwydd ar hugain oed, ac a barhaodd yspaid y tair blynedd a hanner olaf o'i oes. Y mae y rhan fwyaf o'r hanes a rydd yr efengylwyr yn gynnwysedig o'r hyn a wnawd ganddo yn yr yspaid byrr hwn o amser. Ymddangosiad cyntaf Crist yn ei weinidogaeth gyhoeddus a elwir yn fynych yn yr Ysgrythyr, "ei ddyfodiad ef." Yn y modd hwn y mae Ioan yn llefaru am ddyfodiad

Crist, fel peth i ddyfod, er ei fod ef yn y byd er's amser maith cyn hynny.—Mewn perthynas i weinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu, sylwn ar y pethau canlynol.

(1.) Rhagredegwr Crist yn ei weinidogaeth gyhoeddus oedd Ioan Fedyddiwr: efe a ddaeth ac a bregethodd edifeirwch a maddeuant pechodau, er parottoi 'r ffordd i ddyfodiad Crist, yn ol y prophwydoliaethau. *Esa.* 40. 3. *Mat.* 4. 5, 6. Fe dybir i Ioan Fedyddiwr ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus oddeutu tair blynedd a hanner o flaen Crist; felly yr oedd yspaid amser gweinidogaeth Crist a gweinidogaeth Ioan ynghyd, yn saith mlynedd, yr hyn oedd y ddiweddaf o wythnosau Daniel. "Ac efe a sicrhâ y cyfammod â llawer dros un wythnos."* Crist a ddaeth yn nghanol yr wythnos hon, sef yn nechreu yr hanner ddiweddaf o honi, neu y tair blynedd a hanner olaf, fel y rhagfynegwyd gan Daniel yn y geiriau a nodwyd. "Ac yn hanner yr wythnos y gwna efe i'r aberth a'r bwyd-offrwm beidio."† *Dan.* 9. 27.

Ym mhregethu y ddeddf yr oedd gweinidogaeth Ioan Fedyddiwr yn bennaf yn gynnwysedig, i ddeffroi dynion ac i'w hargyhoeddi o'u pechodau, i'w parottoi erbyn dyfodiad Crist, ac i'w cysuro, fel mai diben y ddeddf ydyw parottoi y galon i dderbyn yr efengyl. Yr oedd tywalltiad nodedig o Yspryd Duw yn canlyn gweinidogaeth Ioan; a'r effaith oedd yn ei dilyn, ydoedd, fod trigolion Jerusalem, a holl Judea, a'r wlad oddi amgylch yr Iorddonen, yn cael eu deffroi a'u hargyhoeddi, ac yr oeddynt yn ymostwng i'w fedydd ef, gan gyffesu eu pechodau. Y mae Ioan yn cael llefaru am dano fel y mwyaf o'r holl brophwydi a fu o flaen Crist. *Mat.* 11. 11. "Y'mhlith plant gwragedd, ni chododd neb mwy nag Ioan Fedyddiwr:"

---

* Y mae y Parch. Simon Lloyd, yn ei Amseryddiaeth Ysgrythyrol, tu dal. 267. yn rhoi golygiad gwahanol i'n hawdwr ar yr wythnos hon. "Y mae 'r wythnos hon yn dechreu gyda gweinidogaeth gyhoeddus Crist, ac yn diweddu dair blynedd a hanner ar ol ei farwolaeth. Tra y parhaodd y 7 mlynedd hyn, pregethwyd yr efengyl gan Grist a'i apostolion, gan mwyaf, i'r Iuddewon." *Mat.* 10. 5. a 15. 24. *Luc* 24, 47. *Act.* 13. 46. *Ioan* 4. 21.

† "Hynny yw, Crist trwy ei farwolaeth ym mhen tair blynedd a hanner ar ol dechreu ei weinidogaeth gyhoeddus, a ddirymma yr holl aberthau a'r offrymmau cysgodol o bob math. Gan mai yn hanner yr wythnos olaf y gwnaeth Crist hynny, y mae yn eglur fod yr hanner arall o'r wythnos yn parhau nes gorphen tair blynedd a hanner ar ol ei farwolaeth ef, fel y dangosir ym mlaen."—Gwel Amseryddiaeth Ysgrythyrol, tu dal. 267.

hynny yw, efe oedd yn meddu y swydd fwyaf anrhydeddus o'r un o honynt. Efe oedd y seren foreu, yr hon sydd yn rhagflaenu dynesiad y dydd, ac yn rhagredeg o flaen cyfodiad yr haul. Y prophwydi eraill oeddynt ser i roddi goleuni yn y nos; a chlywsom y modd yr oedd y ser hynny yn pallu ar agoshâd dydd yr efengyl. Ond yn awr yr oedd dyfodiad Crist yn hynod o agos, a'r seren foreu yn dyfod o'i flaen ef, y ddisgleiriaf o'r holl ser, fel yr oedd Ioan Fedyddiwr y mwyaf o'r holl brophwydi.

A phan ddaeth Crist yn ei weinidogaeth gyhoeddus, fe leihaodd goleuni y seren foreu; fel y mae yr haul, pan y mae yn cyfodi, yn diddymmu llewyrch y seren ddydd. Felly y mae Ioan yn dywedyd ei hun: "Rhaid ydyw iddo ef gynnyddu, ac i minnau leihau." Ac yn fuan wedi i Grist ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus, fe roddwyd Ioan Fedyddiwr i farwolaeth; fel y mae y seren foreu yn weledig ychydig amser wedi i'r haul gyfodi, etto yn diflannu yn fuan.

(2.) Y peth nesaf i gymmeryd sylw arno, oedd mynediad Crist i'w weinidogaeth gyhoeddus, yr hyn a fu pan y bedyddiwyd ef, ac mewn canlyniad i'w demtiad yn yr anialwch. Ei fedydd ydoedd fel pe buasai yn urddiad parchus iddo, trwy yr hyn yr ydoedd yn myned i'w weinidogaeth; gyd â'r hyn hefyd yr enneiniwyd ef â'r Yspryd Glân, mewn modd gweledig a pharchus, yr hwn a ddisgynodd arno megis colommen mewn modd gweledig, gyda llais o'r nef, yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." *Mat.* 3. 16, 17.

Wedi hyn efe a arweiniwyd gan yr yspryd i'r anialwch i gael ei demtio gan y diafol: yr hwn a ymosododd arno yn ffyrnig, pan y dechreuodd ar ei waith; ond yn awr a roddodd brawf nodedig o'i ufudd-dod i ewyllys Duw, ac efe, sef Crist, a gafodd fuddugoliaeth arno ef. Efe, yr hwn oedd wedi llwyddo gyd â'r Adda cyntaf, ni chafodd ddim yn yr ail.

(3.) Y gwaith yr oedd Crist yn ei weithredu trwy yspaid ei weinidogaeth gyhoeddus; ac yma y mae tri pheth i sylwi yn fyrr arnynt, sef ei waith yn pregethu, yn gwneuthur gwyrthiau, ac yn galw disgyblion a sefydlu gweinidogion ei deyrnas.

Yr oedd rhan fawr o weinidogaeth gyhoeddus Crist yn gynnwysedig yn ei waith yn pregethu yr efengyl, ac yr oedd llawer o'r ufudd-dod hwnnw, trwy ba un y pwrcaswyd iachawdwriaeth i ni, yn gynnwysedig yn ei waith yn llefaru y pethau

hynny a orchymynwyd iddo gan y Tad. Efe a ddatguddiodd feddwl ac ewyllys Duw, yn fwy helaeth ac eglur nag y gwnaed erioed o'r blaen. Efe a ddaeth o fynwes y Tad, ac yr oedd yn gwybod ei feddwl ef yn berffaith, ac yn meddu y cymmwysder mwyaf i'w ddatguddio. Y mae yr haul, cyn gynted ag y cyfodo, yn dechreu tywynnu; ac felly Crist, cyn gynted ag y dechreuodd ar ei weinidogaeth gyhoeddus, dechreuodd oleuo y byd â'i athrawiaeth. Megis ag y rhoddwyd y ddeddf ar fynydd Sinai, felly Crist a draddododd ei athrawiaeth efengylaidd, ag oedd yn llawn o fendithion, ac nid melldithion, i luaws ar y mynydd. Pan oedd yn pregethu, nid ydoedd yn dysgu fel yr ysgrifenyddion, ond fel un a chanddo awdurdod, hyd onid oedd ei wrandawyr yn synnu wrth ei athrawiaeth. Nid oedd efe yn datguddio meddwl ac ewyllys Duw yn yr un dull a'r prophwydi, gan ddywedyd, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd;" ond, "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi." Efe a draddododd ei athrawiaethau, nid yn unig fel yr oeddynt yn athrawiaethau y Tad, ond fel yr oeddynt yn eiddo iddo ef ei hun. Yr ydoedd efe wrth roddi allan orchymynion, yn eu cyhoeddi yn ei enw ei hun, ac nid fel y byddai y prophwydi yn arfer cyhoeddi gorchymynion yn enw yr Arglwydd. "Dyma fy ngorchymyn i.—Chwychwi yw fy nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynnag yr wyf yn eu gorchymyn i chwi." *Ioan* 15. 12, 14.

Peth arall i sylwi arno yn yspaid gweinidogaeth gyhoeddus Crist, ydoedd y gwyrthiau aml a weithredodd efe. Heblaw profion neilltuol o'i wyrthiau, yr ydym yn cael hanes yn fynych am luaws yn dyfod atto, ac yntau yn eu hiachâu hwy. Yr oeddynt yn weithredoedd o drugaredd. Efe a aeth oddi amgylch gan wneuthur daioni, iachâu y cleifion, adferu golwg i ddeillion, clywed i fyddariaid, a defnydd eu haelodau i'r cloffion; porthi y newynog, glanhau y gwahan-gleifion, a chyfodi y meirw: yr hyn oedd braidd oll y cyfryw ag y llefarir am danynt yn yr Hen Destament, megis gweithredoedd neilltuol Duw; megis—Gostegu tonnau y môr. *Ps.* 107. 29. Sathru ar donnau y môr. *Job* 9. 8. Bwrw allan gythreuliaid. *Ps.* 74. 14. Porthi lluaws yn yr anialwch. *Deut.* 8. 16. Adnabod meddyliau dynion. *Amos* 4. 13. Cyfodi y meirw. *Ps.* 68. 20. Agoryd llygaid y deillion. *Ps.* 146. 8. Iachâu y cleifion. *Ps.* 103. 3. A chodi y rhai a ddarostyngwyd. *Ps.* 146. 8. Y pethau hyn oeddynt yn gyffredinol y fath wyrthiau ag oedd yn ddarluniadau o'r gwaith y daeth efe i'w weithredu ar galonnau

dynion; ac yn arddangos yr iachâd tufewnol, glanhad ysprydol, y bywyd a'r adgyfodiad, o'r hyn y mae ei holl bobl waredol ef yn ddeiliaid. Yr oedd efe yn gwneuthur gwyrthiau yn y fath ddull ag oedd yn dangos ei fod yn eu gweithredu trwy ei allu ei hun, ac nid trwy allu un arall, fel y byddai y prophwydi. Byddent hwy yn arfer gweithredu yn enw yr Arglwydd; ond Crist oedd yn gweithredu bob amser yn ei enw ei hun. Fe attaliwyd Moses i fyned i mewn i wlad Canaan, oblegid iddo ymddangos, trwy ei ymadrodd, fel pe buasai yn honni iddo ei hun yr anrhydedd o weithredu un wyrth yn unig. *Num.* 20. 8,—13. Nid ydoedd Crist ychwaith yn gwneuthur gwyrthiau fel yr oedd yr apostolion, pa rai oedd yn gweithredu yn ei enw ef; ond yr oedd efe yn gweithredu yn ei enw ei hun. Fel hyn y dywedai efe, "Mynnaf, bydd lân." *Mat.* 8. 3. Ac yn yr un dull yr oedd efe yn gofyn y cwestiwn hwnnw, "A ydych chwi yn credu y gallaf fi wneuthur hyn?" *Mat.* 9. 28.

Peth arall a wnaeth Crist yn yspaid ei weinidogaeth gyhoeddus, ydoedd galw ei ddisgyblion. Efe a alwodd lawer o ddisgyblion, y rhai yr ydoedd efe yn eu cynnal fel gweinidogion. Efe a anfonodd allan un tro ddeg a thriugain i'w waith; ond efe a neilltuodd ddeuddeg fel apostolion, pa rai oeddynt brif weinidogion ei deyrnas, ac fel deuddeg sylfaen i'w eglwys. *Dat.* 21. 14. Y rhai hyn ydoedd y prif offerynau i osod i fynu ei deyrnas ef yn y byd; ac o herwydd hyn yr oeddynt i gael eistedd ar ddeuddeg gorsedd, i farnu deuddeg llwyth Israel. *Mat.* 19. 28.

(4.) Sylwaf ar y modd y diweddodd efe ei weinidogaeth: sef, trwy roi cyngor, fel wrth farw, i'w ddisgyblion, yr hwn sydd gennym mewn coffadwriaeth yn *Ioan* xiv, xv, a'r xvi. Yn sefydlu difrifol goffadwriaeth am ei angau, sef sacrament swpper yr Arglwydd; ym mha un y cawn arddangosiad neilltuol o ddrylliad ei gorph ef, a thywalltiad ei waed. Yn ei ddioddefiadau diweddaf, fel yr oedd efe yn offeiriad, wedi ei enneinio gan Duw, efe a'i hoffrymmodd ei hun yn aberth ddifai iddo ef. Hon oedd y weithred fwyaf yn ei weinidogaeth gyhoeddus, ac, yn wir, o'i ufudd-dod hefyd. Yr offeiriaid dan yr hen oruchwyliaeth, oeddynt yn arfer gwneuthur llawer o bethau fel gweinidogion i Dduw: ond y pryd hynny y byddent yn cyflawni y rhan bennaf o'u swydd, sef pan y byddent yn offrymmu ebyrth ar yr allor. Felly y peth mwyaf a wnaeth Crist, yn y cyflawniad o'i swydd offeiriadol, ac, yn wir, y peth mwyaf a wnawd erioed, oedd offrymmu ei hun yn aberth i Dduw. Yn hyn, efe oedd y gwrth-

gysgod o'r hyn oll a wnawd gan yr holl offeiriaid, yn eu holl aberthau ac offrymmau, er dechreuad y byd.

3. Y trydydd dosparth yn ngweithredoedd Crist, trwy ba rai y pwrcasodd efe y prynedigaeth, ydoedd y rhinweddau a ymarferodd efe wrth fyned trwy y gwaith, y rhai ag oedd yn dangos pob gras a rhinwedd ag y mae yn bossibl i natur ddynol eu meddu. Y mae yn wir fod rhai rhinweddau neilltuol ag y gall dyn pechadurus fod yn eu meddu, nad oeddynt yn Nghrist; nid o herwydd fod un diffyg rhinwedd ynddo ef, ond oblegid fod ei rinwedd ef yn berffaith ac heb ddiffyg. Y fath ag ydyw edifeirwch, drylliad calon am bechod, a marweiddiad chwant. Nid ydoedd y rhinweddau hynny yn Nghrist, oblegid nid oedd ganddo ef un pechod o'i eiddo ei hun i edifarhau o'i achos, nac un chwant i ymwadu âg ef. Ond yr holl rinweddau hynny, pa rai nad ydynt yn rhag-dybied pechod, oeddynt ynddo ef, a hynny mewn gradd uwch nag y buont mewn un dyn erioed, nag y byddant byth mewn un creadur. Yr oedd pob rhinwedd yn berffaith ynddo ef, yr oedd rhinwedd ei hun yn fwy ynddo ef nag yn neb arall; ac yr oedd mwy o fantais iddo lewyrchu ynddo ef nag yn neb arall. Po fwyaf a brofir ar rinwedd manwl, mwyaf yr ymlewyrcha; ac ni bu rinwedd erioed yn cael y fath brofi arno ag a gafodd rhinweddau Crist. Ac fe ellir dosparthu y rhinweddau a ymarferodd Cristi yn dri math; sef, y rhai a ymarferodd efe tu ag at Dduw, tu ag at ddynion, a thu ag atto ei hun.

Y rhinweddau hynny, pa rai sydd yn fwyaf union-gyrchol tu ag at Dduw, a ymddangosodd yn y gwaith a wnaeth Crist er ein prynu. Yr oedd ofn sanctaidd, a pharch neilltuol tu ag at Dduw y Tad yn ymddangos ynddo ef. Y rhinwedd hwn oedd ynddo a gafodd fwy o brofi arno, yn yr ystyr yma, nag yn neb arall, a hynny o herwydd anrhydeddusrwydd ei berson. Oddiar ystyriaeth o'r fath yma y syrthiodd yr angylion, sef trwy edrych arnynt eu hunain yn fodau dyrchafedig mewn mawredd a theilyngdod, ac felly bwrw ymaith eu parch dyladwy i fawrhydi Duw, a pheidio ei addoli. 1 *Tim.* 3. 6. Ond yr oedd Crist yn anfeidrol fwy anrhydeddus a theilwng na hwy; canys tragywyddol Fab Duw ydyw efe, ac yr oedd ei berson yn gydradd mewn mawredd a pherson y Tad: ac etto, fel yr oedd efe wedi cymmeryd arno swydd Cyfryngwr, a natur dyn, efe a ddangosodd ddirfawr barch i Dduw. Efe a'i haddolodd ef, yn y modd mwyaf parchus, y naill amser ar ol y llall. Y mae yr angylion yn rhoi tystiolaeth gadarn o'u cariad tu ag at Dduw, yn eu di-

anwadalwch a'u cyflymdra i wneuthur ei ewyllys; ac y mae llawer o saint wedi rhoi tystiolaeth gadarn o'u cariad tu ag at Dduw, trwy yr hyn a ddioddefasant o herwydd ei achos ef, a'u llafur trosto yn y byd. Ond ni roddodd neb erioed y fath dystiolaethau o gariad at Dduw ag a roddodd Crist; ac ni chyflawnodd neb erioed y fath lafur o gariad ag a ddarfu iddo ef, neu ddioddef cymmaint, o gariad tu ag at Dduw. Fel hyn y danghosodd efe ymostyngiad rhyfeddol i ewyllys Duw; ac ni chafodd neb erioed y fath brofi arno yn ei ymostyngiad ag a gafodd efe.

Yn y gwaith hwn efe yn rhyféddol a amlygodd y rhinweddau hynny, pa rai oedd yn fwyaf uniongyrchol tu ag atto ei hun; yn neilltuol gostyngeiddrwydd, amynedd, a diystyrwch tu ag at ogoniant y byd hwn. Er mai Crist oedd y mwyaf anrhydeddus o bawb, etto efe oedd y mwyaf gostyngedig o bob dynion, ïe, o'r holl greaduriaid: ni bu nag angel na dyn erioed yn gydradd âg ef mewn gostyngeiddrwydd. Fe fuasai Crist dan y cymhelliad mwyaf i falchio, pe buasai yn bossibl ei ddenu i hynny. Yr hyn a lithiodd yr angylion a gwympasant oedd mawrhydi eu natur, ac anrhydeddusrwydd eu hamgylchiadau; ond yr oedd Crist yn anfeidrol anrhydeddusach na hwy. Yr oedd ei natur ddynol ef wedi ei hanrhydeddu gymmaint a'i bod mewn undeb â Pherson Tragywyddol Fab Duw, yr hwn oedd yn gydradd â Duw; ac ni ddarfu i'r natur honno mewn un modd ymddyrchafu mewn balchder. Ac ni ddarfu i'r dyn Crist Iesu mewn un modd ymddyrchafu na balchio, er iddo wneuthur cymmaint o bethau rhyfedd, megis iachâu y cleifion, meddyginiaethu y deillion, cloffion, a'r gwywedigion, a chyfodi y meirw. Ac er y gwyddai efe fod Duw wedi ei osod ef yn Frenhin y nefoedd a'r ddaear, angylion a dynion, a bod pob peth wedi eu rhoddi iddo gan y Tad; ac er y gwyddai ei fod y fath berson anfeidrol anrhydeddus, ac nad oedd yn drais iddo dybied ei fod yn ogyfuwch â Duw, ïe, er y gwyddai ei fod yn etifedd i deyrnas Duw y Tad; etto, y fath oedd ei ostyngeiddrwydd, ag na ddiystyrodd gael ei iselu i waelach amgylchiadau, a'i wasgu dan drymmach dioddefiadau, nag y bu un creadur etholedig erioed, fel y daeth efe yn is ac yn llai na phawb. Prawf priodol i ostyngeiddrwydd, ydyw ymostwng i'r amgylchiadau hynny, neu gydsynio i wneuthur yr hyn sydd yn hynod o isel, ac yn cynnwys ymddarostyngiad mawr, pan y gelwir i hynny. Ond nid ymostyngodd neb erioed mor isel a Christ, os ystyriwn ei anfeidrol fawredd, a dyfnder ei ymddarostyngiad.

Er y gwyddai ei fod yn anfeidrol deilyngach i gael ei anrhydeddu ddeng mil o weithiau yn fwy na'r tywysog mwyaf ar y ddaear, neu yr angel uchaf yn y nefoedd; etto y fath oedd ei ostyngeiddrwydd, na thybiodd yn ormod, pan y galwyd i hynny, i gymmeryd ei rwymo fel drwg-weithredwr, a fyddai dan felldith, ac i fod yn watwar-gerdd gan y rhai gwaelaf o ddynion, a'i goroni â drain, a chymmeryd ei wisgo â gwawd-wisg, a'i groeshoelio fel caethwas, neu ddrwg-weithredwr, ïe, fel pe buasai y gwaelaf a'r gwaethaf o bob adyn crwydraidd, ac fel pe buasai y gelyn gwaethaf i Dduw a dyn, yr hwn na buasai yn addas i fyw ar y ddaear; a hyn a wnaeth efe, nid drosto ei hun, ond yn lle y rhai gwaethaf a'r gwaelaf o'i greaduriaid; ïe, yn lle rhai o'r rhai hynny a'i croeshoeliasant ef. Onid oedd hyn yn amlygrwydd rhyfeddol o'i ostyngeiddrwydd pan y darfu iddo yn y modd mwyaf ewyllysgar, ac o'i fodd, ymostwng i'r fath iselder? Yr oedd ei amynedd ef yn llewyrchu yn nodedig dan yr holl ddioddefiadau poenus a ddioddefodd, pan yr oedd efe yn fud ac heb agoryd ei enau, ond yn cael ei arwain fel oen i'r lladdfa, ac yn amyneddgar dan ei holl ddioddefiadau o'r dechreu i'r diwedd. Pa ddirmyg ar ogoniant bydol oedd yno, pan ddarfu iddo ef yn hytrach ddewis yr ymddarostyngiad a'r dioddefiadau hynny, yn lle gwisgo coron dymhorol, a chymmeryd ei urddo â gogoniant tywysog daearol, fel yr oedd y lluaws yn fynych yn ceisio ganddo.

Crist, wrth wneuthur y gwaith a wnaeth, a ymarferodd mewn modd rhyfedd y rhinweddau hynny ag oedd yn fwyaf uniongyrchol tu ag at eraill; ac fe ellir cymmeryd y rhai hynny i fewn dan ddau ben; sef, llarieidd-dra a chariad. Llarieidd-dra Crist ydoedd y tawelwch gostyngedig oedd yn ei yspryd, dan yr holl brofedigaethau y cyfarfu efe â hwy. Y mae mawredd profedigaeth yn gynnwysedig mewn dau beth, sef yn ol gradd y gwrthwynebrwydd, trwy yr hyn y rhoddir y brofedigaeth; ac yn ol gradd afresymmoldeb y gwrthwynebrwydd, neu nid yn unig ei fod heb un rheswm iddo, ond hefyd yn erbyn y gradd mwyaf o rwymau yn y gwrthwyneb. Wrth ystyried y ddau beth hyn, ni ddarfu i un dyn erioed gyfarfod â'r filfed ran o'r profedigaethau a gafodd Crist oddiwrth ddynion; ac etto pa mor lariaidd ydoedd efe danynt oll, pa mor dawel a heddychol oedd ei yspryd, a pha mor bell oddiwrth gyffroad a therfysg! Pan y "difenwyd ef, ni ddifenwodd drachefn; ond fel y tau dafad o flaen y rhai a'i cneifiai, felly nid agorai yntau ei enau." Nid

oedd yspryd ymddialgar, yn ymddangos ynddo ef mewn un modd; ond yn y gwrthwyneb, efe a ddangosodd yspryd tra maddeugar! efe a weddïodd yn wresog a serchiadol tros ei elynion, pan yr oeddynt yn gweithredu yn fwyaf er ei gyffroi, sef ei hoelio wrth y groes. *Luc* 23. 34. "O Dad, maddeu iddynt: canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." Ni ddangoswyd erioed y fath gariad tu ag at ddynion ag a ddangosodd efe, pan ydoedd ar y ddaear, yn neilltuol wrth fyned trwy ei ddioddefiadau diweddaf, ac offrymiad ei fywyd a'i enaid i fynu trostynt hwy. Rhai o'r saint a roddasant amlygrwydd nodedig o'u cariad, megis yr apostolion Paul, Ioan, ac eraill; ond yr oedd y cariad a ddangosodd Crist tu ag at ddynion pan yr ydoedd ar y ddaear, yn rhagori ar gariad pob dynion eraill, yn gymmaint ag y mae y cefnfor llydan yn rhagori ar y ffrwd fechan.

Y mae hefyd i sylwi arno, fod y rhinweddau hynny, y rhai oll a ymddangosasant yn Nghrist, yn llewyrchu yn ddisgleiriach dan y profedigaethau hynny y cyfarfu efe â hwy yn niwedd ei oes. Y mae rhinwedd ardderchog bob amser yn ymddangos yn ddisgleiriach mewn tân, fel y mae yr aur yn dangos ei burdeb yn fwy yn y ffwrn. Yn y profedigaethau yr aeth Crist trwyddynt yn niwedd ei oes, yr oedd ei gariad at Dduw, ei barch i anrhydedd y gyfraith, ei yspryd ufuddgar, ei ostyngeiddrwydd, a diystyrwch ar ogoniant y byd, ei amynedd, llarieidd-dra, a maddeugarwch tu ag at ddynion, yn bennaf yn ymddangos. Yn wir yr oedd pob peth a wnaeth Crist, i weithio allan ein prynedigaeth, yn ymddangos yn bennaf yn niwedd ei oes. Yma yn bennaf y gwelir teilyngdod y boddhad a roddodd, a disgleirdeb ei siampl.

Fel hyn, cymmerasom olwg byrr ar y pethau, trwy ba rai y gwnawd pwrcas y prynedigaeth, fel yr oedd ei gyfiawnder ef yn ymddangos ynddynt.—Yn awr, myfi a ddeuaf ym mlaen,

IV. I gymmeryd golwg ar y pethau hynny ag yr oedd efe yn eu gweithredu er cymmodi tros bechod, neu y dioddefiadau a'r ymddarostyngiad a ddioddefodd yn ein hachos ni.

(1.) Sylwn ar yr ymddarostyngiad, a'r dioddefiadau anghyffredinol a gafodd ef yn ei fabandod. Efe a anwyd i'r diben i farw; gan hynny, yr oedd efe fel pe buasai yn dechreu marw cyn gynted ag y ganwyd. Ei fam a ddioddefodd yn anghyffredinol yn y driniaeth a gafodd yn Bethlehem. Fe ddywedir, pan y daeth ei gwewyr arni, nad oedd lle iddi yn y lletty. *Luc*

2. 7. A gorfu iddi ymroddi i gymmeryd tŷ yr anifeiliaid yn lle i orwedd i mewn; ac felly fe anwyd Crist yn y lle y byddai yr anifeiliaid yn cael eu dwyn i'r byd. Fel hyn efe a ddioddefodd yn ei enedigaeth, fel pe buasai y dyn gwaelaf a mwyaf dirmygedig, ac heb feddu y mawrhydi sydd yn perthyn i'r natur ddynol; ond fel pe buasai yn yr un sefyllfa a'r creaduriaid direswm. A gallwn benderfynu fod amgylchiadau ei fam, mewn cyffelyb fodd, yn gyfyng a dyrus mewn pethau eraill, a'i bod hi yn amddifad o'r pethau angenrheidiol i faban mor ieuangc ag oedd eraill yn arfer gael, ac o ddiffyg y pethau hynny, fod y baban hwn, ag oedd newydd ei eni, yn ddiammheuol y pryd hynny wedi dioddef llawer.

Heblaw hynny, fe'i herlidiwyd ef yn ei fabandod: dechreuasant geisio ei fywyd cyn gynted ag y ganwyd ef. Herod oedd yn dymuno ei ladd ef; ac i'r diben i gyrhaedd ei amcan yn hynny efe a orchymynodd i'r holl blant, o ddwy flwydd oed ac isod, i gael eu lladd yn Bethlehem a'i holl gyffiniau. *Mat.* 2. 16. Crist hefyd, yn ei fabandod, a oddefodd alltudiaeth, pan y gyrwyd ef o wlad ei enedigaeth i'r Aipht, ac y mae yn ddiammen iddo ddioddef llawer wrth gael ei gario mewn taith mor bell i wlad ddieithr pan yr ydoedd mor ieuangc.

(2.) Yr oedd Crist yn ddarostyngedig i ddarostyngiad mawr yn ei fywyd cyffredin yn Nazareth; yr ydoedd yno mewn sefyllfa isel ac anenwog, yn llafurus mewn galwedigaeth wael; canys fe'i gelwir nid yn unig yn fab y saer, ond y saer. *Marc* 6. 3. "Onid hwn yw y saer, mab Mair, brawd Iago, a Joses, a Judas, a Simon?" Trwy lafur caled yr oedd efe yn ennill ei fara beunyddiol, ac felly yn goddef y felldith a gyhoeddodd Duw ar Adda, "Trwy chwys dy wyneb y bwyttâi fara." Bydded i ni ystyried y fath radd mawr o ddarostyngiad yr oedd gogoneddus Fab Duw, Creawdwr y nefoedd a'r ddaear, dano yn hyn, sef bod ynghylch yspaid deng mlynedd ar hugain yn byw bywyd cyffredin ac isel, a phawb yn edrych heibio iddo yr holl amser hynny, ac heb ei olygu yn ddim mwy na llafurwyr tlodion eraill. Yr oedd darostyngiad Crist, yn yr ystyr yma, yn fwy yn ei fywyd cyffredin, nag yn ei weinidogaeth gyhoeddus. Yr oedd amlygiadau o'i ogoniant yn ymddangos trwy y gair yr oedd yn ei bregethu, a'r gwyrthiau yr oedd yn eu gweithredu, yn ei weinidogaeth gyhoeddus; ond efe a dreuliodd y deng mlynedd ar hugain cyntaf o'i fywyd ym mysg pobl gyffredin, fel mewn distawrwydd, heb yr amlygiadau hynny o'i ogoniant, nac

unrhyw beth i'w wahaniaethu ef oddiwrth eraill, heblaw ei burdeb difai, a sancteiddrwydd ardderchog ei fywyd, a hynny, mewn mesur mawr, yn cael ei guddio yn iselder ei amgylchiadau, fel nad oedd fawr o sylw arno hyd ar ol ei fedyddio.

(3.) Yr oedd Crist yn ddarostyngedig i ddioddefaint mawr, a darostyngiad, yn yspaid ei fywyd cyhoeddus, yn neillduol y tlodi mawr a ddioddefodd efe, " yn gymmaint ag nad oedd ganddo le i roi ei ben i lawr." Yr ydoedd efe yn gyffredinol yn arfer llettya allan tan yr awyr agored, o herwydd nad oedd ganddo gysgod i lechu dano. Cydmarer y lleoedd canlynol â'u gilydd, *Mat.* 8. 20. *Ioan* 17. 1, 2. *Luc* 21. 37. a 22. 39. Felly yr hyn a ddywedir am Grist yn Llyfr y Caniadau a gyflawnwyd yn llythyrennol, *Pen.* 5. 2. " Llanwyd fy mhen â gwlith, a'm gwallt â defnynau y nos." A thrwy y tlodi hwn, yr oedd efe, yn ddiammeu, yn cael ei fynych wasgu gan newyn, syched, ac anwyd, Gwel *Mat.* 4. 2. a 21. 18. Nid oedd ei fam a'i geraint ond tlodion, ac felly yn analluog i'w gynnorthwyo, a thrwy elusenau rhai o'i ddisgyblion yr ydoedd yn cael ei gynnal tra bu efe byw. *Luc* 8. 2, 3. Rhai gwragedd a weiniasant iddo o'r pethau oedd ganddynt. Yr ydoedd mor dlawd fel na fedrai dalu y dreth, pan y gofynwyd iddo, heb wneuthur gwyrth. *Mat.* 17. 27. A phan yr ydoedd yn bwytta y Swpper diweddaf, nid ydoedd hwnnw ar ei draul ef ei hun, ond ar draul un arall. *Luc* 22. 7. Hefyd, gan faint ei dlodi ni feddai fedd o'i eiddo ei hun i'w gladdu ynddo. Arfer yr Iuddewon ydoedd, os na byddent yn hynod o dlodion, i barottoi iddynt eu hunain feddau yn eu bywyd. Ond nid oedd gan Grist, er ei fod yn feddiannydd y nefoedd a'r ddaear, ddim tir o'i eiddo ei hun. Gan hynny fe'i claddwyd ar draul Joseph o Arimathea, yn y beddrod a barottoisai efe iddo ei hun.

Efe a ddioddefodd lawer o waradwydd a chasineb. Fe'i diystyrwyd, ac a'i gwrthodwyd, gan ddynion. Yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn ei olygu yn un tlawd, gwael, a digyfrif, ac yn ei ddirmygu o herwydd fod ei rïeni yn dlawd, a dinas Nazareth, lle y dygwyd ef i fynu yn un wael. Yr ydoedd yn cael ei ddiystyru fel glwth a meddw, cyfaill publicanod a phechaduriaid; yr oeddynt weithiau yn ei alw yn ddyn gorphwyllus, ac yn dwyllwr y bobl, Samaritan, ac un â chythraul ganddo. *Ioan* 7. 20. a 8. 48. a 10. 20. Yr oeddynt yn ei alw yn gablwr, a llawer yn ei gyfrif yn frudiwr, neu un yn gwneuthur gwyrthiau trwy y gelfyddyd ddu *(black art)* a thrwy ryw fath o gymdeith-

as â Beelzebub. Hwy a'i ysgymmunasant ef, ac a gyttunasant â'u gilydd i ysgymmuno pawb a'i haddefai. *Ioan* 9. 22. Yr oeddynt yn dymuno iddo farw, ac yn fynych yn amcanu ei ladd; a hynny rai prydiau trwy rym, a phrydiau eraill trwy gyfrwys-dra. Hwy yn fynych a godasant gerrig i'w labyddio ef; ac un-waith hwy a'i dygasant i ael y bryn, gan fwriadu ei daflu dros y dibyn, i'w ddryllio yn y creigiau. *Luc* 4. 29. Efe, yn y modd hyn, a gasawyd, ac a waradwyddwyd gan ei bobl weledig ei hun. *Ioan* 1. 11. "At ei eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun nis derbyniasant ef." Yr ydoedd yn cael ei ddiystyru a'i gasau, yn bennaf gan y rhai oedd fwyaf mewn cyfrifiad, sef gan y gwyr mwyaf. Ond i ba ran bynnag o'r wlad yr elai, efe a gyfarfyddai â dirmyg a chasineb. Efe a gyfarfu â hyn yn Capernaum, a phan aeth i Jericho; ac yn Jerusalem, y ddinas sanctaidd, pan aeth yno i addoli; hefyd, yn Nazareth, ei ddinas ei hun, ym mysg ei berthynasau a'i gymmydogion.

Efe a ddioddefodd ymosodiadau anghyffredinol oddiwrth Satan. Yr ydym yn darllen am un tro neillduol, pan y bu efe mewn ymladdfa barhaus â'r diafol ddeugain niwrnod a deugain nos yn yr anialwch, ac heb neb gyd âg ef ond bwystfilod gwyllt-ion a chythreuliaid, ac yr oedd felly yn agored i allu y diafol, fel yr oedd efe yn ei gario ef yn gorphorol o le i le, ac yntau, eis-oes, yn dioddef y newyn tost. *Mat.* 4. 1,—11.

(4.) Yr wyf yn bresennol yn dyfod at y nos y bradychwyd ef. Ac o'r amser hwn hyd oni orphenodd ei yrfa y bu ei ddar-ostyngiad a'i ddioddefiadau mwyaf, trwy yr hyn yn bennaf y boddlonodd efe gyfiawnder Duw tros bechodau dynion. Yn gyntaf, fe werthwyd ei fywyd gan un o'i ddisgyblion, am ddeg ar hugain o arian, yr hyn nad oedd ond gwerth bywyd caeth-was. *Exod.* 21. 32. Yr ydoedd efe y pryd hynny yn y fath ing aethus yn yr ardd, fel y daeth y fath arswyd ar ei enaid sanctaidd, hyd oni ddechreuodd fod yn hynod wasgedig a thrist, ac y dywedodd, "Trist iawn yw fy enaid, hyd angau," ac yr ydoedd mewn braw mawr. *Marc* 14. 33, 34. Mor wasgedig oedd ing ei enaid, fel ag y daeth gwaed allan o'i gorph sanctaidd trwy dyllau y chwys; felly yr oedd efe wedi ei lethu gan aethus dristwch, hyd onid oedd ei gorph wedi ei orchuddio â gwaed. Y disgyblion, pa rai oedd ei gyfeillion a'i deulu, oeddynt yn awr, pan ydoedd efe dan guddiad wyneb ei Dad, yn ymddangos yn oer a diystyr yn ei achos. Judas, yr hwn yr ymddygasai tu ag atto fel un o'i deulu, neu gyfaill cyfeillgar, yn dyfod ac yn ei

fradychu, yn y modd mwyaf twyllodrus a bradychus. Y swyddogion a'r milwyr yn ei ddal, ac yn ei rwymo. Ei ddisgyblion, yn lle ei gysuro yn ei gyfyngdra, yn ei adael, ac yn ffoi. Yntau yn cael ei arwain, fel drwg-weithredwr, i ŵydd yr offeiriaid a'r ysgrifenyddion, pa rai oeddynt yn elynion marwol iddo, fel y byddai iddynt sefyll i fynu yn farnwyr arno; ac wedi ei gael i'w dwylaw, hwy a safasant i fynu ar hyd y nos i gymmeryd eu pleser i'w wawdio. Ond gan nad oeddynt yn amcanu at ddim llai na chael ei fywyd, hwy a ymosodasant i geisio rhyw esgus i'w farwolaethu, ac a ymofynasant am dystion yn ei erbyn. A phan nad oedd yr un yn ymddangos, hwy a gawsant ryw rai i ddwyn cam dystiolaeth; a phan nad oedd tystiolaethau y rhai hynny yn cyttuno â'u gilydd, yna hwy a'i holasant ef, i edrych a allent gael rhyw beth allan o'i enau ef ei hun i gymmeryd gafael ynddo. Yr oeddynt yn gobeithio y dywedai, mai Mab Dûw ydoedd, ac yr oeddynt yn tybied y byddai hynny yn ddigon. A thra yr oedd yn ddistaw, hwy a'i tynghedasant yn enw Duw, i ddywedyd pa un a oedd efe yn fab iddo, ai nad oedd. A phan yr addefodd ei fod, yr oeddynt yn tybied eu bod wedi cael digon i'w gondemnio; yna yr oeddynt yn llawn gorfoledd, yr hyn a ddangosasant trwy ei wawdio, poeri yn ei wyneb, dodi hug ar ei lygaid, a'i gernòdio, ac erchi iddo brophwydo pwy a'i tarawodd, gan ei watwar, o herwydd iddo honni ei fod yn brophwyd. Y gweision hefyd oedd ganddynt law yn y difyrrwch creulon, a hwy a'i tarawsant ef â gwiail (neu yn ol y Saesoneg, â chledrau eu dwylaw.) *Marc* 14. 65.

Tra 'r oedd efe yn dioddef y nos honno, daeth cywilydd ar Petr, yr hwn oedd yn un o'i ddisgyblion pennaf, ei arddel ef, ac efe a'i gwadodd, trwy lwon a rhegfeydd. Ac wedi i'r archoffeiriaid a'r henuriaid dreulio y noswaith yn ei ammharchu mor gywilyddus, pan ddaeth y boreu, yr hwn oedd foreu y dydd rhyfeddaf a fu erioed, hwy a'i harweiniasant at Pilat, fel y caent ganddo ef gyhoeddi barn marwolaeth arno, oblegid nid oedd ganddynt awdurdod ar fywyd ac angau yn eu dwylaw eu hunain. Wedi iddo gael ei ddwyn i lys barnol Pilat, yr offeiriaid a'r henuriaid a'i cyhuddasant ef yno fel bradwr. Ac wedi i Pilat ystyried yr achos, a datgan nad oedd yn cael dim bai ynddo, yr oedd yr Iuddewon yn fwy ffyrnig a thanbaid am ei gondemnio. Gan hynny, Pilat, wedi iddo ei gyfiawnhâu, yn dra anghyfiawn a'i dygodd i ail holiad; a'r pryd hynny methu ganddo gael dim yn ei erbyn, efe a'i rhyddhaodd drachefn. Yr

oedd Pilat yn ymddwyn tu ag atto fel pe buasai yn adyn annheilwng i wneud nemmawr o sylw arno; ond yr oedd yn gywilyddus ganddo ei farnu ef yn fradwr o herwydd cyn lleied peth.

Wedi hynny anfonwyd ef i ddadleudŷ Herod, i'w holi ganddo ef: a'i elynion yn danbaid a'i cyhuddasant yno fel bradwr, neu un yn ymosod i fynu fel brenhin; ond Herod a'i hystyriodd yn yr un modd a Philat, fel creadur tlawd, annheilwng i wneud sylw arno, ac efe a wawdiodd yr Iuddewon am ei gyhuddo fel person peryglus i Cæsar, neu fel un ag yr oedd perygl iddo osod ei hun i fynu i fod yn frenhin yn ei erbyn ef. A chan hynny, o ddirmyg ar yr Iesu, efe a'i gwisgodd mewn gwawd-wisg, ac a'i diystyrodd, gan ei anfon ef yn ol, yn y wisg honno, trwy heolydd Jerusalem at Pilat.

Yna y mae'r Iuddewon yn dewis Barabbas yn ei le ef, ac ar unwaith, hwy oll, gyda llef danbaid, a waeddasant ar Pilat, "Croeshoelia ef." Felly Pilat, wedi iddo ei ddieuogi ddwy waith, a Herod unwaith, yn dra anghyfiawn, a'i dygodd drachefn i holiad y drydedd waith. Cafodd Crist ei ddiosg o'i amwisg a'i fflangellu; fel hyn y rhoddodd efe ei "gefn i'r curwyr." *Esa.* 50. 6. Drachefn, er fod Pilat o hyd yn datgan nad oedd efe yn cael dim bai ynddo; etto mor anghyfiawn oedd efe, fel mai rhag ofn yr Iuddewon y traddododd efe ef i'w groeshoelio. Ond cyn iddynt gyflawni y ddedfryd, ei elynion cynfigennus a chreulon a'i gwawdiasant, ac a'i hanrheithiasant. Hwy a'i diosgasant ef, ac a'i gwisgasant âg ysgarlad, ac a ddodasant goron o ddrain ar ei ben, a chorsen yn ei law. Y milwyr Rhufeinig, a'r Iuddewon, oedd yn ymuno i'w wawdio, gan blygu eu gliniau o'i flaen, a gwaeddi, "Henffych well, Brenhin yr Iuddewon;" poerasant arno, a chymmerasant y gorsen o'i law, a tharawsant ef â hi ar ei ben. Wedi hyn arweiniasant ef i'w groeshoelio, a gwnaethant iddo gario ei groes hyd oni syrthiodd dani, gan fod ei nerth wedi pallu, yna dodasant hi ar gefn Simon o Cyrene. *Mat.* 27. 32.

Ac yn ddiweddaf, daethant âg ef i fynydd Calfaria, a chyflawnasant y ddedfryd ag oedd Pilat mor anghyfiawn wedi gyhoeddi arno. Hoeliasant ef draed a dwylaw wrth y groes, ac yna codasant hi i fynu, gan ddodi un pen iddi yn y ddaear, ac yntau yn nghrog arni wrth yr hoelion, pa rai oedd yn trywanu ei draed a'i ddwylaw. Ac yn awr yr oedd dioddefiadau Crist wedi dyfod arno hyd yr eithaf; y cwppan ag yr oedd yn gweddïo

o

mor egnïol am iddi fyned heibio oedd wedi dyfod atto, ac yr oedd yn rhaid iddo ei hyfed, ac efe a wnaeth. *Esa.* 26. 39. Croeshoelio oedd y farwolaeth fwyaf poenus yn y dyddiau hynny o un gosp. Nid oedd yr un farwolaeth trwy yr hon y byddai person yn profi y fath boen; a chan hynny y mae y gair Rhufeinig yr hwn sydd yn arwyddo poen wedi ei gymmeryd oddiwrth y fath ddull a hwn o farwolaethu. Heblaw yr hyn a ddioddefodd ein Harglwydd yn ei gorph oddiwrth y farwolaeth boenus hon, efe a ddioddefodd ddirfawr fwy poen yn ei enaid. Y pryd hynny yr ydoedd y llafur enaid yr ydym yn darllen am dano yn *Esa.* wedi dyfod arno. Y pryd hyn y gwelodd Duw yn dda ei ddryllio ef, efe a'i clwyfodd, pan y tywalltodd ei enaid i farwolaeth. *Esa.* 50. 10. Ac os ydoedd rhag-feddwl am y cwppan hwn yn peri iddo chwysu y gwaed, pa faint mwy poenus ac ofnadwy ydoedd ei hyfed! Amryw o'r merthyron oedd yn dioddef llawer yn eu cyrph, tra yr oedd eu heneidiau yn orfoleddus, ac yn canu o lawenydd, ac felly yr oeddynt yn cael eu cynnal yn orfoleddus, dan ddioddefiadau y dyn oddi allan. Ond nid felly yr ydoedd gyda Christ, nid ydoedd efe yn cael y fath gynnaliaeth, ond ei ddioddefiadau ef yn bennaf oedd y rhai hynny a ddioddefodd yn ei enaid, er fod y lleill yn dra mawr.

Yr Iuddewon o hyd oedd yn ei watwar dan yr holl ddioddefiadau hyn, a chan ysgwyd eu pennau, a dywedyd, "Ti yr hwn a ddinystri y deml, ac a'i hadeiledi mewn tridiau, gwared dy hun. Os ti yw Mab Duw, disgyn oddi ar y groes." *Mat.* 27. 40.Ië, yr archoffeiriaid, ysgrifenyddion, a'r henuriaid, oeddynt yn ymuno i waeddi, "eraill a waredodd efe, ac nis gall ei waredu ei hun." Ac y mae 'n debygol fod y diafol a'i holl allu yn ei boenydio ef yr un pryd, "canys hon oedd ei awr ef a gallu y tywyllwch." *Luc* 22. 53.

Pan oedd Crist dan y dioddefiadau hyn, efe a waeddodd â llef uchel unwaith a thrachefn, ac o'r diwedd a ddywedodd, "Gorphenwyd, a chan ogwyddo ei ben, efe a roddes i fynu yr yspryd." *Ioan* 19. 30. Fel hyn y gorphenwyd y gwaith mwyaf a wnawd erioed; yn awr yr oedd yr angylion yn cael edrych ar y peth mwyaf rhyfedd a wnaethpwyd erioed, yn awr y cyflawnwyd y prif beth ag y buwyd yn cyfeirio atto trwy wahanol osodiadau y ddeddf seremonïol, trwy yr holl oruchwyliaethau cysgodol, a thrwy yr holl aberthau o ddechreuad y byd.

Yn y modd hyn y dygwyd Crist dan awdurdod marwolaeth, ac efe a arosodd yno hyd foreu y trydydd dydd, ac yno y gor-

phenwyd y gwaith mawr o bwrcasu ein prynedigaeth, tu ag at yr hyn y bu y fath barottoadau yn cael eu gwneud o ddechreuad y byd; ac yno y gorphenwyd yr hyn oll ag oedd yn ofynedig mewn trefn i gyflawni gofynion y ddeddf, a'r hyn oll oedd yn angenrheidiol i foddloni dwyfol gyfiawnder; ac fe dalwyd, y pryd hynny, yr holl ddyled i ofyniad eithaf cyfiawnder amddiffynol, a gorphenwyd yr hyn oll oedd yn angenrheidiol i bwrcasu bywyd tragywyddol.

---

## DEFNYDD ODDIWRTH YR AIL AMSER.

Trwy ddilyn yr hanes, dangoswyd y modd y dygwyd gwaith y prynedigaeth ym mlaen trwy y ddau amser cyntaf a nodwyd, sef o gwymp dyn hyd ymddangosiad Crist yn y cnawd, ac oddi yno hyd ddiwedd amser ei ddarostyngiad ef, ac yn neilltuol sylwasom y modd yr oedd Duw, trwy yr yspaid cyntaf o'r amserau hynny, yn parottoi y ffordd i ymddangosiad Crist, a phwrcasiad y prynedigaeth, a'r modd y gwnawd, ac y gorphenwyd, y pwrcas yn yr ail amser. Yn bresennol, myfi a ychwanegaf ychydig o addysgiadau oddiwrth y ddau amser ynghyd.

1. Yr wyf yn dechreu gyda defnydd i argyhoeddi o dri pheth, sef anghrediniaeth, ymlynu mewn hunan-gyfiawnder, a diofal esgeulusdra o'r iachawdwriaeth trwy Grist.

(1.) Os ydyw y pethau neilltuol a adroddwyd yn wirionedd, pa mor anwrthwynebol y maent yn argyhoeddi y rhai hynny nad ydynt yn eu credu, ac yn ewyllysgar dderbyn yr Arglwydd Iesu Grist. Fe all pobl ei dderbyn ef mewn proffes, a gallant ddymuno bod yn meddu rhai o'r bendithion hynny a bwrcaswyd ganddo, ac etto eu calonnau heb ei dderbyn ef. Gallant wneud rhyw beth drosto, ac etto heb fod yn ddiffuant mewn dim tu ag atto, heb feddu bri mawr iddo, na pharch gwirioneddol tu ag atto. Er y gall fod eu calonnau yn agored i lawer o bethau eraill, etto y mae Crist yn cael ei gau allan o honi bob amser, a hwythau yn hollol fyddar i'w holl wahoddiadau. Ni bu eu calon erioed â thuedd ynddi i'w dderbyn, ac ni roddasant erioed eu hymddiried ynddo.

Goddefwch eich galw i ystyried pa mor fawr yw eich pechod yn gwrthod Crist, fel yr ymddengys oddiwrth yr hyn a ddywedwyd. Yr ydych yn diystyru y Person gogoneddus, yr hwn y bu Duw, trwy restr o ragluniaethau rhyfeddol, yn gwneuthur

y fath barottoad i'w ddyfodïad er dechreuad y byd, yr hwn, wedi i'r holl bethau gael eu parottoi, a anfonwyd ganddo ef i'r byd, a phan ddaeth, a gyflawnodd yr hyn oedd o'r blaen yn anadnabyddus, sef uno y natur ddynol â'r natur ddwyfol yn un Person. Yr ydych wedi bod yn euog o ddiystyru y Gwaredwr mawr, yr hwn, wedi y fath barottoadau, a ddaeth, ac a gyflawnodd, yn weithredol, bwrcas y prynedigaeth; a'r hwn, wedi iddo dreulio tair neu bedair ar ddeg ar hugain o flynyddoedd mewn tlodi, llafur, a gwaradwydd, a orphenodd y pwrcas, trwy roddi ei fywyd i lawr, dan y fath ddioddefiadau ag y clywsoch; ac felly trwy ei angau, a'r yspaid amser y bu dan awdurdod marwolaeth, a wnaeth yr hyn oll ag oedd i'w wneuthur er iachawdwriaeth pechaduriaid. Hwn yw y Gwaredwr mawr yr ydych chwi yn ei ddiystyru, ac yn ei wrthod. Yr ydych yn diystyru holl ogoniant ei berson, a chariad mawr y Tad yn ei anfon ef i'r byd, a thosturi y Mab yn dyfod i wneud yr holl orchwyl hwn. Y maen gwerthfawr a osodwyd gan Dduw, trwy y fath weithredoedd rhyfeddol, ac yn y fath fodd ag y clywsoch, yn sylfaen yn Sion, yw y maen a wrthodir gennych chwi.

Y mae pechaduriaid weithiau yn barod i ryfeddu paham yr edrychir ar anghrediniaeth yn fath bechod mawr ag ydyw: ond pe baech yn ystyried yr hyn a ddywedwyd, pa fodd y gallech ryfeddu ei fod yn beth mor atgas? Os yw Crist yn Iachawdwr mor fawr, a'r gwaith a wnaeth mor fawr, a'r fath bethau mawrion yn cael eu gwneud, mewn trefn i ddwyn ym mlaen yr hyn a wnaeth, yn sicr, nid oes yr un achos i ryfeddu fod gwrthodiad o'r Iachawdwr y llefarir am dano yn yr ysgrythyrau y fath bechod ag sydd yn cyffroi llid Duw, a mwy o ddigofaint yn ei ganlyn na'r gwaethaf o bechodau y Paganiaid, y rhai ni chlywsant erioed am y pethau hyn, ac na chawsant erioed gynnygiad o'r Gwaredwr.

(2.) Y mae yr hyn a ddywedwyd yn ddefnydd argyhoeddiad i'r rhai hynny, pa rai, yn lle credu yn Nghrist, sydd yn ymddiried ynddynt eu hunain am iachawdwriaeth. Peth cyffredin gyda dynion ydyw ymddiried yn eu gweddïau, eu moesau da, y boen y maent yn gymmeryd gyda chrefydd, diwygiad eu buchеddau, a'u hunan-ymwadiad, a rhoi rhyw fath o iawn dros eu pechodau i'w cymmeradwyo eu hunain i Dduw.

Ystyriwch dri pheth:

[1.] Pa beth mor fawr ydych yn ei gymmeryd arnoch eich hunain. Er eich bod yn dlodion ac annheilwng, yn bryfaid

halogedig y llwch, etto yr ydych mor uchelfrydig a'ch bod yn cymmeryd arnoch y gwaith ag y darfu i uniganedig Fab Duw ei addasu ei hun iddo trwy ddyfod yn ddyn, ac mewn trefn hefyd i gyflawni yr hyn y bu Duw yn gwneuthur y fath barottoadau mawrion. Ystyriwch y fath wagedd ydyw y meddwl yr ydych yn ei gynnwys am danoch eich hunain; pa mor uchelfrydig y mae yn rhaid i'r feth feddwl ymddangos yn ngolwg Crist, yr hwn a gafodd y fath draul i bwrcasu iachawdwriaeth, pan na allasid gwneud hynny, ïe, gan berson mor fawr a gogoneddus ag oedd efe, ar lai traul na rhydio trwy fôr o waed, a myned trwy ganol ffwrn digofaint Duw,

[2.] Os oes sail i chwi hyderu, fel yr ydych, yn eich cyfiawnderau eich hunain, yna y mae yr hyn oll a wnaeth Crist, pan ydoedd ar y ddaear, er pwrcasu iachawdwriaeth i ddynion, a'r hyn oll a wnaeth Duw, er parottoi y ffordd i'w ddyfodiad ef, o gwymp dyn hyd yr amser y daeth efe, yn ofer. Wrth ymlynu yn eich hunan-gyfiawnderau yr ydych yn rhoddi y ffolineb mwyaf yn erbyn Duw, gan iddo wneuthur yr holl bethau hyn er cyflawni yr hyn a allasai pryfaid gwael fel chwi eu cyflawni â'ch gwasanaeth halogedig eich hunain. Canys pe gallech chwi ddyhuddo digofaint Duw, a'ch cymmeradwyo eich hunain ger ei fron ef trwy hynny, yna ni byddai yn rhaid i chwi wrth Grist, ac felly buasai efe farw yn ofer. *Gal.* 2. 21. "Os o'r ddeddf y mae cyfiawnder, yna bu Crist farw yn ofer." Och! pa mor ddall ydyw dynion anianol, y fath feddyliau gwag y maent yn eu cynnwys am danynt eu hunain! pa mor anwybodus ydynt am eu gwaeledd a'u halogrwydd! Y fath ddyrchafu eu hunain y maent, hyd yn nod i fynu i'r nefoedd, a'r fath bethau mawrion y maent yn briodoli iddynt eu hunain!

[3.] Chwychwi y rhai ydych yn ymddiried yn eich cyfiawnderau eich hunain, ydych yn uchelfrydig honni i chwi eich hunain yr anrhydedd o wneud y peth mwyaf a wnaeth Duw erioed; nid yn unig fel pe baech yn ddigonol i gyflawni gwaith dwyfol, a rhyw bethau mawrion a wnaeth Duw; ond y fath ydyw eich balchder a'ch gwagedd fel nad ydych yu foddlon heb gymmeryd arnoch i wneuthur y gwaith mwyaf a wnaeth efe erioed, sef gwaith y prynedigaeth. Yr oedd gweithio allan y prynedigaeth yn fwy gwaith na chreu y byd. Ystyriwch pa wedd a fyddai arnoch pe anturiech ymwisgo mewn mawrhydi, a rhyfygu llefaru gair awdurdodol, i alw y byd allan o ddim; etto, wrth ryfygu gweithio allan eich prynedigaeth yr ydych yn anturio

i geisio gwneud mwy peth o lawer. Yr ydych yn anturio cymmeryd arnoch eich hunain y rhan anhawsaf o'r gwaith hwn, sef pwrcasu prynedigaeth. Fe allodd Crist gyflawni rhannau eraill y gwaith hwn heb lawer o draul ac anhawsdra; ond y rhan yma o hono a fu yn werth ei fywyd, heblaw poenau aneirif a llafur, ac ammharch mawr a dirmyg. Pe buasai holl angylion y nefoedd yn ddigonol i'r gwaith hwn, ni buasai Duw byth yn anfon ei Fab ei hun, Creawdwr yr angylion, i'r byd, i weithredu a dioddef y fath bethau. Y mae pobl hunan-gyfiawn yn cymmeryd arnynt i weithredu yr un peth ag a wnaeth Crist pan yr oedd mewn ing yn chwysu y gwaed, ac yn marw ar y groes. Y maent, trwy hynny, yn eu hunan-gyfiawnderau, mewn effaith yn dywedyd, mai y ffolineb mwyaf a welodd dynion ag angylion erioed oedd i Grist i offrymmu ei hun i fynu trwy y dioddefiadau hynny, yn lle rhoi yr amlygrwydd mwyaf o ogoniant dwyfol ras a doethineb. Ië, y mae dal i fynu hunan-gyfiawnder yn gwneud yr hyn oll a wnaeth Crist, ac a ddioddefodd efe drwy ei holl fywyd, ynghyd â'r hyn oll a wnaeth Duw, yn ngoruchwyliaethau ei ragluniaeth, o ddechreuad y byd, yn ddim, ond rhyw olygfa eithaf o'r ffoledd pennaf. Pa ryfeddod gan hynny ydyw fod yspryd hunan-gyfiawn yn cael ei osod allan, yn yr ysgrythyr, fel y peth mwyaf niweidiol a marwol i eneidiau dynion? Neu fod Crist yn cael ei ddigio gymmaint gan y Phariseaid ac eraill, ag oedd yn ymddiried ynddynt eu hunain eu bod yn gyfiawn, ac mor falch o'u rhinweddau, ac yn tybied fod eu cyflawniadau yn werth digonol i ennill ewyllys da Duw a'i gariad?

Bydded i bawb gymmeryd rhybydd oddiwrth hyn i wylied yn erbyn yspryd hunan-gyfiawn. Chwychwi y rhai ydych yn ymofyn am iachawdwriaeth, ac yn cymmeryd poen gyda chrefydd, edrychwch na byddo i chwi ymddiried yn yr hyn ydych yn ei wneuthur; ac na byddoch yn cynnwys y fath feddyliau ag y dylai Duw gymmeradwyo eich gwaith yn y fath fodd ag a'i tueddai, mewn rhyw fesur, i faddeu i chwi, ac i gymmeryd trugaredd arnoch, neu nad ydyw efe yn gweithredu yn gyfiawn, os ydyw efe yn gwrthod sylwi ar eich gweddïau a'ch llafur. Y mae y fath achwyniad ar Dduw, a'r fath ymrafael âg ef, am na byddai yn sylwi mwy ar eich cyfiawnderau, yn eglur ddangos eich bod yn euog o'r uchder meddwl, a'r balchder, ag a soniwyd am danynt, ac yn tybied eich hunain yn ddigonol i offrymmu pridwerth er eich iachawdwriaeth.

(3.) Y mae yr hyn a ddywedwyd ar y testun hwn yn ddefn-

ydd argyhoeddiad i'r rhai hynny ag sydd yn diofal esgeuluso yr iachawdwriaeth yn Nghrist; y fath ag sydd yn byw bywyd anianol, ac yn esgeuluso pob gorchwylion crefyddol, ac iachawdwriaeth eu heneidiau anfarwol, trwy fod eu meddyliau wedi ei llyngcu i fynu mewn awydd am elw, gwagedd, a phleserau y byd. Goddefwch i mi, yn y man hyn, osod at eich ystyriaethau rai gofyniadau ymresymgar.

[1.] Gan fod cymmaint o brophwydi, brenhinoedd, a rhai cyfiawn, a'u meddyliau wedi eu llyngcu i fynu yn yr olwg ar bwrcasiad yr iachawdwriaeth oedd i gael ei gwneuthur gynnifer o oesoedd ar ol eu marwolaeth, a fydd i chwi esgeuluso y fath iachawdwriaeth wedi iddi gael ei chyflawni yn weithredol? Chwi a glywsoch y cyfrifiad mawr oedd yr eglwys yn ei wneud trwy yr holl oesoedd o'r prynedigaeth a wneid gan Grist yn yr amser a ddeuai; pa mor orfoleddus yr ydoedd yn ei ddisgwyl, ac yn llefaru am dano. Pa mor odidog y llefarodd Esay, Daniel, ac eraill o'r prophwydi am y prynedigaeth hwn. Pa fodd y defnyddiodd Dafydd ei lais, a'i delyn, i ddyrchafu yr amlygrwydd gogoneddus o ddwyfol ras a ddatguddir ynddo. Y modd y llawenychodd Abraham, ac eraill o'r Patrieirch, yn yr olwg ar ddydd Crist, a'r prynedigaeth yr oedd efe i'w bwrcasu. Ac fel yr oedd y seintiau cyn y diluw yn ymhyfrydu mewn disgwyliad am y digwyddiad gogoneddus hwn, er nad ydoedd i ddyfod oesoedd maith mewn canlyniad, ac nad oedd yn cael ei ddatguddio ond yn aneglur iddynt. Ond yn awr y mae y pethau hyn yn cael eu cyhoeddi i chwi fel y maent wedi eu cyflawni yn weithredol. Yn bresennol, y mae yr eglwys yn gweled yr holl bethau hynny wedi eu cyflawni, ag oeddynt hwy mor orfoleddus yn rhagfynegi am danynt. Ac etto, pan y mae y pethau hyn yn cael eu gosod ger eich bron chwi, fel y maent yn barod wedi eu cyflawni, pa mor ddiystyr ydych o honynt! pa mor ddiofal ydych yn eu cylch! a chan ddilyn pethau eraill nid ydych yn meddu un teimlad awyddus am fraint ynddynt! Yn ddiammeu y mae eich pechod yn dra mawr yn ngolwg Duw. Efe a'ch gosododd dan oruchwyliaeth mwy gogoneddus, ac a roddodd i chwi eglurach datguddiad o Grist a'i iachawdwriaeth, na'r rhai hynny yn yr oesoedd gynt, ac etto yr ydych yn myned ym mlaen yn ddiofal, gan esgeuluso yr holl fanteision hyn, fel pe na buasai y fath ddatguddiad wedi ei roddi i chwi, na dim wedi ei wneud erddoch.

[2.] Y mae yr angylion, er y cwymp, yn weithgar yn eu gwas-

anaeth ynghylch yr iachawdwriaeth hon, er nad oes iddynt hwy eu hunain, yn union-gyrchol, ddim ynddi; ac a fydd i chwi, sydd yn cael cynnygiad o honi, ac arnoch angen am dani, fod mor ddiofal yn ei chylch? Clywsoch y modd y gwnawd yr angylion yn ddeiliaid i Grist fel Cyfryngwr, a'r modd ag y buont o hyd yn ysprydion gwasanaethgar iddo yn y gorchwyl mawr hwn. A phan y daeth efe, y modd yr oeddynt yn ymroddi yn eu gorchwyl. Hwy a ddaethant at Zacharias, i hyspysu iddo am ddyfodiad rhagredegwr Crist; ac at y wyryf Mair, i hyspysu iddi ddynesiad genedigaeth Crist; ac at Joseph, i'w rybuddio o'r perygl ag oedd yn bygwth y Gwaredwr oedd newydd ei eni, ac i ddangos iddo y moddion i'w ddiogelu. A phan y ganed ef, fel y daeth lluaws o lu nefol i foliannu ar yr achlysur, gan ddywedyd, "Gogoniant i Dduw yn y goruchafion, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Ac wedi hynny, buont yn gweini i Grist o bryd i bryd, pan ydoedd ar y ddaear, megis yn yr anialwch, pan y temtiwyd ef, a phan yr ydoedd mewn ing yn yr ardd, a phan yr adgyfododd, ac yr esgynodd i'r nef. Y mae yr holl bethau hyn yn dangos eu bod hwy yn hynod o weithgar gyd â'r gorchwyl hwn, fel y mae yr ysgrythyr yn dywedyd, "Ar yr hyn beth y mae yr angylion yn chwennychu edrych." 1 *Petr* 1. 12. A'r modd yr arddangosir yn y Datguddiad, eu bod hwy yn cael eu cynnal yn y nefoedd i ganu mawl i'r hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfaingc, ac i'r Oen. A ydyw fod y rhai hyn yn gwneuthur cymmaint o sylw ar y prynedigaeth, a'r hwn a'i pwrcasodd, a hwythau heb angenrheidrwydd am hawl union-gyrchol ynddo iddynt eu hunain; ac a fydd i chwi, pa rai sydd mewn eithaf angenrheidrwydd am dano, ei esgeuluso, a pheidio gwneud un sylw arno?

[3.] Gan fod Crist wedi llafurio mor galed, a dioddef cymmaint er ennill yr iachawdwriaeth hon, ai nid ydyw yn werth yr amser i chwi fod mewn rhyw lafur yn ei cheisio? A ddarfu i'n hiachawdwriaeth orwedd mor bwysig ar feddwl Crist ag a'i tueddodd i ddyfod yn ddyn, a dioddef marwolaeth i'r diben i'w hennill i ni; ac onid ydyw yn werth yr amser i chwi, pa rai y mae yn hollol angenrheidiol i chwi wrthi, ac a fyddwch yn dragywyddol ddinystriol hebddi, gymmeryd poen egnïol i gyrhaedd hawl ynddi wedi iddi gael ei hennill, a phob peth yn barod?

[4.] A gymmerodd y Duw mawr y fath ofal yn nghylch yr iachawdwriaeth hon fel ag y darfu iddo, mor fynych, ddadymchwelyd y byd i wneuthur ffordd iddi: ac wedi i bob peth

gael ei wneud, ai nid ydyw yn werth gennych chwi ymofyn am dani? Pa bethau mawr a rhyfedd a wnaeth Arglwydd y nefoedd a'r ddaear o'r naill oes i'r llall, trwy dynnu i lawr a chodi i fynu frenhinoedd, cyfodi rhifedi mawr o brophwydi, neilldno cenedl ddosparthedig oddiwrth y gweddill o'r byd, dadymchwelyd y naill genedl ar ol y llall, a mynych newid gwedd y byd; ac felly parhau i ddwyn oddiamgylch y naill gyfnewidiad a chwyldroad ar ol y llall am bedair mil o flynyddoedd yn ddilynol, i agoryd y ffordd i ennill yr iachawdwriaeth hon. Ac wedi iddo ef wneuthur pob peth, ai nid ydyw yn deilwng eich bod chwi yn gofalu am ran ynddi yn lle ei thaflu heibio, a pheidio gwneud dim o honi, mewn cydmariaeth ag elw bydol, chwantau ieuengctid, a phethau gwael eraill? O na byddai i chwi, y rhai sydd yn byw mewn esgeulusdra o'r iachawdwriaeth hon, ystyried pa beth ydych yn ei wneuthur! Gall yr hyn a ddywedwyd ar y testun hwn ddangos i chwi y rheswm sydd yn y floedd honno o eiddo yr apostol:—" Pa fodd y diangwn ni os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint. Edrychwch, O ddirmygwyr, a rhyfeddwch, a diflenwch: canys yr wyf yn gwneuthur gweithred yn eich dyddiau, gwaith ni chredwch ddim, er i neb ei ddangos i chwi." *Heb.* 2. 3. *Act.* 13. 41. Y mae Duw yn edrych ar y fath ag ydych chwi yn elynion mawr i groes Crist, ac yn wrthwynebwyr a dirmygwyr i holl ogoniant y gwaith mawr hwn. Ac os oedd Duw yn gwneud y fath gyfrif o ogoniant yr iachawdwriaeth a'i fod yn dinystrio llawer o genhedloedd, ac mor fynych yn dadymchwelyd yr holl genhedloedd, i barottoi y ffordd i amlygu gogoniant ei Fab yn y gorchwyl hwn; pa cyn leied cyfrif a wna efe o fywydau ac eneidiau deng mil o'r fath ag ydych chwi, sydd yn parhau yn anedifeiriol mewn cyd-ymgais â'i ogoniant ef. Yn sicr, chwi a ddryllir yn ddarnau fel llestr y crochenydd, ac fe'ch sethrir i lawr fel tom yn yr heolydd. Gall fod Duw, trwy ryfeddol amynedd, yn cyd-ymddwyn tros amser â phechaduriaid caled a diofal; ond ni fydd iddo yn barhaus gyd-ymddwyn â dirmygwyr ei anwyl Fab, a'r iachawdwriaeth fawr sydd ynddo ef, ond efe a'i hollol ddinystria hwy yn y fath fodd ag na byddo meddyginiaeth, ac na ddangosir un drugaredd iddynt.

2. Yr wyf yn diweddgloi y pen hwn gyda defnydd i galonogi eneidiau llwythog i obeithio yn Nghrist am iachawdwriaeth. Y mae yr hyn a ddywedwyd ar y testun hwn yn gosod allan anogaeth rymmus i bawb ag sydd mewn gradd o deimlad o'u

hangen am hawl yn Nghrist, sef y rhai nad ydynt yn hollol ddiofal ac esgeulus ynghylch achos eu heneidiau, ond yn ofni y digofaint sydd ar ddyfod, i anturio rhoddi eu hunain i'r Arglwydd Iesu Grist; ac fel annogaeth addas i'ch cynhyrfu i hynny, goddefwch i mi eich annog i-ddau o bethau neilltuol.

(1.) I ystyried cyflawnder y pwrcasiad a wnawd. Y gwaith hwn o bwrcasu iachawdwriaeth a orphenwyd yn gyflawn, fel y clywsoch, yn yspaid amser ymddarostyngiad Crist. Yr oedd pwrcasiad bywyd tragywyddol wedi ei gyflawn orphen, fel nad oedd dim yn ychwaneg yn angenrheidiol i wneud tu ag atto pan yr adgyfododd efe oddiwrth y meirw, a phan y dyrchafwyd ef o'r iselder i ba un yr ymostyngasai er ein hiachawdwriaeth. Ac yn awr, y gweision a anfonwyd allan gyd â'r gennadwri hon: "Wele, parottöais fy nghiniaw: fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd, a phob peth sydd barod: deuwch i'r brïodas." *Mat.* 22. 4. Gan hynny, y mae pob peth yn barod; a ydyw eich pechodau yn fawr ac yn aml? Y mae yma ddigon wedi cael ei wneud gan Grist i ennill maddeuant; ac nid oes un angenrheidrwydd am ddim o'ch cyfiawnderau chwi er eich cyfiawnhâd. Ië, chwi a ellwch ddyfod yn hyderus, heb arian ac heb werth. A chan fod y fath gynnygiad rhydd a grasol i chwi ddyfod, deuwch yn noeth fel yr ydych. Tyred bechadur fel yr ydwyt, yn droseddwr euog; bwrw dy hun i lawr wrth draed Crist, fel un wedi ei gondemnio yn gyfiawn. Y mae yma iachawdwriaeth gyflawn wedi ei gweithio allan gan Grist, ac yn cael ei chynnyg i ti; tyred gan hynny a derbyn y cynnygiad, fel y byddech gadwedig.

(2.) Fe fyddai fod Crist yn gwrthod un a ddeuai atto yn y modd hyn yn ddiddymiad i ddiben yr holl bethau mawrion y clywsoch fod Duw yn eu gweithredu o gwymp dyn hyd ei ddyfodiad ef yn y cnawd. Byddai yn ddiddymiad ar yr hyn oll a wnaeth ac a ddioddefodd efe, tra yr ydoedd ar y ddaear, ïe, byddai yn ddiddymiad i ddiben ei gnawdoliaeth; canys diben yr holl bethau hynny ydoedd, fel y byddai i'r rhai a ddeuai atto ef gael eu hachub. Gan hynny, chwi a ellwch fod yn sicr na bydd efe yn ddiffygiol i achub y rhai hynny a ddaw atto; canys nid ydyw efe yn ewyllysio siommi ei hun yn ei waith ei hun. Ac ni wrthyd Duw y Tad mo honoch; canys nid ydyw efe ychwaith yn ewyllysio siommi ei hun trwy yr holl bethau a wnaeth trwy gynnifer cannoedd o flynyddoedd, i barottoi y ffordd er iachawdwriaeth pechaduriaid trwy Grist. Deuwch,

gan hynny, a gwrandewch ar alwad difrifol a chysurus Crist. "Deuwch attaf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch. Cymmerwch fy iau arnoch, a dysgwch gennyf; a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau: canys fy iau sydd esmwyth, a'm baich sydd ysgafn." *Mat.* 11. 28, 29, 30.

---

# DOSPARTH III.

*O Adgyfodiad Crist hyd Ddiwedd y Byd.*

WRTH draethu ar y testun hwn, dangoswyd eisoes y modd y dygwyd ym mlaen waith y prynedigaeth trwy y ddau gyntaf o'r tri yspaid y dosparthasom yr amser, o gwymp dyn hyd ddiwedd y byd. Yn awr yr ydym yn dyfod at y trydydd amser a'r diweddaf, gan ddechreu gyd âg adgyfodiad Crist, ac yn cyrhaeddyd hyd ddiwedd y byd—i ddangos y modd y dygwyd, ac y dygir, y gwaith yma ym mlaen trwy yr amser hwn hefyd, oddiwrth y cynnygiad canlynol:—

*Fod yr yspaid amser, o adgyfodiad Crist hyd ddiwedd y byd, yn cael ei dreulio oll i ddwyn oddi amgylch yr effeithiau mawrion, neu lwyddiant y pwrcasiad a wnawd ganddo ef.*

Nid am nad oedd effeithiau mawrion, a llwyddiant gogoneddus, ar bwrcasiad y prynedigaeth trwy Grist, o'r blaen, sef o'r dechreuad. Ond yr holl lwyddiant hynny oedd yn unig yn barottoawl, ac mewn ffordd o flaen-brawf, fel y mae rhyw ffrwythau yn cael eu casglu o flaen y cynhauaf. Nid ydoedd dim mwy llwyddiant ar y gwaith cyn dyfodiad Crist, nag oedd Duw yn ei weled yn angenrheidiol i barottoi 'r ffordd i'w ddyfodiad ef. Yr amser priodol i lwyddiant, neu effeithiau pwrcasiad y prynedigaeth trwy Grist, oedd wedi i'r pwrcasiad gael ei wneud; fel mai yr amser mwyaf priodol i'r byd fwynhau goleuni yr haul ydyw 'r dydd, wedi iddo ef gyfodi, er fod gennym ychydig o'i lewyrchiadau cyn iddo gyfodi yn adlewyrchu oddiwrth y lloer a'r planedau. Ac felly llwyddiant y prynedigaeth trwy Grist tra yr ydoedd efe ei hun ar y ddaear ydoedd yn fychan iawn, mewn cymhariaeth i'r hyn ydoedd wedi gorphen ei ymddarostyngiad.

Ond Crist a orphenodd y gorchwyl mwyaf pwysig ac anhawsaf o bob gorchwyl, sef y gwaith o bwrcasu prynedigaeth; ac yn awr yw yr amser iddo ef dderbyn y gorfoledd a osodwyd

o'i flaen. Y mae efe wedi offrymmu ei enaid yn aberth dros bechod, ac yn awr y mae yn amser iddo "gael gweled ei had, a chael rhannu iddo ran gyda llawer, a rhannu yr yspail gyd â'r cedyrn."

Un o ddibenion ymddarostyngiad Crist, ydoedd gosod i lawr sail i ddadymchwel teyrnas Satan; ac yn awr yw yr amser i hynny gael ei ddwyn ym mlaen, fel y dywedodd Crist ychydig cyn ei groeshoeliad—"Yn awr y mae barn y byd hwn: yn awr y bwrir allan dywysog y byd hwn." *Ioan* 12. 31. Diben arall ydoedd, i gasglu yn un bob peth yn Nghrist, fel y gwelir yn *adn.* 32. "A minnau, os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynnaf bawb attaf fy hun:" yr hyn sydd yn gyd-unol â phrophwydoliaeth Jacob am Grist, "pan y deuai Siloh, mai atto ef y byddai cynnulliad pobloedd," *Gen.* 49. 10. A'r trydydd diben ydyw, iachawdwriaeth yr etholedigion. Yn awr, wedi perffeithiad ei ymddarostyngiad, a gorpheniad ei ddioddefiadau ef, y mae yr amser wedi dyfod i hynny hefyd gymmeryd lle yn raddol. *Heb.* 5. 8, 9. "Er ei fod yn fab, a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddioddefodd: ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo." Diben arall ydoedd cyflawni, trwy y pethau hyn, ogoniant y Tri Pherson Dwyfol yn yr hanfod sanctaidd. Y mae yr amser i hynny yn awr wedi dyfod. "Y Tad, daeth yr awr; gogonedda dy Fab, fel y gogoneddo dy Fab dithau." *Ioan* 17. 1. Ac yn ddiweddaf, diben arall ydoedd gogoneddu yr holl saint, *Adn.* 2. "Megis y rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd, fel am y cwbl a roddaist iddo y rhoddai efe iddynt fywyd tragywyddol." Ac y mae holl oruchwyliaethau Rhagluniaeth Duw, o hyn allan hyd ddiddymiad pob peth, i wobrwyo Crist, ac i gyflawni y llawenydd sydd wedi ei osod o'i flaen ef.

Cyn myned ym mlaen i sylwi ar y pethau neillduol a gyflawnir yn yr yspaid hwn, sylwaf ar y modd yr arddangosir yr amseroedd hyn yn yr ysgrythyr.

1. Amseroedd yr yspaid hwn, ydyw yr amseroedd hynny, a elwir yn fynych yn yr Hen Destament, "y dyddiau diweddaf." Yr ydym yn darllen yn fynych yn y prophwydi, y byddai i'r peth a'r peth gael ei wneud yn y dyddiau diweddaf, ac weithiau, y dyddiau olaf. Felly y mae yr ymadroddion hyn o eiddo y prophwydi i'w deall, yn gyffredinol, am amseroedd yr yspaid hwn. Y mae yr amser hwn yn cael ei alw, "y dyddiau diweddaf," neu, "y dyddiau olaf:" oblegid mai hwn yw yr yspaid

olaf i restr o ragluniaethau Duw ar y ddaear; yr yspaid diweddaf i'r gwaith mawr hwnnw o eiddo rhagluniaeth, sef gwaith y prynedigaeth; yr hwn sydd megis pe bai holl weithredoedd rhagluniaeth Duw yn cael eu cyd-grynhoi iddo, yr amser ym mha un y mae yr eglwys tan yr oruchwyliaeth ddiweddaf a fydd byth ar y ddaear.

2. Y mae yr holl yspaid hwn o amser yn cael ei alw weithiau yn yr ysgrythyr, "diwedd y byd." 1 *Cor.* 10. 11. "A'r pethau hyn oll a ddigwyddasant yn siamplau iddynt hwy, ar y rhai y daeth terfynau yr oesoedd," neu, yn ol y Saesoneg, "terfynau y byd." Ystyr yr apostol yn yr ymadrodd hwn, "terfynau yr oesoedd," ydyw holl ddydd yr efengyl, o enedigaeth Crist hyd ddiweddiad dydd barn. *Heb.* 9. 26. "Eithr yr awrhon unwaith yn niwedd y byd yr ymddangosodd efe, i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun." Da y gellir galw yr yspaid hwn o amser yn ddiwedd y byd; canys y mae oll yn cael ei gymmeryd i fynu i ddwyn pethau i ben, er y canlyniad mawr hwnnw, ag y buasai Duw yn parottoi'r ffordd iddo, trwy holl oruchwyliaethau mawrion ei ragluniaeth, er pan gyntaf y cwympodd dyn hyd yr amser hwn. O'r blaen, yr oedd pethau mewn sefyllfa barottoawl; ond yn awr y maent mewn sefyllfa orphenawl. Y mae pethau, trwy yr holl yspaid hwn, yn cael eu dirwyn i fynu i'w cyflawni. Y mae nefoedd a daear, yn ol prophwydoliaeth Haggai, cyn dyfodiad Crist, wedi dechreu ysgwyd, mewn trefn i ymddattod, fel y byddo i'r pethau hynny, "pa rai ni symmudir, aros;" neu fel y byddo i'r pethau hynny ddiweddu, sydd i gael eu diweddu, ac yr arhoso y pethau hynny sydd i aros yn dragywyddol. *Heb.* 12. 27.

Felly, yn y lle cyntaf, fe derfynwyd ordinhadau cnawdol yr addoliad Iuddewig, er gwneud ffordd i osod i fynu sefydliad yr addoliad ysprydol hwnnw, sef addoliad y galon, yr hwn sydd i barhau yn dragywydd. *Ioan* 4. 21, 23. "Iesu a ddywedodd wrthi hi, O wraig, cred fi, y mae'r awr yn dyfod, pryd nad addoloch y Tad, nac yn y mynydd hwn, nac yn Jerusalem. Ond dyfod y mae'r awr, ac yn awr y mae hi, pan addolo y gwir addolwyr y Tad mewn yspryd a gwirionedd: canys y cyfryw y mae'r Tad yn eu ceisio i'w addoli ef." Dyma un prawf fod y byd amserol hwn wedi dyfod hyd ei derfyn, a bod y byd tragywyddol wedi dechreu. Prawf arall o'r pethau hyn ydyw, fod y deml allanol, a dinas Jerusalem, wedi dyfod hyd eu terfyn, er rhoi lle i godi i fynu deml a dinas ysprydol, y rhai sydd i bar-

hau byth, a'r hyn sydd brawf hefyd o symmudiad y pethau hynny ag sydd yn barod i ddiflannu, fel yr arhoso y pethau ni symmudir. Drachefn, y mae yr hen ymerodraeth Baganaidd wedi dyfod hyd ei therfyn, fel y gwneid ffordd i ymerodraeth dragywyddol Crist. Yn nghwymp Anghrist, fe ddaw terfyn i deyrnas weledig Satan ar y ddaear, ac fe sefydlir teyrnas dragywyddol Crist. *Dan.* 7. 27. "A'r frenhiniaeth a'r llywodraeth, a mawredd y frenhiniaeth dan yr holl nefoedd, a roddir i bobl saint y Goruchaf, yr hwn y mae y frenhiniaeth yn frenhiniaeth dragywyddol, a phob llywodraeth a wasanaethant ac a ufuddhant iddo." Hyn sy'n brawf arall o ddiddymiad y byd tymhorol, a dechreuad yr un tragywyddol. Ac yna, yn ddiweddaf, fe fydd terfyn i osodiad a gwedd y byd llygredig hwn, er gwneud ffordd i'r eglwys gael byw mewn preswylfa arall, a bery yn dragywyddol; yr hyn a fydd y prawf terfynol i ddiweddiad pob peth.

Fe allai fod yr apostol yn defnyddio yr ymadrodd, "terfynau yr oesoedd," ac nid terfyn y byd, am fod y byd yn y modd hyn yn dyfod hyd ei derfyn, trwy wahanol gamrau a graddau, fel pe bai iddo amrywiol derfynau, y naill ar ol y llall. Goruchwyliaeth yr efengyl ydyw y sefyllfa olaf ar bethau yn y byd; a'r sefyllfa hon ydyw y sefyllfa orphenol: y mae yr holl yspaid hwn yn cael ei dreulio i ddiweddu pethau ag oedd o'r blaen yn cael eu parottoi, neu i ddiddymmu pethau ag oedd o'r blaen yn sefyll. Y mae oll yn cael ei dreulio fel pe bai i symio pethau i fynu, a'u dwyn i'w canlyniad a'u priodol gyflawniad. Yn awr y mae yr holl gysgodau wedi cael eu cyflawni, a holl ragfynegiadau y prophwydi, o ddechreuad y byd, a gyflawnir yn yr amser hwn.

3. Y sefyllfa mae yr eglwys yn ei chyrhaedd trwy ddigwyddiadau yr amser hwn a elwir "nefoedd newydd a daear newydd." *Esa.* 65. 17, 18. "Canys wele fi yn creu nefoedd newydd, a daear newydd: a'r rhai cyntaf ni chofir, ac ni feddylir am danynt. Eithr llawenychwch a gorfoleddwch yn dragywydd yn y pethau a grewyf fi: canys wele fi yn creu Jerusalem yn orfoledd, a'i phobl yn llawenydd." *Pen.* 66. 22. "Canys megis y saif ger fy mron y nefoedd newydd a'r ddaear newydd, y rhai a wnaf fi, medd yr Arglwydd, felly y saif eich had chwi, a'ch enw chwi." Gwel hefyd *Pen.* 51. 16. Megis y mae sefyllfa flaenorol pethau, neu yr hen fyd, trwy y naill gam ar ol y llall, yn yr yspaid hwn yn dyfod hyd ei derfyn; felly y mae sefyllfa newydd

pethau, neu y byd newydd, yr hwn sydd fyd ysprydol, yn cael ei ddechreuad a'i godi i fynu. Mewn canlyniad i bob un o'r terfyniadau hyn i hen sefyllfa pethau, y mae dechreuad i'r byd newydd a thragywyddol. Felly yr hyn oedd yn canlyn dinystr y Jerusalem lythyrennol oedd sefydlu yr un ysprydol. Yr un modd hefyd mewn perthynas i ddinystr yr hen ymerodraeth Baganaidd, ynghyd â phob terfyniadau i hen sefyllfa pethau, hyd oni ddelo terfyn ar wedd allanol y byd ei hun; ac y caiff yr eglwys fyw mewn byd newydd, yr hwn a fydd felly i'r rhan fwyaf o honi, sef y nefoedd, yr hon a fydd yn breswylfa newydd, ac yno y bydd cyflawniad hollol i'r hyn a feddylir wrth nefoedd newydd a daear newydd yn *Dat*. 21. 1.

Diben Duw yn creu y byd ydoedd parottoi teyrnas i'w Fab, canys y mae efe wedi ei appwyntio ef i fod yn etifedd y byd, fel y byddai iddo gael meddiant arno, a theyrnas ynddo, yr hon sydd i barhau yn dragywydd. Cyn belled ag y mae teyrnas Crist, a sefyllfa dragywyddol pethau, wedi eu gosod i fynu yn y byd, cyn belled a hynny y mae efe wedi ei ddwyn i atteb ei ddiben. Cyn belled a hynny y mae holl gyfnewidiadau a chwyldröadau mawrion y byd wedi cyrhaedd eu canlyniad eithaf. Cyn belled ag y mae hir rediad dyfroedd dwyfol rhagluniaeth, gan ba un y mae cynnifer o wahanol ffrydiau, a'r fath luaws o ddirwyniadau, a thröadau, yn taflu allan i'w heigion priodol, pa un y buont yn chwilio am dano o ddechreuad, a tharddiad eu gyrfa, ac felly y maent yn dyfod i'w gorphwysfa. Cyn belled ag y mae teyrnas Crist yn cael eu sefydlu yn y byd, ac y mae pethau yn cael eu rhwymo i fynu, a'u sefydlu yn eu sefyllfa dragywyddol, ac amser wedi ei roddi i yrfa pethau yn y byd cyfnewidiol hwn; cyn belled a hynny y mae y nefoedd gyntaf a'r ddaear gyntaf wedi dyfod hyd eu terfyn, a'r nefoedd newydd a'r ddaear newydd wedi cael eu sefydlu yn eu lle hwy. Y mae hyn yn fy arwain i sylwi,

4. Fod y sefyllfa ag y cyrhaedd pethau iddi, trwy ddigwyddiadau yr yspaid hwn, yn fynych yn cael eu galw yn deyrnas nefoedd, neu yn deyrnas Dduw. Yr ydym yn fynych yn darllen yn y Testament Newydd am deyrnas nefoedd. Ioan Fedyddiwr oedd yn cyhoeddi yn ei bregethau fod teyrnas nefoedd ger llaw, a Christ yr un modd, a'i ddisgyblion ar ei ol ef; yr oeddynt trwy hyn yn cyfeirio at ryw beth ag oedd dan yr enw hwn mewn disgwyliad gan yr Iuddewon yn y dyddiau hynny. Fe ymddengys iddynt gymmeryd y disgwyliad a'r enw hwn, yn ben-

naf, oddiwrth brophwydoliaeth Daniel am freuddwyd Nebuchodonozor. *Dan.* 2. 44. "Ac yn nyddiau y brenhinoedd hyn, y cyfyd Duw y nefoedd frenhiniaeth." Hefyd *Pen.* 7. 13, 14. Yn awr, y deyrnas nefoedd hon ydyw sefyllfa efengylaidd pethau yn yr eglwys, ac yn y byd, ym mha un y mae llwyddiant y prynedigaeth trwy Grist yn gynnwysedig yn yr yspaid hwn. Fe godwyd i fynu yn fynych deyrnasoedd o'r blaen; ond Crist a ddaeth i osod i fynu y deyrnas ddiweddaf, yr hon nid ydyw ddaearol ond yn un nefol, ac felly yn briodol i gael ei galw yn "deyrnas nefoedd." *Ioan* 18. 36. "Fy mrenhiniaeth i nid yw o'r byd hwn." *Luc* 22. 29. "Ac yr wyf yn ordeinio i chwi deyrnas, megis yr ordeiniodd fy Nhad i minnau." Dan y pen hwn myfi a sylwaf ar amryw bethau neilltuol, er cyrhaedd eglurach dealltwriaeth am y pethau a ddywed yr ysgrythyr am yr yspaid hwn o amser.

(1.) Y mae teyrnas Crist yn cael ei gosod i fynu yn bennaf trwy bedwar o ddigwyddiadau mawrion yn ddilynol, a phob un o'r rhai hyn a elwir yn yr ysgrythyr yn ddyfodiad Crist yn ei frenhiniaeth. Y cyntaf oedd ei ymddangosiad ef yn ngoruchwyliaethau rhyfeddol ei ragluniaeth, yn nyddiau yr apostolion, i osod i fynu ei deyrnas; a dinystrio ei elynion, yr hyn a ddibenwyd yn ninystr Jerusalem. Fe elwir hyn yn ddyfodiad Crist yn ei frenhiniaeth. *Mat.* 16. 28. "Yn wir y dywedaf wrthych, y mae rhai o'r sawl sydd yn sefyll yma, a'r ni phrofant angau, hyd oni welont Fab y dyn yn dyfod yn ei frenhiniaeth." Yr ail a gyflawnwyd yn amser Cystenyn Fawr, pan y dinystriwyd yr Ymerodraeth Baganaidd, yr hyn a arddangosir yn nyfodiad Crist, ac a gydmerir i'r farn ddiweddaf. *Dat.* 6. 13,—17. Y trydydd a gyflawnir yn nghwymp anghrist, ac a arddangosir fel dyfodiad Crist yn ei frenhiniaeth, ym mhrophwydoliaeth Daniel, ac mewn mannau eraill, fel y caf sylwi, fe allai, wedi hyn. Y pedwerydd, a'r olaf, ydyw ei ddyfodiad i'r farn ddiweddaf yn niwedd amser, y digwyddiad hwn yn bennaf a arwyddir yn yr ysgrythyr wrth ddyfodiad Crist yn ei frenhiniaeth.

(2.) Myfi a sylwaf fod pob un o'r tri dyfodiad blaenorol hyn yn ddarlun bywiog o'r dyfodiad diweddaf, sef dyfodiad Crist i'r farn ddiweddaf, megis ag yr oedd prif oruchwyliaethau rhagluniaeth cyn ei ddyfodiad gyntaf yn gysgodau o'r digwyddiad hwnnw. Ac fel y bydd adgyfodiad y meirw yn canlyn dyfodiad Crist i'r farn ddiweddaf, felly y mae yn canlyn pob un o'i

dri dyfodiad blaenorol ef, adgyfodiad ysprydol. Yr oedd adgyfodiad ysprydol gogoneddus yn ngalwad y Cenhedloedd, a dychweliad lluaws atto ef trwy bregethiad yr efengyl, o flaen ei ddyfodiad i ddinystrio Jerusalem. Ac yr oedd yn canlyn ei ddyfodiad ef, yn amser Cystenyn, adgyfodiad ysprydol i'r rhan fwyaf o'r byd adnabyddus, trwy ei adferu i sefyllfa eglwysig o gyflwr o Baganiaeth. Felly y bydd yn canlyn dyfodiad Crist i ddinystrio Anghrist, adgyfodiad ysprydol i'r eglwys, wedi iddi fod yn hir fel pe buasai yn farw yn amser Anghrist, yr hyn a elwir yn "adgyfodiad cyntaf," yn *Dat.* 20. 5.

Drachefn, megis ag y bydd Crist yn ei amlygu ei hun yn ngogoniant ei Dad yn y farn ddiweddaf, felly y mae efe y'mhob un o'r tri digwyddiad blaenorol yn ei amlygu ei hun yn ogoneddus yn ei farnedigaethau ar ei elynion, a'i ras a'i ewyllys da i'w eglwys. Ac megis y bydd yn canlyn ymddangosiad diweddaf Crist gasgliad personol ynghyd ar yr etholedigion oddiwrth y pedwar gwynt, felly mae yn canlyn pob un o'i ymddangosiadau blaenorol gasgliad ysprydol i mewn i'r eglwys. Ac megis y bydd casgliad yr etholedigion ynghyd yn y farn ddiweddaf gyda mawr sain udgorn, *Mat.* 24. 31. felly y mae pob un o ymweliadau blaenorol Crist gyda sain udgorn yr efengyl, gan weinidogion y gair; ac fel y bydd yn blaenori ymddangosiad diweddaf Crist, amser o ddirywiad mawr, ac annuwioldeb, felly y bu, neu y bydd, ym mhob un o'i ymddangosiadau eraill ef. Yn flaenorol i bob un o honynt, y mae mawr wrthwynebiadau i'r eglwys. Yn flaenorol i'r cyntaf, yr oedd gwrthwynebiad grymmus gan yr Iuddewon; i'r ail, gan y Paganiaid; i'r trydydd, gan Anghrist; ac yn flaenorol i'r diweddaf y bydd gwrthwynebrwydd mawr gan Gog a Magog, fel y darlunir yn y Datguddiad.

Y mae Duw, trwy bob un o ddyfodiadau Crist, yn y dull hwn, yn gweithredu gwaredigaethau gogoneddus i'w eglwys; y mae dyrchafiad gogoneddus i'w sefyllfa hi yn canlyn pob un o honynt. Yn canlyn y cyntaf, yr hwn a ddibennodd yn ninystr Jerusalem, yr oedd yr eglwys yn cael ei dwyn i sefyllfa ogoneddus dan yr efengyl; a'r ail yn amser Cystenyn, pan y cafodd hi ddyrchafiad i sefyllfa o ryddid oddiwrth erlidigaeth, a'i chefnogi gan yr awdurdodau gwladol, ynghyd â goruchafiaeth ar ei herlidwyr Paganaidd. Yn canlyn y trydydd, yr hwn a fydd yn ngwymp Anghrist, y bydd yr eglwys yn cael dyrchafiad gogoneddus, trwy lwyddiant y gwirionedd, a mwynhad o heddwch a llawenydd, fel yr ydym yn darllen mor fynych yn y

rhannau prophwydoliaethol o'r Ysgrythyrau. A chyd â'r diweddaf, fe fydd yr eglwys yn cael dyrchafiad i ogoniant perffaith yn y nefoedd. Y mae dinystr arswydus i'r annuwiolion, a gelynion yr eglwys, yn canlyn pob un o'r ymweliadau hyn: yn canlyn y cyntaf, yr oedd dinystr aethus ar yr Iuddewon anghrediniol ac erlidgar; a chyd â'r ail, yr oedd barnedigaethau arswydus yn disgyn ar y Paganiaid; a chyd â'r trydydd y bydd dinystr ofnadwy ar Anghrist, y gelyn chwerwaf a chreulonaf a gyfarfu yr eglwys âg ef erioed; a chyd â'r pedwerydd y bydd dialedd dwyfol yn disgyn ar yr holl annuwiolion. Ym mhellach, y mae pob un o'r ymddangosiadau hyn i Grist yn rhoi terfyn ar yr hen nefoedd a'r hen ddaear; neu yn derfyn ar sefyllfa dymhorol pethau, ac yn ddechreuad i sefyllfa dragywyddol.

(3.) Nid ydyw pob un o'r goruchwyliaethau mawrion hyn, ag sydd yn arddangos dyfodiad Crist yn ei deyrnas, ond cynnifer o wahanol gamrau i gyflawni yr un digwyddiad. Nid codi i fynu y maent lawer o wahanol deyrnasoedd iddo ef, ond yn unig amryw raddau o gyflawniad i'r un digwyddiad. *Dan.* 7. 13, 14. "Mi a welwn mewn gweledigaethau nos, ac wele, megis Mab y dyn oedd yn dyfod gyd â chymmylau y nefoedd; ac at yr Hen ddihenydd y daeth, a hwy a'i dygasant ger ei fron ef. Ac efe a roddes iddo lywodraeth, a gogoniant, a brenhiniaeth, fel y byddai i'r holl bobloedd, cenhedloedd, a ieithoedd ei wasanaethu ef: ei lywodraeth sydd lywodraeth dragywyddol, yr hon nid â ymaith, a'i frenhiniaeth ni ddifethir." Hyn yw y peth yr oedd yr Iuddewon yn ei ddisgwyl, ac yn ei alw, "dyfodiad teyrnas nefoedd;" a'r hyn yr oedd Ioan Fedyddiwr a Christ yn cyfeirio atto pan y dywedent, "Nesâodd teyrnas nefoedd."

(4.) Megis ag y mae teyrnas Crist yn cael ei chodi a'i dwyn ym mlaen trwy amrywiol gamrau, felly y mae y digwyddiad a gyflawnir ym mhob un o honynt yn bellach gradd o ddyrchafiad iddi na'r rhai blaenorol. Yn amser Cystenyn yr oedd cyflawniad mwy a phellach ar deyrnas Crist na'r rhai a wnawd yn ninystr Jerusalem. Yr hyn a wneir yn nghwymp Anghrist a fydd yn gyflawniad pellach ar yr un peth, ac felly mewn perthynas i bob un o'r ymweliadau hyn, hyd onid ydyw teyrnas Crist yn llwyddo, ac yn cynnyddu yn raddol trwy y gwahanol gamrau mawrion hyn sydd yn perthyn i'w dygiad ym mlaen a'i chyflawniad, o'i adgyfodiad ef hyd ddiwedd y byd. Ac oblegid nad ydyw y pedwar digwyddiad mawr hynny ond darlun y naill o'r llall, a'r tri blaenorol ond cysgod o'r diweddaf, ac felly nid

ydynt ond yn unig amrywiol gamrau i gyflawni yr un peth; hyd onid ydym yn gweled eu bod oll yn cael prophwydo am danynt, o amser i amser, fel un peth; megis ym mhrophwydoliaethau Daniel, ac yn *Mat.* xxiv. ym mha le yr ymddengys, fod rhyw bethau yn fwy perthynol i'r naill, a phethau eraill i'r lleill o honynt.

(5.) Gellir sylwi, fod rhagluniaethau Duw, rhwng pob un o'r digwyddiadau mawrion hyn, yn gwneud ffordd i ymddangosiad gogoniant Crist a'i deyrnas yn y digwyddiad a fyddai yn canlyn. Fe ymddengys fod y goruchwyliaethau rhagluniaethol hynny tu ag at eglwys Dduw a'r byd, cyn dinystr yr ymerodraeth Baganaidd, yn amser Cystenyn, oll yn gwneud ffordd i amlygu gogoniant Crist, ac i ddwyn ym mlaen ddedwyddwch yr eglwys trwy y digwyddiad hwnnw. Ac felly mae rhagluniaethau grasol Duw, er y pryd hynny, a hyd ddinystr Anghrist, a dechreuad yr amser gogoneddus a wawria ar yr eglwys yn y canlyniad, oll yn ymddangos fel i barottoi y ffordd i fwy o ogoniant Crist a'i eglwys ddyfod i'r amlwg trwy y digwyddiad; ac fe fydd rhagluniaethau Duw, o'r pryd hynny hyd ddiwedd y byd, yn parottoi y ffordd i amlygiadau mwy o'i ogoniant ef yn y farn ddiweddaf, a diddymiad pob peth.

Yr wyf yn tybied yn angenrheidiol i sylwi yn gyffredinol ar y pethau hynny mewn perthynas i restr o ragluniaethau Duw yn yr yspaid diweddaf hwn o amser, cyn sylwi yn neilltuol ar y rhagluniaethau hynny, trwy ba rai y dygir ym mlaen waith y prynedigaeth yn yr amser hwn, a chyn yr elwyf ym mlaen, myfi a roddaf atteb byr i un gofyniad, sef, paham, wedi darostyngiad Crist, y mae ei deyrnas ef yn cael ei chodi i fynu mor raddol, a thrwy gymmaint o gamrau, ac amser mor faith yn cael ei dwyn i berffeithiad, pan y gallasai Duw ei gorphen ar unwaith? Er mai rhyfyg a fyddai i ni honni dirnad holl ddibenion Duw yn hyn, etto, yn ddiammheuol, y mae llawer o'i ddoethineb ef yn ymddangos yn hynny, ac yn neilltuol yn y ddau beth hyn.

[1.] Trwy weithredu yn y modd hyn, y mae mwy o ddoethineb Duw yn cael ei amlygu. Pe buasai y gwaith yn cael ei wneud ar unwaith, neu mewn amser hynod o fyr, ni buasai y fath gyfleusderau i'w ddirnad ac i sylwi arno ag sydd trwy ei fod yn cael ei gyflawni yn raddol, ac y mae y naill amlygiad o'i ddoethineb ef yn cael ei osod allan i'n sylw ni ar ol y llall. Y mae efe wedi penderfynu yn ddoeth i gyflawni y diben mawr hwn trwy y fath restr o ddigwyddiadau rhyfeddol, fel y byddo i ogoniant ei

ddoethineb ymddangos yn yr holl ddigwyddiadau hynny, ac y byddai i ogoniant ei berffeithiadau ymddangos, megis yn rhannau, ac yn neilltuol mewn dilynol amlygiadau; canys pe buasai yr holl ogoniant ag sydd yn ymddangos yn yr holl ddigwyddiadau hyn yn cael ei amlygu ar unwaith buasai yn ormod i ni, ac yn fwy nag y gallasem wneud sylw arno, buasai yn dallu ein llygaid, ac yn gorchfygu ein golwg.

[2.] Y mae 'r oruchafiaeth ar Satan yn fwy gogoneddus yn y modd hyn. Gallasai Duw yn hawdd, trwy weithred awdurdodol o'i hollalluogrwydd, ddryllio Satan yn ei lywodraeth ar unwaith; ond trwy roddi iddo amser i ddefnyddio ei holl gyfrwysdra i attal llwyddiant effeithiau yr hyn a wnawd ac a ddioddefwyd gan Grist, nid ydyw yn cael ei orchfygu trwy ruthr unigol, ond y mae yn cael cyfleusderau helaeth i ddefnyddio ei holl allu a'i gyfrwysdra drachefn a thrachefn, i nerthu cymmaint oll ag a all ar ei achos, trwy waith amryw oesoedd. Yn y modd hyn y mae Duw yn ei waradwyddo, ac yn ei ddinystrio ef, ac yn codi i fynu deyrnas Crist amser ar ol amser, er gwaethaf ei holl ddichellion a'i gyfrwysdra ef, ynghyd â'i holl weithredoedd mawrion, ac y mae efe, sef Duw, yn dwyn ym mlaen, ac yn cynnyddu, teyrnas ei Fab o hyd, ac yn ei chodi yn uwch uwch trwy bob cam, hyd oni bydd o'r diwedd wedi ei gosod i fynu yn gyflawn, a Satan wedi ei hollol orchfygu, fel na all ei niweidio yn dragywydd.

Yr wyf yn awr yn dyfod ym mlaen i sylwi ar y digwyddiadau neilltuol hynny, trwy ba rai y mae llwyddiant y prynedigaeth trwy Grist wedi cael, neu i gael, ei gyflawni, o orpheniad ei ddarostyngiad ef hyd ddiwedd y byd.

I. Y pethau hynny trwy ba rai yr addaswyd Crist i'r gorchwyl hwn.

Sylwaf, yn gyntaf, ar y pethau hynny, trwy ba rai yr oedd Crist yn ei alluogi, neu yn ei gymmwyso ei hun, i gyflawni diben y pwrcas a wnaeth, yr hyn sydd yn gynnwysedig mewn dau beth, sef yn ei adgyfodiad a'i esgyniad. Megis ag y sylwasom o'r blaen fod yn angenrheidiol i Grist ymuno â chnawd mewn trefn i'w addasu ei hun i bwrcasu prynedigaeth, felly yr oedd ei adgyfodiad yn angenrheidiol i ddwyn ym mlaen lwyddiant y pwrcas.

1. Ei adgyfodiad. Yr ydoedd yn angenrheidiol i Grist adgyfodi oddiwrth y meirw mewn trefn i gyrhaedd diben ac effaith pwrcasiad y prynedigaeth. Duw y Tad ydoedd wedi rhoddi holl

waith y prynedigaeth i'w Fab, nid yn unig y pwrcasiad o hono, ond hefyd cyfranniad y bendithion a ennillwyd, fel y byddai iddo nid yn unig bwrcasu fel offeiriad, ond hefyd gweithredol gyflawni fel brenhin Sion, fel y mae yn Dduw dyn yn ei berson; canys nid oes gan Dduw ddim i'w wneud mewn ffordd o drugaredd â dyn syrthiedig ond trwy gyfryngwr. Ond mewn trefn i Grist ddwyn ym mlaen waith y prynedigaeth, a chyflawni llwyddiant y pwrcas a wnaeth ei hun, yr oedd yn angenrheidiol iddo fod yn fyw, ac felly adgyfodi oddiwrth y meirw. Gan hynny, Crist, wedi iddo orphen y gwaith trwy angau, ac aros am yspaid o amser dan awdurdod marwolaeth, a adgyfododd oddiwrth y meirw i gyflawni diben y pwrcas, ac fel y byddai iddo ef ei hun ddwyn oddi amgylch yr achos y bu efe farw trosto: canys Duw y Tad a roddodd yr achos hwn iddo ef, fel y byddai iddo, fel Arglwydd pawb oll, lywio pob peth er cyflawni ei fwriadau ei hun. *Rhuf.* 14. 9. "Oblegid er mwyn hyn y bu Crist farw, ac yr adgyfododd, ac y bu fyw drachefn hefyd, fel yr arglwyddiaethai ar y meirw a'r byw hefyd."

Yn ddiammeu, yr oedd adgyfodiad Crist, a'i esgyniad i'r nef, yn rhan o lwyddiant yr hyn a wnaeth ac a ddioddefodd yn ei ddarostyngiad. Er nad oedd efe mewn modd priodol yn pwrcasu rhyddhâd iddo ei hun, etto efe a ennillodd, neu a bwrcasodd, fywyd tragywyddol a gogoniant iddo ei hun, fel dyn a Chyfryngwr, yr hyn sydd yn cael ei roddi iddo fel gwobr am ei ddioddefaint: *Phil.* 2. 8, 9. "Efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angau, ïe, angau y groes. O herwydd paham, Duw a'i tra-dyrchafodd yntau." Ac fe ellir edrych ar hynny fel rhan o lwyddiant y pwrcas a wnaeth efe, os ystyrir nad oedd efe yn adgyfodi fel person neilltuol, ond fel pen cyffredinol ei eglwys etholedig; ac felly, yr oeddynt hwy (sef ei bobl) mewn ystyr yn cyfodi gyd âg ef. Yr oedd Crist yn cael ei gyfiawnhâu yn ei adgyfodiad, a Duw trwy hynny yn ei ryddhâu ef, gan ei fod wedi dioddef digon dros bechodau yr holl etholedigion: *Rhuf.* 4. 25. "Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni." A Duw a'i rhoddodd ef mewn meddiant ar fywyd tragywyddol, fel pen ei eglwys, ac fel gwystl sier y byddai iddi hithau gael yr un peth; canys pan adgyfododd Crist oddiwrth y meirw, yr ydoedd dechreuad bywyd tragywyddol ynddo ef. Ei fywyd ef cyn ei angau ydoedd fywyd marwol, ond y mae ei fywyd wedi ei adgyfodiad yn fywyd tragywyddol: *Rhuf.* 6. 9. "Gan wybod nad yw

Crist, yr hwn a gyfodwyd oddiwrth y meirw, yn marw mwyach; nad arglwyddiaetha marwolaeth arno mwyach." *Dat.* 6. 18. " A'r hwn wyf fyw, ac a fûm farw; ac wele, byw ydwyf yn oes oesoedd, Amen." Ond fe'i rhoddwyd ef mewn meddiant ar fywyd tragywyddol, fel pen y corph: ac efe a gymmerodd feddiant ynddo, nid yn unig mewn mwynhâd iddo ei hun, ond hefyd i'w roddi i bawb a gredant ynddo; felly yr oedd yr holl eglwys, megis pe buasai yn adgyfodi ynddo ef.

Adgyfodiad Crist ydoedd y digwyddiad mwyaf gorfoleddus a fu erioed; oblegid yn ei adgyfodiad yr oedd efe yn gorphwys oddiwrth y gwaith mawr a blin o bwrcasu prynedigaeth, ac yn derbyn tystiolaeth oddiwrth Dduw ei fod wedi gorphen y gwaith a roddwyd iddo. Yr oedd Crist yn llawn o boen a gofid yn ei angau; ond yn ei adgyfodiad ei boen a'i ofid a drowyd yn orfoledd. Yn y digwyddiad mawr hwnnw yr oedd pen yr eglwys yn cymmeryd ei fynedfa i feddiant ar fywyd tragywyddol; a'r holl eglwys megis yn cael ei *hadgenhedlu i obaith bywiol.* 1 *Petr* 1. 3. Tros brydnawn yr oedd wylofain wedi aros, ond yn awr yr oedd boreu gorfoleddus wedi gwawrio, ïe, y boreu mwyaf gorfoleddus a fû erioed. Hwn ydyw dydd teyrnasiad pen yr eglwys, a'r holl eglwys sydd hefyd yn teyrnasu gyd âg ef. Fe lefarir am y dydd hwn, fel un teilwng i'w gadw mewn coffadwriaeth, gyda mwy o orfoledd na'r holl ddyddiau eraill. *Ps.* 118. 24. " Dyma 'r dydd a wnaeth yr Arglwydd; gorfoleddwn a llawenychwn ynddo." O ba herwydd fe'i sefydlwyd i fod yn ddydd o orfoledd ysprydol i'r eglwys hyd ddiwedd y byd, i'w sancteiddio yn wythnosol, ac i fod yn ddydd o orphwysfa sanctaidd a gorfoleddus, fel y byddai i'r eglwys gael cyd-orphwyso ynddo, a chyd-orfoleddu â'i phen. Ac fel y mae y drydedd bennod o Genesis yn rhoi 'r hanes mwyaf galarus o un bennod yn y Bibl; felly, gellir edrych ar y pennodau hynny yn yr efengylwyr, ag sydd yn tystiolaethu am adgyfodiad Crist, yn rhoi yr hanes mwyaf gorfoleddus; canys y maent yn rhoddi hanes am orpheniad pwrcas y prynedigaeth, a dechreuad gogoneddiad pen yr eglwys, yr hyn sydd megis sêl a gwystl o ogoneddiad tragywyddol ei holl aelodau ef.

Y mae i sylwi arno ym mhellach, fod dydd yr efengyl yn dechreu, yn y modd mwyaf priodol, gyd âg adgyfodiad Crist. Yr oedd goruchwyliaeth yr Hen Destament yn aros, hyd oni adgyfododd efe oddiwrth y meirw: ond yn adgyfodiad Crist hi a ddiflannodd; y pryd hyn yr oedd pob peth yn cael ei gyf-

iawni ag oedd yn cael ei osod allan yn ordinhadau cysgodol yr oruchwyliaeth honno. Yma yn y modd mwyaf priodol y dibenodd nos yr Hen Destament, pan gyfododd Crist o'r bedd, gyda gogoniant a gorfoledd, fel priod-fab gorfoleddus ei eglwys, ac fel gorchfygwr gogoneddus i ddarostwng gelynion ei bobl dan eu traed; yr oedd fel yr haul, yr hwn megis pe buasai odditan y ddaear, wedi hir nos dywyll, yn cyfodi, ac yn dyfod allan fel priod-fab, ac yn ymbarottoi fel cawr i redeg gyrfa, ac yn ymddangos fel goleuni gogoneddus i oleuo y byd tywyll. *Ps.* xix. Yn awr y dechreuodd yr oruchwyliaeth ogoneddus honno, yr hon y bu y prophwydi amser mor faith yn rhagfynegi am dani; yn awr y mae Haul Cyfiawnder wedi cyfodi mewn gogoniant, a meddyginiaeth yn ei esgyll; fel y gallo y rhai sydd yn ofni enw yr Arglwydd fyned allan, a chynnyddu fel lloi pasgedig. *Mal.* 4. 2.

2. Esgyniad Crist i'r nef. Wrth ymdrin â hyn, myfi a gymmeraf i mewn ei eisteddiad ef ar ddeheulaw Duw: canys ni's gellir edrych ar esgyniad Crist i'r nef, a'i eisteddiad ar ddeheulaw Duw, fel dau beth gwahanol. Nid oedd ei esgyniad ef yno ddim amgen na'i esgyniad i ddeheulaw Duw; ei fynediad yno oedd i eistedd ar ddeheulaw gogoniant y Tad. Yr oedd hyn yn beth arall trwy ba un yr oedd efe yn cael ei gymmwyso i gyflawni effeithiau y pwrcas: megis un a fyddai yn dyfod i waredu pobl fel eu brenhin, ac mewn trefn i hynny, er ei gymmwyso yn well i'r gorchwyl, rhaid ei osod yn gyntaf ar ei orseddfainge. Fe fynegir i ni, fod Crist wedi ei ddyrchafu i'r diben hwn, sef cyflawni llwyddiant y prynedigaeth. "Hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau." *Act.* 5. 31.

Yr oedd Crist wrth esgyn i'r nef, megis pe buasai yn cael ei goroni mewn modd arbennig a pharchus, trwy yr hyn yr oedd y Tad yn ei osod ar ei orsedd-faingc, ac yn ei urddo â gogoniant ei deyrnas, yr hon a bwrcasodd efe iddo ei hun, ac fel y byddai iddo trwy hynny dderbyn llwyddiant y prynedigaeth, mewn goruchafiaeth ar ei holl elynion. *Ps.* 110. 1. "Eistedd ar fy neheulaw hyd oni osodwyf dy elynion yn faingc i'th draed." Mynediad Crist i'r nefoedd ydoedd mewn trefn i dderbyn llwyddiant y pwrcas a wnaeth, yr un modd ag y byddai yr arch-offeiriad gynt, wedi iddo offrymmu aberth, yn myned i mewn i'r lle sancteiddiolaf, i'r diben i dderbyn bendith, neu gyrhaedd llwyddiant ar yr hyn a aberthasai. *Heb.* 9. 12. Efe

[illegible] i'r nefoedd, i eiriol yno dros ei bobl, ac i ddadleu [illegible] ei achos ar sail yr aberth a roddodd. *Heb.* 7. 25.

2. Fel yr oedd efe yn esgyn i'r nefoedd, felly Duw y Tad mewn modd gweledig a'i gosododd ar yr orsedd-faingc, i fod yn Frenhin yr holl fyd. Efe a osododd yr holl angylion dano ef, ac a [illegible] nefoedd a daear iddo, fel y byddai iddo eu llywodraethu hwy er buddioldeb ei bobl, tros ba rai y bu efe farw. *Eph.* 1. 20, 21, 22. Ac megis yr oedd Crist yn adgyfodi oddiwrth y meirw fel pen ei holl eglwys, felly yr oedd yn esgyn i'r nef fel eu pen a'u rhagredegwr, ac felly yr oedd ei bobl megis pe buasent yn esgyn gyd âg ef, cystal ag yn adgyfodi gyd âg ef: felly y maent wedi eu cyd-gyfodi, a'u gosod i gyd-eistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist. *Eph.* 2. 6.

Yr oedd y dydd yr esgynodd Crist i'r nefoedd yn ddiammheuol yn ddydd gorfoleddus, ac yn ddydd gogoneddus yno: ac fel yr oedd y nefoedd yn derbyn Crist, y Duw-ddyn, i mewn iddi, felly yn ddiammheuol yr ydoedd yn derbyn ychwanegiad mawr yn ei gogoniant â'i dedwyddwch, i'r rhai ag oedd yn ei feddu cyn hynny. Oddi yma y mae bod dwy ran yr eglwys, sef y rhan sydd ar y ddaear, a'r rhan sydd yn y nefoedd, yn llawer mwy gogoneddus wedi darostyngiad Crist nag oedd o'r blaen.—Cymmaint a hyn ar y pethau hynny, trwy ba rai yr oedd Crist yn ei gymmwyso ei hun, er cyrhaeddyd llwyddiant y prynedigaeth.

II. Y goruchwyliaethau rhagluniaethol, trwy ba rai y mae y llwyddiant hwn yn cael ei ddwyn ym mlaen a'i sefydlu.

Myfi a sylwaf ar y rhagluniaethau hynny, trwy ba rai y sefydlwyd moddion y llwyddiant hwn wedi adgyfodiad Crist. A'r rhai hynny ydoedd,

1. Diddymiad yr oruchwyliaeth Iuddewig. Hynny a wnawd yn raddol, ond fe ddechreuodd gyd âg adgyfodiad Crist, ar yr hyn yr oedd ei diddymiad yn sylfaenedig. Hyn oedd y peth cyntaf a wnawd tu ag at ddwyn sefyllfa flaenorol y byd i ddibeniad. Ac yr oedd hyn yn foddion neillduol tu ag at lwyddo effeithiau y prynedigaeth trwy Grist; canys nid oedd yr oruchwyliaeth Iuddewig ddim wedi ei chyfaddasu i fwy nag un genedl; ac ni's gallasent hwy oll ymarfer â hi, a myned i fynu i Jerusalem dair gwaith bob blwyddyn i addoli, fel yr oedd yn ofynol, pan yr oedd cymmaint o honynt yn cyfanneddu yn amryw rannau o'r byd. Gan hynny pan yr oedd Duw yn bwriadu helaethu ei eglwys, fel y darfu iddo wedi adgyfodiad Crist, yr

oedd yn angenrheidiol diddymmu yr oruchwyliaeth honno. Pe buasai yr ordinhadau hynny yn parhâu, buasent yn rhwystr mawr i helaethiad yr eglwys. Ac heblaw bod ei deddf seremonïol hwy yn faich trwm, a neillduolrwydd mawr yn perthyn i'w hordinhadau, yr ydoedd hefyd yn fur o wahaniaeth, ac yn achos gelyniaeth rhwng Iuddewon a Chenhedloedd, ac felly buasai yn cadw y Cenhedloedd rhag cyd-synio â'r wir grefydd. Gan hynny fe dynwyd ymaith y canolfur hwn, er gwneud ffordd mwy helaeth i lwyddiant yr efengyl. *Eph.* 2. 14, 15.

2. Y peth nesaf, o ran trefn amser, ydoedd sefydlu y sabboth Cristionogol. Er fod hyn wedi ei sefydlu yn raddol yn yr eglwys, etto yr oedd y pethau, trwy ba rai y datguddir meddwl Duw a'i ewyllys, yn dechreu gyd âg adgyfodiad Crist, a chyd â'i ymddangosiad ef iddynt y pryd hynny. *Ioan* 20. 19. Fe gadarnhawyd drachefn mai hwn sydd i fod yn sabboth, trwy ei fod ef wedi ei adgyfodiad, yn ymddangos i'w ddisgyblion o bryd i bryd ar y dydd hwn yn hytrach nag unrhyw ddydd arall; *Ioan* 20. 26. a thrwy ei fod wedi anfon yr Yspryd mewn modd rhyfeddol ar y dydd hwn. *Act.* 2. 1. Ac wedi hynny yn cyfarwyddo y Cristionogion i gynnal addoliad cyhoeddus, yn gynnulleidfaol, ar y dydd cyntaf hwn o'r wythnos, fel y gellir casglu oddiwrth *Act.* 20. 7. 1 *Cor.* 16. 1, 2. *Dat.* 1. 10. Y modd hyn y mae y dydd cyntaf o'r wythnos, ar yr hwn yr adgyfododd Crist oddiwrth y meirw, y dydd gorfoleddus hwnnw, wedi ei sefydlu i fod yn ddydd o orfoledd sanctaidd i'r eglwys, hyd ddiwedd y byd, ac yn ddydd i'w haddoliad cyhoeddus gael ei gadw yn sefydlog. Ac y mae hyn wedi bod yn brif foddion nodedig i ddwyn ym mlaen lwyddiant yr efengyl yn y byd.

3. Y peth nesaf oedd sefydlu gweinidogaeth yr efengyl, ac awdurdodi yr apostolion, a'u hanfon allan i ddysgu yr holl genhedloedd, gan eu bedyddio hwy. *Mat.* 28. 19, 20. "Ewch gan hynny a dysgwch yr holl genhedloedd, gan eu bedyddio hwy yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân; gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymynais i chwi. Ac wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd."—Yr oedd tri pheth yn cael eu gwneuthur trwy yr un cyfarwyddyd a'r awdurdod hwn a roddwyd gan Grist i'w apostolion, sef,

(1.) Sefydlu gweinidogaeth yr efengyl. Y mae y gennadwri hon, a roddwyd gan Grist i'w apostolion, yn rhan fwyaf hanfodol o honi, ac yn perthynu i holl weinidogion yr efengyl; a

thrwy rinwedd yr awdurdod yma, yr oedd yr apostolion yn weinidogion neu henuriaid yr eglwys gyffredinol.

(2.) Y mae rhyw beth neilltuol yn y gennadwri hon i'r apostolion, sef gorchymyn i fyned o'r naill genedl i'r llall, i bregethu yr efengyl trwy yr holl fyd. Yr oedd gan yr apostolion ryw beth uwchlaw eu nodweddiad cyffredin fel gweinidogion y gair; yr oedd ganddynt awdurdod anghyffredinol i addysgu a llywodraethu, yr hyn sydd i gyrhaedd yr holl eglwys hyd ddiwedd y byd. Fel hyn yr oedd yr apostolion, mewn modd israddol i Grist, yn sylfeini i'r eglwys Gristionogol. *Eph.* 2. 20. *Dat.* 21. 14.

(3.) Yn y gennadwri hon yr oedd bedydd Cristionogol yn cael ei sefydlu. Yr oedd yr ordinhad hon wedi dechreu o'r blaen: Ioan Fedyddiwr a Christ oeddynt yn bedyddio. Ond yn awr fe'i sefydlwyd trwy y gosodiad neilltuol hwn, fel ordinhad i'w chynnal yn yr eglwys Gristionogol hyd ddiwedd y byd. Yr ordinhad o sacrament swpper yr Arglwydd oedd wedi ei sefydlu ychydig cyn croeshoeliad Crist.

4. Y peth nesaf i sylwi arno, yw cynnysgaeddu yr apostolion, ac eraill, â doniau anghyffredinol a gwyrthiol yr Yspryd Glân; megis y ddawn i lefaru â thafodau, iachâu y cleifion, a phrophwydo. Fe dywalltwyd yr Yspryd yn helaeth yn y modd hyn; hyd onid oedd nid yn unig gweinidogion y gair, ond hefyd rhifedi mawr o Gristionogion trwy y byd, rhai hen, a rhai ieuaingc, wedi eu cynnysgaeddu â'r doniau hynny; nid yn unig swyddogion eglwysig, a'r personau mwyaf anrhydeddus, ond hefyd y rhai iselaf o'r bobl, gweision a morwynion, yn ol y brophwydoliaeth yn Joel. *Pen.* 2. 28, 29. Ar hyn y mae yr apostol Petr yn gwneuthur sylw, ei fod yn cael ei gyflawni yn yr oruchwyliaeth hon. *Act.* 2. 11.

Y fath oruchwyliaeth ryfeddol oedd hon! Ni chafodd ond ychydig bersonau y fath anrhydedd dan yr Hen Destament. Yr oedd Moses yn dymuno i bobl yr Arglwydd oll fod yn brophwydi, *Num.* 11. 27, 28, 29. pan yr oedd Josuah yn ei dybied yn beth mawr fod Eldad a Medad yn prophwydo: ond yn awr yr ydym yn gweled fod dymuniad Moses wedi cael ei gyflawni. Y dawn hwn a barhaodd yn yr eglwys mewn gradd mawr, hyd ddiwedd yr oes apostolaidd, neu y can mlynedd cyntaf ar ol geni Crist, yr hwn yspaid a elwir oes y gwyrthiau.

Yr oedd hyn yn foddion neilltuol tu ag at lwyddo yr efengyl yn yr oes honno, a sefydlu yr eglwys Gristionogol yn holl

barthau y byd; ac nid yn unig ei sefydlu yn yr oes honno, ond hefyd trwy yr holl oesoedd hyd ddiwedd y byd: canys yr oedd Cristionogaeth yn y modd hyn yn cael ei sefydlu mewn cymmaint o rannau o'r byd adnabyddus trwy wyrthiau, ac felly yr oedd yn haws ei chadw mewn traddodiad; a thrwy y doniau gwyrthiol hyn o eiddo yr Yspryd Glân, y galluogwyd yr apostolion, ac eraill, i ysgrifennu y Testament Newydd, i fod yn rheol anffaeledig i'r eglwys, mewn ffydd ac ymarweddiad, hyd ddiwedd y byd. Ym mhellach, y mae y gwyrthiau hyn mewn coffadwriaeth yn yr ysgrifeniadau hynny, fel prawf safadwy o wirionedd y grefydd Gristionogol i'r holl oesoedd.

5. Y peth nesaf y gwnaf sylw arno, yw y datguddiad cyflawnach ac eglurach o'r athrawiaethau gogoneddus hynny yn yr efengyl, pa rai dan yr Hen Destament oedd yn cael eu hamlygu mewn modd mwy aneglur. Yr athrawiaeth am gyfiawnder Crist a'r cymmod a wnaeth, ei esgyniad i'r nef a'i ogoneddiad, a threfn iachawdwriaeth, oedd mewn mesur mawr tan lèn yn y cysgodau, ac mewn datguddiedigaethau mwy aneglur, fel yr oedd Moses yn rhoddi gorchudd ar ei wyneb i guddio y disgleirdeb. Ond yn bresennol y mae llèn y deml wedi ei rhwygo oddi fynu hyd i waered, ac y mae Crist, gwrth-gysgod Moses, yn llewyrchu, a thywyniad ei wyneb heb un llèn. 2 *Cor.* 3. 12, 13, 18. Yn awr y mae y dirgeledigaethau gogoneddus hyn yn cael eu datguddio yn eglur, pa rai oedd mewn mesur mawr yn cael eu cadw yn guddiedig er dechreuad y byd. *Eph.* 3. 3, 4, 5. *Rhuf.* 16. 25. "Yn ol datguddiad y dirgelwch, yr hwn ni soniwyd am dano er dechreuad y byd, ac yr awrhon a eglurwyd; sef y dirgelwch oedd guddiedig er's oesoedd a chenhedlaethau, ond yr awrhon a eglurwyd i'w saint ef." *Col.* 1. 26.

Fel hyn y mae Haul Cyfiawnder, wedi cyfodi megis odditan y ddaear, yn dechreu llewyrchu yn fwy eglur, ac nid trwy adlewyrchiadau aneglur fel o'r blaen. Yr oedd Crist, cyn ei farwolaeth, wedi datguddio llawer o bethau yn fwy eglur nag y datguddiwyd hwy dan yr Hen Destament; ond nid oedd dirgeledigaethau mawrion y prynedigaeth, y cymmod trwy farwolaeth Crist, cyfiawnhad trwy ei gyfiawnder ef, wedi eu datguddio mor eglur cyn ei adgyfodiad. Y rheswm y mae efe yn ei roi am hynny ydyw, nad oedd efe yn rhoi gwin newydd mewn hen gostrelau; ond wedi ei adgyfodiad, fe'i gwnawd yn raddol. Y mae pob tebygolrwydd fod Crist, wedi ei adgyfodiad, a chyn ei esgyniad, yn addysgu ei ddisgyblion yn bersonol, mewn modd

llawer mwy eglur nag o'r blaen; fel yr ydym yn darllen, ei fod ef wedi aros gyda hwy ddeugain niwrnod, gan lefaru wrthynt y pethau a berthynant i deyrnas Dduw, *Act.* 1. 3. a'i fod ef wedi "agor eu deall hwy, fel y deallont yr ysgrythyrau." *Luc* 24. 45. Ond y datguddiad eglur o'r pethau hyn a roddwyd, yn bennaf, trwy y tywalltiad o'r Yspryd ar ddydd y Pentecost, yn ol addewid Crist. *Ioan* 16. 12, 13. "Y mae gennyf etto lawer o bethau i'w dywedyd i chwi, ond ni ellwch eu dwyn yr awrhon. Ond pan ddêl efe, sef Yspryd y gwirionedd, efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd." Y mae y datguddiad eglur hwn o ddirgeledigaethau yr efengyl wedi ei draddodi i ni yn fyrr trwy yr apostol Paul; ac fe all plentyn, trwy ei ysgrifeniadau ef, wybod mwy o athrawiaeth yr efengyl nag a wyddai y prophwyd mwyaf yn amseroedd yr Hen Destament.—Fel hyn y gwelir fod goleuni yr efengyl, yr hwn a ddechreuodd dywynnu yn ddioed ar ol y cwymp, ac a gynnyddodd yn raddol trwy holl oesoedd yr Hen Destament, wedi dyfod yn awr yn oleu dydd perffaith, a disgleirdeb Haul Cyfiawnder yn llewyrchu yn ei ogoniant yn ddilèn.

6. Y peth nesaf y sylwaf arno ydyw, yr hanes a geir yn *Act.* vii. am sefydliad swydd diaconiaid yn yr eglwys Gristionogol, pa rai oedd i ofalu am gynnorthwyo aelodau allanol yr eglwys, ac i ymarfer â'r rhinwedd Cristionogol hwnnw, sef elusengarwch.*

7. Galwad yr apostol Paul, ynghyd â'r cymmwyso fu arno i waith y weinidogaeth. Hyn a wnawd gyd â'i droedigaeth, pan yr oedd efe ar y ffordd yn myned i Damascus; ac yr ydoedd yn un o'r pethau mwyaf tu ag at lwyddiant canlynol gwaith y prynedigaeth: canys fe fu mwy o lwyddiant trwy lafur, pregethau, ac ysgrifeniadau yr apostol hwn, na thrwy lafur y lleill oll ynghyd. Canys y mae efe yn dywedyd ei fod wedi "llafurio yn helaethach na hwynt oll," 1 *Cor.* 15. 10. ac felly, yn ddiammeu, yr oedd ei lwyddiant yn helaethach na'u llwyddiant hwy oll. Ac fel yr oedd efe yn Apostol y Cenhedloedd, felly, yn bennaf, trwy ei weinidogaeth ef y galwyd hwy, ac y lledaenwyd

---

* Ni's gellir casglu, oddiwrth yr Ysgrythyr, fod y swydd hon i barhau yn sefydlog yn yr eglwys, ond yn unig mewn amgylchiad cyffelyb ag yr oedd hi ynddo yr oes apostolaidd, sef dan erlidigaeth, ac mewn angenrheidrwydd am ymgeledd i bregethwyr teithiol. Oddiwrth y sefydliad hwn y mae'r Pabyddion yn honni cyfreithlondeb eu gwyryf-dai.

yr efengyl trwy y byd. A thrwy ei lafur ef, yn bennaf, y cafodd cenhedloedd Ewrop yr efengyl yn eu mysg; ac yr oedd efe yn cael ei gynnorthwyo yn fwy gan yr Yspryd Glân na'r holl apostolion eraill i ddatguddio athrawiaethau gogoneddus yr efengyl yn ei ysgrifeniadau, er defnydd i'r eglwys hyd ddiwedd y byd.

8. Y peth nesaf y sylwaf arno ydyw, sefydlu cynghorau eglwysig, er penderfynu ymrafaelion, a chyfarwyddo yn achosion eglwys Crist, yr hyn y mae gennym hanes am dano yn *Act.* xv.

9. Y peth diweddaf y sylwaf arno dan y pen hwn, ydyw traddodi y Testament Newydd i ysgrifen: yr hwn a ysgrifenwyd oll wedi adgyfodiad Crist, gan naill ai yr Apostolion ai yr Efengylwyr Marc a Luc, pa rai oeddynt gyfeillion yr Apostolion. Fe dybir i efengyl Marc gael ei hysgrifennu gan y Marc hwnnw, enw mam yr hwn ydoedd Mair, yn nhŷ yr hon yr oeddynt yn gweddïo dros Petr pan y dygwyd ef o'r carchar gan yr angel, ac y daeth i guro y drws. *Act.* 12. 12. " Ac wedi iddo gymmeryd pwyll, efe a ddaeth i dŷ Mair mam Ioan, yr hwn oedd a'i gyfenw Marc, lle yr oedd llawer wedi ymgasglu, ac yn gweddïo." Yr ydoedd efe yn gydymaith i Barnabas a Saul. *Act.* 15. 37. " A Barnabas a gynghorodd gymmeryd gyda hwynt Ioan, yr hwn a gyfenwid Marc." Mab ydoedd efe i chwaer Barnabas; ac fe ymddengys ei fod, ar rai amserau, yn gydymaith i Paul. *Col.* 4. 10. " Y mae Aristarchus, fy nghyd-garcharor yn eich annerch; a Marc, nai Barnabas fab ei chwaer (am yr hwn y derbyniasoch orchymynion: os daw efe attoch, derbyniwch ef.)" Fe ymddengys ei fod mewn cyfrif mawr gan yr apostolion, fel y gwelir oddiwrth y lleoedd a grybwyllwyd, ac hefyd, *Act.* 12. 25. " A Barnabas a Saul, wedi cyflawni eu gweinidogaeth, a ddychwelasant o Jerusalem, gan gymmeryd gyda hwynt Ioan hefyd, yr hwn a gyfenwid Marc." Hefyd, *Act.* 13. 5. " A phan oeddynt yn Salamis, hwy a bregethasant air Duw yn synagogau yr Iuddewon: ac yr oedd hefyd ganddynt Ioan yn weinidog." Drachefn, 2 *Tim.* 4. 11. " Luc yn unig sydd gyda mi. Cymmer Marc, a dwg gyda thi: canys buddiol yw efe i mi i'r weinidogaeth."

Luc, yr hwn a ysgrifenodd yr efengyl a elwir ar ei enw, a llyfr yr Actau, ydoedd gydymaith i Paul. Fe lefarir am dano, yn y lle diweddaf a grybwyllwyd, fel un ag oedd gyda Paul, ac y mae yn llefaru am dano ei hun, yn llyfr yr Actau, fel un yn cyd-ymdaith â'r Apostol yn ei deithiau; ac o herwydd hynny y mae yn

llefaru yn y person cyntaf ac yn y rhif luosog, "Nyni" a aethom i'r lle a'r lle. Yr oedd efe yn un hynod o anwyl gan Paul; efe ydoedd y "Physygwr anwyl" y sonir am dano yn *Col.* 4. 14. Ac y mae yr apostol yn nodi Marc a Luc ym mysg ei gydweithwyr, *Philem.* 24. "Marcus, Aristarchus, Demas, Lucas, fy nghyd-weithwyr."

Holl lyfrau eraill y Testament Newydd a ysgrifenwyd gan yr apostolion eu hunain; ac y maent naill ai yn hanesiol, athrawiaethol, ai prophwydoliaethol. Y llyfrau hanesiol ydynt ysgrifeniadau y pedwar efengylwr, ac y maent yn rhoddi i ni yr hanes am Grist, a'r prynedigaeth a ennillodd efe, gyd â'i adgyfodiad a'i esgyniad: ac y mae Actau yr Apostolion yn rhoddi hanes am y pethau mawrion hynny, trwy ba rai y sefydlwyd ac y lliosogwyd yr eglwys Gristionogol. Y llyfrau athrawiaethol ydynt yr epistolau, y rhai hynny, gan mwyaf, ag sydd gennym oddiwrth yr apostol mawr, sef Paul. Ac y mae gennym un llyfr prophwydoliaethol am bethau i gymmeryd lle wedi diweddu yr holl hanes a geir yn yr holl Fibl, ac yn rhoi golygiad ar y digwyddiadau mawrion hynny, trwy ba rai y dygir ym mlaen waith y prynedigaeth hyd ddiwedd y byd.

Fe dybir i'r holl lyfrau hyn gael eu hysgrifennu cyn dinystr Jerusalem oddieithr rhai Ioan, yr hwn a fu byw yn hŵy na'r holl apostolion, ac a ysgrifenodd ei lyfrau, fel y tybir, wedi dinystr Jerusalem. I'r disgybl anwyl hwn y rhoddodd Crist ddatguddiad o'r pethau rhyfedd hynny ag oedd i gael eu dwyn oddi amgylch yn yr eglwys hyd ddiwedd amser, ac efe a roddodd y llaw ddiweddaf wrth ganon yr ysgrythyr, ac a seliodd y cyfan i fynu. Felly yn awr y mae y rheol fawr ysgrifenedig yn safadwy, yr hon a gafodd ei dechreuad yn amser Moses, ac a gyflawnwyd ac a sefydlwyd gan Ioan; ac y mae melldith wedi ei chyhoeddi yn erbyn y neb a ychwanego atti, neu a dynno oddi wrthi. Holl foddion sefydlog gras a orphenwyd yn yr oes apostolaidd, ac y mae i aros yn ddigyfnewid hyd ddydd y farn.—Sylwasom cyn belled a hyn ar y pethau hynny, trwy ba rai y rhoddwyd ac y sefydlwyd moddion gras yn yr eglwys Gristionogol.

III. Llwyddiant y prynedigaeth trwy Grist yn yspaid yr amser ag y mae yr eglwys i fod mewn sefyllfa ddioddefus.

Yr ydym yn awr yn dyfod i ystyried llwyddiant y prynedigaeth trwy Grist o'i adgyfodiad ef hyd gwymp anghrist, yr yspaid ag y mae yr eglwys yn goddef erlidigaeth. Y mae yr eglwys, y rhan fwyaf o'r yspaid hwn, mewn amgylchiad ag y mae

yn rhaid iddi ddioddef llawer, canys felly yr arddangosir yn yr ysgrythyr. Y mae yn wir fod yn rhyngu bodd i Dduw, o'i gariad a'i dosturi at ei etholedigion, roddi amryw seibiant oddiwrth erlidigaeth yn yr yspaid hwn o amser, trwy yr hyn y mae dyddiau blinder megis yn cael eu byrhau. Ond y mae o adgyfodiad Crist hyd gwymp aughrist yn amser appwyntiedig i Sion fod mewn trallodau; canys yr oedd yr eglwys, y rhan fwyaf o'r tri chan mlynedd cyntaf ar ol Crist, mewn amgylchiad ag yr oedd yn gorfod iddi ddioddef cystuddiau mawrion, dan waradwyddiadau, ac erlidigaethau; yn gyntaf oddiwrth yr Iuddewon, ac wedi hynny oddiwrth y Paganiaid. Wedi hyn, fe gafodd yr eglwys orphwysfa a llwyddiant am amser byr, yr hyn a ddechreuodd yn nyddiau Cystenyn, ac a arddangosir trwy fod yr angel yn dal y pedwar gwynt. *Dat.* 7. 1. Ond yn fuan wedi hynny bu yr eglwys dan erlidigaeth drachefn oddiwrth yr Ariaid; wedi hynny fe gyfododd anghrist, a'r eglwys a yrrwyd ymaith i'r anialwch, ac a gadwyd i lawr yn anamlwg dan waradwydd a dioddefiadau am yspaid maith o amser cyn y Diwygiad trwy Luther, ac eraill. Ac wedi y Diwygiad Protestanaidd, hi a fu dan fwy o erlidigaethau, ar ryw gyfrifon, na'r holl rai y buasai hi danynt erioed o'r blaen. Ac er fod rhyw rannau o eglwys Dduw yn cael gorphwysfa oddiwrth erlidiau yn bresennol, etto, hyd y dydd hwn, y mae hi yn cael ei chadw danodd gan ei gelynion; ac ni's gellir disgwyl iddi fod ond felly, hyd oni chwympir Anghrist. A'r pryd hynny fe ddaw dydd appwyntiedig llwyddiant yr eglwys ar y ddaear; amser gosodedig Duw i ddangos ei ewyllys da i Sion; yr amser pryd na bydd y saint yn cael eu cadw danodd gan annuwiolion, fel y maent hyd yn hyn: ond hwy a fyddant y rhai uchaf, ac a deyrnasant ar y ddaear; "canys y frenhiniaeth a roddir i saint y Goruchaf." *Dan.* 7. 27.

Tra y mae 'r eglwys yn y cyflwr dioddefol hwn, y mae yn cael ei harddangos yn yr ysgrythyr, megis mewn gwewyr i esgor ar y gogoniant a'r llwyddiant a fydd iddi ar ol cwymp anghrist. *Dat.* 12. 1, 2. Ac y mae yr amser hwn yn faith, er y llefarir am dano fel yspaid byrr, mewn cydmariaeth a'r llwyddiant tragywyddol a fydd hi yn ei fwynhau. O herwydd hynny y dywedir fod yr eglwys, dan faith gystuddiau, yn llefain, "Pa hyd, Arglwydd, sanctaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu, ac yn dial ein gwaed ni ar y rhai sydd yn trigo ar y ddaear?" *Dat.* 6. 10. Ac fe ddywedir fod "gynau gwynion wedi cael eu rhoddi i bob

un o honynt; a dywedwyd wrthynt, a'r iddynt orphwys etto ychydig amser, hyd oni chyflawnid rhif eu cyd-weision, a'u brodyr, y rhai oedd i gael eu lladd, megis ag y cawsent hwythau." Felly y mae Daniel hefyd yn gofyn, "Pa hŷd fydd hyd ddiwedd y rhyfeddodau hyn?"

Y mae i sylwi arno, mai prif offeryn dioddefiadau yr eglwys, yn yr yspaid hwn, oedd y llywodraeth Rufeinig. Gan hynny gelwir Rhufain yn y Testament Newydd, *Dat.* 17. 5. yn Babilon, oblegid fod trallodau Jerusalem gynt oddiwrth y ddinas wrthwynebus honno, felly y mae trallodau yr eglwys Gristionogol, y Jerusalem ysprydol, yn bennaf o Rufain. Cyn amser Cystenyn yr oedd trallodau yr eglwys Gristionogol oddiwrth Rufain Baganaidd; ac wedi hynny y mae ei thrallodau hi oddiwrth Rufain anghristaidd. Ac fel yr oedd caethiwed yr Iuddewon gynt yn darfod gyda dinystr Babilon, felly fe dderfydd trallodau yr Eglwys Gristionogol gyda dinystr Eglwys Rufain, y Babilon ysprydol.

Wrth sylwi ar lwyddiant y prynedigaeth trwy Grist, yn yspaid amser trallod yr eglwys, myfi a ddangosaf,—(1.) Y modd y dygwyd y gwaith ym mlaen hyd ddinystr Jerusalem.—(2.) Oddi yno hyd ddadymchweliad yr Ymerodraeth Baganaidd.—(3.) O'r amser hwnnw hyd gwymp anghrist, gyd â'r hyn y bydd trallodau a llafur yr eglwys yn dibennu.

1. Dangosaf y modd yr oedd llwyddiant y prynedigaeth trwy Grist yn cael ei ddwyn ym mlaen o'i adgyfodiad ef hyd ddinystr Jerusalem. Wrth lefaru am hwn, myfi a sylwaf ar y llwyddiant ei hun—y gwrthwynebrwydd a gafodd gelynion y gwaith hwn, a'r barnedigaethau dychrynllyd a ddisgynodd oddiwrth Dduw arnynt.

(1.) Sylwn ar y llwyddiant ei hun. Yn fuan wedi i Grist orphen pryniad y pwrcas, a myned i mewn yn ei waed ei hun i'r lle sancteiddiolaf, fe ddaeth llwyddiant gogoneddus ar yr hyn a wnaeth ac a ddioddefodd efe. Wedi iddo gloddio dan sylfaen teyrnas Satan, hi a ddechreuodd gwympo yn brysur: ïe, cyflym y prysurodd hi i'w dinystr; a da y gellid dywedyd yn awr, fod Satan wedi syrthio fel mellten o'r nefoedd. Yr oedd efe cyn hyn wedi dyrchafu ei orsedd-faingc yn hynod o uchel, ïe, hyd ser y nef, ac yn teyrnasu mewn gogoniant mawr yn Ymerodraeth Baganaidd Rhufain; ond ni chafodd erioed o'r blaen y fath gwymp ag a gafodd yn fuan wedi esgyniad Grist i'r nef. Gellir tybied ei fod yn ddiweddar iawn yn gorfoleddu, o her-

wydd iddo allu dwyn Crist i angau, fel pe buasai wedi cael yr oruchafiaeth fwyaf erioed; ac fe allai ei fod yn dychymmygu ei fod trwy hynny wedi cael y dydd ar ddiben Duw. Ond yn fuan efe a gafodd wybod nad oedd efe (wrth ddwyn Crist i farwolaeth) ond yn unig yn dinystrio ei deyrnas ei hun, fel y gwelodd hi yn syrthio mor fuan wedi hynny. Wedi i Grist esgyn i'r uchelder, efe a dderbyniodd yr Yspryd Glân, ac a'i tywalltodd yn helaeth, fel y dychwelwyd miloedd o fyrddiynau o eneidiau.

Ni bu yn y byd erioed o'r blaen y fath gynnydd ar deyrnas Crist. Y mae yn debygol fod mwy o eneidiau wedi eu dychwelyd yn yr oes apostolaidd, nag a ddychwelwyd o ddechreuad y byd hyd hynny. Mor fuan y cyflawnodd Duw yn ogoneddus yn y modd hyn yr addewid a addawsai efe i'w Fab, "Efe a wel ei had, efe a estyn ei ddyddiau; ac ewyllys yr Arglwydd a lwydda yn ei law ef." *Esa.* 53. 10.

[1.] Y mae i sylwi arno yma y llwyddiant a fu ar yr efengyl ym mysg yr Iuddewon; canys fe ddechreuodd Duw yn gyntaf gyda hwy. Gan ei fod ef ar fwrw ymaith y rhan fwyaf o gorph y bobl, efe a alwodd ei etholedigion o'u mysg hwy. Felly yr oedd pan y byddai y genedl hon dan farnedigaethau mawrion ac arswydus oddiwrth Dduw mewn amserau o'r blaen, y nifer mwyaf o honynt a fyddai yn cael eu dinystrio, a'r gweddill yn unig a achubid, neu a ddiwygid. Yn y gwrthodiad a fu ar y deg llwyth, y nifer mwyaf o honynt a fwriwyd ymaith, pan ymadawsant âg addoliad y gwir Dduw yn amser Jeroboam, ac wedi hynny yn fwy cyflawn yn amser Ahab: ond etto yr oedd gan Dduw weddill o honynt yn gadwedig. Llawer a adawsant eu meddiannau yn y llwythau hynny, ac a sefydlasant ym mysg Judah a Benjamin. Ac wedi hynny yr oedd yn Israel saith mil, y rai ni phlygasant eu gliniau i Baal. Ac hefyd ni ddychwelodd yn unig ond gweddill o honynt o'r caethiwed yn Babilon. Felly yn awr y rhan fwyaf o lawer o'r bobl oedd yn cael eu hollol fwrw ymaith, ac ychydig nifer yn cael eu hachub: Gan hynny y mae yr Yspryd Glân yn cydmaru y nifer hynny, a achubwyd trwy bregethau 'r apostolion, i'r gweddill hynny a fyddai yn cael eu hachub amserau o'r blaen. *Rhuf.* 9. 27. "Hefyd y mae Esaias yn llefain, am yr Israel, Cyd byddai nifer meibion Israel fel tywod y môr, gweddill a achubir." *Esa.* 10. 22.

Y llwyddiant gogoneddus a fu ar yr efengyl ym mysg yr

Iuddewon wedi esgyniad Crist, a ddechreuwyd trwy dywalltiad yr Yspryd ar ddydd y Pentecost. Mor rhyfeddol oedd y tywalltiad hwn o'r Yspryd, ac mor nodedig a chyflym oedd ei effeithiau, fel yr ydym yn darllen fod tair mil wedi eu dychwelyd at y ffydd Gristionogol mewn un dydd, ac y mae yn debygol fod y rhan fwyaf o honynt wedi eu dychwelyd yn gadwedigol. *Act.* 2. 47. "A'r Arglwydd a chwanegodd beunydd at yr eglwys y rhai a fyddent gadwedig." Yn fuan wedi hyn, fe ddywedir i ni fod y nifer wedi cynnyddu i ynghylch pum mil o wyr. Nid yn unig yr oedd lluaws yn cael eu dychwelyd y pryd hynny, ond hefyd yr oedd yr eglwys yn enwog mewn duwioldeb, fel yr ymddengys oddiwrth *Act.* 2. 46, 47. a 4. 32.

Yr eglwys Gristionogol a ffurfiwyd fel hyn ar y cyntaf yn nghenedl Israel; gan hynny, pan alwyd y Cenhedloedd, yr oeddynt megis pe buasent yn cael eu cyssylltu âg Israel, eu huno âg hâd Abraham. Yr oeddynt hwy yn cael eu huno âg eglwys Gristionogol Israel, yr un modd ag y byddai y proselytiaid gynt yn cael eu huno â'r eglwys Foesenaidd; ac felly yr oeddynt yn cael eu himpio yn nghyff Abraham, ac nid mewn pren gwahanedig. Felly y maent o hyd yn hâd Abraham ac Israel, yr un modd ag oedd Ruth y Moabees, ac Urias yr Hethiad, a phroselytiaid eraill gynt, yn cael eu cyfrif yn hâd Israel, ac yn un bobl a hwy.

Yr eglwys Gristionogol a gafodd ei dechreuad cyntaf yn Jerusalem, a'i lledaenu oddi yno i fysg yr holl genhedloedd; felly yr oedd yr eglwys honno yn Jerusalem fel pe buasai yn fam i'r holl eglwysi eraill trwy y byd, yn ol y brophwydoliaeth yn *Esa.* 2. 3, 4. "Canys y gyfraith a â allan o Sion, a gair yr Arglwydd o Jerusalem. Ac efe a farna rhwng y cenhedloedd, ac a gerydda bobloedd lawer." Felly y mae yr holl eglwys o hyd yn Jerusalem ysprydol i Dduw.

Wedi hyn yr ydym yn darllen fod llawer o filoedd o Iuddewon yn credu, yn Jerusalem, *Act.* 21. 20. ac mewn dinasoedd eraill yn Judea, ynghyd âg amryw fannau o'r byd. Canys i ba le bynnag y byddai yr apostolion yn myned, os caent Iuddewon yn y mannau hynny, eu harfer ydoedd, yn gyntaf, myned i mewn i'w synagogau hwy, a phregethu yr efengyl iddynt, a llawer o honynt yn y naill ddinas a'r llall a gredasant, megis yn Damascus, Antiochia, &c.

Gyd â'r tywalltiad hwn o'r Yspryd y dechreuodd yr oruchwyliaeth fawr honno gyntaf, a elwir dyfodiad Crist yn ei deyrnas.

Dyfodiad Crist yn ysprydol yn y modd hyn i osod i fynu ei deyrnas ogoneddus yn y byd, a arddangosir megis pe buasai yn dyfod i lawr o'r nefoedd, i'r lle yr esgynasai o'r blaen. *Ioan* 14. 18. "Ni's gadawaf chwi yn amddifad: mi a ddeuaf attoch chwi." Llefaru yr oedd efe am ei ddyfodiad trwy y Diddanydd, sef Ysprryd y gwirionedd. Ac yn *adn.* 28. "Clywsoch fel y dywedais wrthych, Yr wyf yn myned ymaith, ac mi a ddeuaf attoch." Felly, gwelodd yr apostolion deyrnas Dduw yn dechreu dyfod mewn nerth, fel yr addawsai efe. *Marc* 9. 1.

[2.] Wedi i'r efengyl ddechreu llwyddo mor ogoneddus ym mysg yr Iuddewon, Yspryd Duw a dywalltwyd mewn modd rhyfedd yn ganlynol ar y Samariaid, pa rai nad oeddynt yn Iuddewon o genedl, ond hiliogaeth y rhai hynny a symmudwyd gan frenhin Assyria o amrywiol rannau ei lywodraeth, ag a sefydlwyd yn y tir lle yr oedd y deg llwyth, y rhai a gaethgludasai efe, yn trigfannu ynddo. Etto yr oeddynt wedi derbyn pum llyfr Moses, ac yn ymarfer â'r rhan fwyaf o seremonïau y ddeddf, ac felly yr oeddynt yn fath o Iuddewon cymmysg. Nid ydym yn canfod yn y Testament Newydd eu bod yn cael eu cyfrif fel Cenhedloedd: canys fe sonir am alwad y Cenhedloedd fel peth newydd wedi hyn, yr hyn a ddechreuodd gyda dychweliad Cornelius. Ond yr oedd hyn yn siampl o wneuthur y rhai hynny yn bobl, pa rai nad oeddynt bobl: canys yr oeddynt wedi ymlygru oddiwrth y grefydd orchymynedig trwy Moses, ac nid oeddynt yn myned i fynu i Jerusalem i addoli, ond yr oedd ganddynt deml eu hunain ar fynydd Garizim. Hwn ydyw y mynydd yr oedd y wraig o Samaria yn sôn am dano, pan yr ydoedd yn ymddiddan â Christ, ac y dywedodd, "Ein tadau ni a addolasant yn y mynydd hwn." *Ioan* 4. 20. Nid ydyw Crist yn cymmeradwyo eu hymddidoliad oddiwrth yr Iuddewon, ond efe a ddywedodd wrth y wraig, eu bod hwy yn addoli y peth ni wyddent; ac mai o'r Iuddewon yr oedd iachawdwriaeth. Ond yn awr yr oedd iachawdwriaeth yn cael ei dwyn oddiwrth yr Iuddewon attynt hwy, trwy weinidogaeth Phylip (oddieithr bod rhai o honynt o'r blaen wedi ei chael trwy yr ychydig lwyddiant a gafodd Crist yn eu mysg) gyda gweinidogaeth yr hwn (sef Phylip) y bu tywalltiad gogoneddus o Yspryd Duw yn ninas Samaria, ym mha le y dywedir i ni fod y bobl yn credu "i Phylip, yn pregethu y pethau a berthynant i deyrnas Dduw, ac i enw Iesu Grist, a'u bedyddio yn wyr a gwragedd;" a llawenydd mawr oedd yno. *Act.* 8. 8,—12.

Fel hyn Crist a gafodd gynhauaf gogoneddus yn ninas Samaria; at yr hyn yr ymddengys ei fod yn cyfeirio, pan ydoedd wrth ffynnon Jacob, dair neu bedair blynedd yn ol, yn ymddiddan â'i ddisgyblion ar yr achlysur o fod pobl y ddinas, pa rai oedd yn ymddangos ym mhell yn y meusydd, yn dyfod i'r fan lle yr oedd efe, oddiar annogaeth y wraig o Samaria. Ar yr achlysur hynny, yr oedd efe yn peri i'w ddisgyblion edrych ar y meusydd, eu bod hwy yn wynion i'r cynhauaf. *Ioan* 4. 35, 36. Yr oedd y tuedd a ddangosodd pobl Samaria tu ag at Grist a'i efengyl, yn brawf eu bod hwy yn aeddfed i'r cynhauaf; ac yn awr yr oedd y cynhauaf hwnnw wedi dyfod, trwy fod Phylip yn pregethu iddynt. Yr oedd gelyniaeth chwerw yn arferol o fod rhwng yr Iuddewon a'r Samariaid; ond yn awr, trwy eu dychweliad, yr oedd y Cristionogion oll, yn Iuddewon a Samariaid, wedi eu huno yn ddedwydd â'u gilydd: canys yn Nghrist Iesu, nid oes nag Iuddew na Samariad, ond Crist oll yn oll. Yr oedd hyn yn siampl ogoneddus o fod y blaidd yn byw gyd â'r oen, a'r llewpard yn gorwedd gyd â'r mynn. *Esa.* 11. 6.

[3.] Y peth nesaf i sylwi arno, yw galwad y Cenhedloedd. Yr oedd hyn yn oruchwyliaeth fawr a gogoneddus, ag y lleferir am dani yn yr Hen Destament, a chan yr apostolion y naill amser ar ol y llall, fel y digwyddiad mwyaf gogoneddus a ganlynai y prynedigaeth trwy Grist. Hyn a ddechreuwyd gyda dychweliad Cornelius a'i deulu, ac yr ydoedd o fawr syndod i Petr, a'r rhai hynny oedd gyd âg ef, ac eraill o'r Cristionogion, pan hyspyswyd iddynt am y peth. *Act.* 10. 11. Y siampl nesaf o hyn y mae gennym hanes am dani, oedd dychweliad lluaws mawr o Genhedloedd yn Cyprus, a Cyrene, ac Antiochia, trwy y disgyblion a wasgarwyd yn yr erlidigaeth a fu pan y llabyddiwyd Stephan; ac yn ddioed wedi hynny y dechreuwyd galw y disgyblion gyntaf yn Gristionogion yn Antiochia. *Act.* 11. 19,—26.

Wedi hyn, lluaws o Genhedloedd a ddychwelwyd yn amrywiol rannau o'r byd, ac yn bennaf trwy weinidogaeth yr apostol Paul, yr oedd yr Yspryd yn cyd-weithio â'i bregethau ef yn rhyfeddol, yn y naill le a'r llall. Lluaws oedd yn ymgasglu i eglwys Crist, mewn rhifedi mawr o ddinasoedd, lle yr elai yr apostolion. Felly aelodau yr eglwys Gristionogol, ag oeddynt o'r Cenhedloedd, a gynnyddodd yn fuan i fwy o rifedi na'i haelodau Iuddewig; fel y dywedir yn *Act.* 17. 6. am Paul a'i

gyfeillion, eu bod wedi troi y byd â'i wyneb i lawr (canys felly dywed y cyfieithiad Saesoneg); a hynny mewn llai na deng mlynedd o amser wedi iddo gael ei anfon i Antiochia i bregethu yr efengyl i'r Cenhedloedd. Ond y tywalltiad mwyaf nodedig o'r Yspryd mewn unrhyw ddinas neilltuol, ag y ceir hanes am dano yn y Testament Newydd, ydoedd hwnnw a fu yn y ddinas fawr honno Ephesus. *Act.* xix. Fe fu hefyd gasglu anghyffredinol ar eneidiau i mewn yn Corinth, yr hon oedd yn un o'r dinasoedd mwyaf yn nhir Groeg. Wedi hynny fe ddychwelwyd lluaws yn Rhufain, yr hon oedd y pryd hynny y ddinas bennaf yn y byd adnabyddus, ac fe daenwyd yr efengyl trwy holl rannau yr Ymerodraeth Rufeinig. Fel hyn yr oedd haul yr efengyl, yr hwn yn ddiweddar a gyfodasai ar yr Iuddewon, yn awr wedi cyfodi a dechreu llewyrchu ar y byd Paganaidd, wedi iddo fod mewn tywyllwch dudew am gymmaint o oesoedd.

Yr oedd hyn yn beth mawr, a'r fath ni buasai erioed o'r blaen. Yr holl genhedlaethau, ond yr Iuddewon, oeddynt wedi eu bwrw ymaith er's oddeutu amser Moses, oddieithr ambell un a fyddai y naill amser ar ol y llall yn ymuno â hwy. Y byd Paganaidd oedd wedi ei orchuddio â thywyllwch dudew o eilun-addoliaeth: ond yn awr, gyda sain gorfoleddus yr efengyl, dechreuasant ym mhob parth ymwrthod â'u hen eilunod, gan eu taflu i'r wadd a'r ystlumod, a dysgu addoli y gwir Dduw, ac ymddiried yn ei Fab ef Iesu Grist; ac yntau yn arddel y rhai hynny, a fu cyhyd ym mhell, fel ei bobl, ac yn eu gwneud yn agos trwy waed Crist. Yr oedd dynion yn cael eu cyfnewid o fod yn baganaidd ag anifeilaidd, i fod yn blant i Dduw; ac yn cael eu galw allan o deyrnas dywyll Satan, a'u dwyn i'w ryfeddol oleuni ef. Yn yr holl wledydd o'r braidd trwy y byd adnabyddus yr ydoedd cynnulleidfaoedd o bobl i Dduw; caniadau o fawl gorfoleddus oedd yn cael eu cyflwyno i'r gwir Dduw, a Christ Iesu y Pryniawdwr. Yn awr yr oedd yr adeiladaeth fawr honno a ddechreuodd Duw yn fuan wedi cwymp dyn, yn cynnyddu yn ogoneddus, nid fel yr ydoedd mewn oesoedd o'r blaen, ond mewn dull hollol newydd; yn awr yr oedd prophwydoliaethau Daniel ynghylch y deyrnas ddiweddaf, a ddilynai y pedair unbennaeth Baganaidd, yn dechreu cael eu cyflawni; yn awr y mae y garreg a dorwyd o'r mynydd nid â dwylaw, yn dechreu taro y ddelw ar ei thraed, a'i dryllio yn ddarnau, yn dechreu cynnyddu yn fawr, ac yn ymddyrchafu i lenwi yr holl ddaear; ac yn awr yr oedd Duw yn dechreu

casglu ynghyd ei etholedigion oddiwrth bedwar gwynt y nefoedd, trwy weinidogaeth yr apostolion, a gweinidogion eraill, yr oedd angylion yr eglwys Gristionogol yn cael eu hanfon allan gyda mawr sain udgorn yr efengyl, cyn dinystr Jerusalem, fel yr oedd Crist wedi rhagfynegi. *Mat.* 24. 31. Y modd hyn yr oedd llwyddiant yn canlyn y pwrcas a wnaeth Crist, tra y parhaodd yr yspaid cyntaf o amser yr eglwys Gristionogol, yr hyn a derfynwyd gyda dinystr Jerusalem.

(2.) Yr wyf yn dyfod ym mlaen i sylwi ar y gwrthwynebiadau a fu i'r llwyddiant hwn oddiwrth ei elynion. Yr oedd Satan, yn ddiweddar, yn barod i orfoleddu ac ymddyrchafu, fel pe buasai wedi cael yr oruchafiaeth trwy roddi Crist i farwolaeth, ond yn awr yn canfod mai syrthio yr oedd i'r pwll a gloddiasai, ac yn gweled y fath gynnydd rhyfeddol ar deyrnas Crist, ag na welwyd ei fath o'r blaen, y mae yn hawdd meddwl ei fod yn llawn braw a dychryn, ac felly fe ymddengys fod uffern wedi cyffroi i wneud gwrthwynebiad egnïol yn erbyn y llwyddiant hwn. Ac, yn gyntaf, fe gynhyrfodd y diafol yr Iuddewon i erlid yr eglwys, pa rai oeddynt o'r blaen wedi croeshoelio Crist: canys y mae yn amlwg fod yr erlidigaeth a ddioddefodd yr eglwys yn yr yspaid hwn yn bennaf oddi wrthynt hwy. Yr ydym yn darllen yn yr Actau, pan y tywalltwyd yr Yspryd Glân ar ddydd y Pentecost, y modd yr oedd yr Iuddewon yn gwatwar, gan ddywedyd, "Llawn o win melus ydynt;" a'r Ysgrifenyddion a'r Phariseaid, gyda blaenor y deml, oeddynt yn ddychrynedig, ac yn ymgynhyrfu i wrthwynebu ac erlid yr apostolion. Yn gyntaf daliasant hwy ac a'u bygythiasant, wedi hynny curasant hwy, ac a'u dodasant mewn carchar. Yr oeddynt yn barhaus yn chwythu bygythion a chelanedd yn erbyn disgyblion yr Arglwydd Iesu, ac mewn cynddaredd terfysglyd, hwy a labyddiasant Stephan; ac nid oeddynt yn ymfoddloni ar gael erlid y rhai oedd yn cyfanneddu yn ninasoedd Judea, ond hwy a anfonasant i Damascus, a lleoedd eraill, i erlid pawb ag a fyddai yn addef Iesu Grist, ym mhob lle. Herod, yr hwn oedd y blaenaf yn eu mysg hwy, a estynodd ei law i flino yr eglwys, ac a laddodd Iago â'r cleddyf, ac efe a chwanegodd roddi Petr hefyd yn ngharchar. *Act.* 12. 1, 2, 3.

Felly hefyd mewn gwledydd eraill, bron bob lle y deuai yr apostolion, yr Iuddewon oeddynt mewn modd maleisus yn gwrthwynebu yr efengyl, gyda chroes ddadleuaeth a chableddau. Pa faint a ddioddefodd yr apostol Paul oddiar eu dwylaw,

yn y naill le a'r llall! Pa mor danbaid a gwaedlyd yr oeddynt yn ymddangos tu ag atto, pan yr oedd efe yn cyhoeddi trugaredd iddynt hwy, pa rai oeddynt ei genedl. Yn yr erlidigaeth a'r creulondeb hwn, y cyflawnwyd y brophwydoliaeth honno o eiddo Crist: "Am hynny, wele, yr ydwyf yn anfon attoch brophwydi, a doethion, ac ysgrifenyddion: a rhai o honynt a leddwch, ac a groeshoeliwch; a rhai o honynt a ffrewyllwch yn eich synagogau, ac a erlidiwch o dref i dref." *Mat.* 23. 34.

(3.) Yr wyf yn dyfod ym mlaen i sylwi ar y barnedigaethau a oddiweddodd y gelynion hynny i Grist, sef yr Iuddewon.

[1.] Y nifer fwyaf o'r bobl a roddwyd i fynu i'r dywyllwch barnol, a chaledwch calon. Crist, yn nyddiau ei gnawd, a gyhoeddodd y fath wae uwch eu pennau. *Mat.* 13. 14, 15. Yr Apostol Paul a ail-gyhoeddodd yr un wae i ddyfod arnynt, *Act.* 28. 25, 26, 27. a than y felldith hon, y tywyllwch barnol, a'r caledwch yma y maent hyd y dydd hwn, er's agos i ddeunaw cant o flynyddoedd, yn gôf-nodau dychrynllyd o ddïaledd Duw, ac yn brawf mwyaf aethus o'i farnedigaethau ef. Y mae eu bod hwy yn parhau o genhedlaeth i genhedlaeth mor gyndyn, ac yn gwrthod Crist, fel nad ydyw ond peth anfynych iawn fod yr un o honynt yn dychwelyd i'r ffydd Gristionogol, er fod Ysgrythyrau yr Hen Destament ganddynt, pa rai y maent yn eu cyfaddef yn ddwyfol; etto, y rhai hynny sydd yn tystiolaethu mor eglur yn eu herbyn sydd brawf nodedig fod Duw, mewn modd aethus, wedi eu gadael hwy.

[2.] Hwy a wrthodwyd, ac a fwriwyd ymaith o gyff Abraham; ac felly nid ydynt mwyach yn cael eu cyfrif yn had iddo mwy nag Ismaeliaid, neu Edomiaid, pa rai ydynt ei had naturiol ef gystal a hwythau. Y rhan fwyaf o'r ddau lwyth a dorrwyd ymaith yn awr, fel y deg llwyth o'r blaen; a phobl eraill a gymmerwyd i mewn yn eu lle, yn ol rhagddywediadau eu prophwydi eu hunain. Moses a ddywed fel hyn am danynt: "Hwy a yrrasant eiddigedd arnaf â'r peth nid oedd Dduw; digiasant fi â'u hoferedd: minnau a yrraf eiddigedd arnynt hwythau â'r rhai nid ydynt bobl; â chenedl ynfyd y digiaf hwynt." *Deut.* 32. 21. Esaiah hefyd, "Ceisiwyd fi gan y rhai ni ymofynasant am danaf; cafwyd fi gan y rhai ni'm ceisiasant." *Pen.* 65. 1. Hwy a dorrwyd ymaith ac a wrthodwyd, mewn modd amlwg, trwy fod yr Arglwydd yn cyfarwyddo ei apostolion i droi ymaith oddi wrthynt, a gadael llonydd iddynt. *Act.* 13. 46, 47. "Yna Paul a Barnabas a aethant yn hŷf, ac a ddywedasant, Rhaid

oedd llefaru gair Duw wrthych chwi yn gyntaf: eithr o herwydd eich bod yn ei wrthod, ac yn eich barnu eich hunain yn annheilwng o fywyd tragywyddol, wele, yr ydym yn troi at y Cenhedloedd. Canys felly y gorchymynodd yr Arglwydd i ni." Gwel hefyd, *Act*. 18. 6. a 28. 28.

Hyd yn hyn yr oedd gennym hanesyddiaeth ysgrythyrol i'n cyfarwyddo: o hyn allan nid oes gennym gyfarwyddyd ond oddiwrth ddau beth, sef, prophwydoliaethau yr Ysgrythyr, a hanesyddiaeth ddynol.

[3.] Y farn ddiweddaf, a ddaeth oddiwrth Dduw ar y gelynion hynny i lwyddiant yr efengyl, ag y sylwaf arni ydyw, y dinystr dychrynllyd a ddaeth ar eu dinas a'u gwlad oddiwrth y Rhufeiniaid. Yr oeddynt wedi cael dwys rybuddion, a llawer o foddion wedi cael eu defnyddio tu ag attynt cyn i'r dinystr hwn eu goddiweddyd. Yn gyntaf, hwy a rybuddiwyd gan Ioan Fedyddiwr. Dywedodd wrthynt, " fod y fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y prennau: pob pren gan hynny yr hwn nid yw yn dwyn ffrwyth da, a dorrir i lawr, ac a deflir yn tân." Wedi hyn, Crist, mewn modd neillduol, a'u rhybuddiodd hwy, fod eu dinystr yn agoshau—y meddwl am yr hyn a barodd iddo wylo yn yr olwg arnynt. Ac wedi ei esgyniad ef, yr apostolion oedd yn rhoddi aml rybudd iddynt. Ond myned ym mlaen yr oeddynt hwy yn gyndyn yn eu gwrthwynebrwydd i Grist a'i eglwys, ac mewn ymarferiadau o'u herlidiau chwerw. Fe dybir nad oedd eu herlidigaeth faleisus ar yr apostol Paul, yr hon y rhoddir hanes am dani tua diwedd yr Actau, ond o ddeutu saith neu wyth mlynedd cyn eu dinystr.

Wedi hyn fe welodd Duw yn dda roddi iddynt rybydd neodedig trwy yr apostol Paul, yn ei Epistol at yr Hebreaid, yr hwn a ysgrifenwyd, fel y tybir, oddeutu pedair blynedd cyn dinystr Jerusalem. Y mae yma y rhesymmau egluraf a chadarnaf yn cael eu gosod o'u blaen hwynt, allan o'u cyfraith a'u prophwydi eu hunain, i ba rai y maent yn proffesu y parch mwyaf, i brofi fod yn rhaid mai Iesu Grist yw Mab Duw; a bod eu holl ddeddf hwy yn cyfeirio tu ag atto ef, ac yn ei gysgodi; a bod yn rhaid i'w goruchwyliaeth Iuddewig hwy ddiflannu. Er fod yr epistol yn cael ei gyfeirio yn fwyaf union-gyrchol at yr Hebreaid Cristionogol; etto, y mae ei sylwedd yn eglur ddangos fod yr apostol yn ei fwriadu er defnydd ac argyhoeddiad i'r Iuddewon anghrediniol. Y mae efe yn yr epistol yn sylwi yn neillduol ar ddynesiad y dinystr, ac angerdd y tân, yr

hwn a ddifa y gwrthwynebwyr. *Pen.* 10. 25, 27. Ond y cyffredinolrwydd o honynt oedd yn gwrthod derbyn argyhoeddiad, a Duw yn fuan a'u distrywiodd dan yr amgylchiadau mwyaf arswydus, fel na bu dinystr un wlad na dinas er dechreuad y byd yn gyffelyb i'r hyn a ddaeth arnynt hwy, yn ol yr hyn a rag-ddywedodd Crist, *Mat.* 24. 21. "Canys y pryd hynny y bydd gorthrymder mawr, fath ni bu o ddechreu y byd hyd yr awr hon, ac ni bydd chwaith." Yr oedd dinystr Jerusalem yn hynod o aethus, gan y Babiloniaid, fel y mae yn cael ei ddarlunio yn y modd mwyaf effeithiol gan y prophwyd Jeremiah yn ei Alarnad; ond nid oedd hynny ddim mewn cydmariaeth i'r trueni ofnadwy, a'r digofaint a ddioddefasant yn y dinystr hwn. Duw a ddygodd arnynt, yn ol rhag-fynegiad Crist, yr holl waed cyfiawn a dywalltwyd o ddechreuad y byd. Fel hyn y gwnawd gelynion Crist yn droed-faingc i'w draed ef, yn ol addewid Duw, *Ps.* 110. 1. ac yr oedd efe yn eu dryllio hwynt â gwïalen haiarn. Yr oeddynt yn gwingo yn erbyn Crist, ond gwingo yr oeddynt yn erbyn symbylau. Y drain a'r mieri a osodwyd yn ei erbyn ef mewn rhyfel; ond efe a aeth trwyddynt, ac a'u llosgodd oll ynghyd. *Esa.* 27. 4.

Dinystr Jerusalem oedd ym mhob ystyr yn cyfatteb i'r hyn a rag-ddywedodd Crist, yn ol yr hanes y mae Josephus yn ei roddi, yr hwn oedd ei hun yn Iuddew, ac yno yn bresennol yn gyfrannog o'r un blinderau a hwythau, ac efe a ysgrifenodd hanes y dinystr a ddaeth arnynt. Yn ol yr hanes a rydd efe, yr oedd llawer o bethau yn amgylchiadau y dinystr hwnnw yn tebygoli i'r dull y darlunir distryw yr annuwiolion ddydd y farn ddiweddaf: yr oedd yn ei ganlyn amryw arwyddion dychrynllyd yn y nefoedd, a didoliad y cyfiawn oddiwrth yr annuwiolion. Y deml a'r ddinas a losgwyd, ac a chwalwyd hyd lawr, a'r ddaear ar ba un yr oedd y ddinas yn sefyll a arddwyd; fel na adawyd carreg ar garreg, a'r na's dattodwyd. *Mat.* 24. 2.

Y bobl a ballodd a bod yn llywodraeth anymddibynnol y rhan fwyaf o'r amser ar ol y caethiwed yn Babilon; ond y deyrn-wïalen a ymadawodd yn hollol o Juda gyda marwolaeth Archelaus; ac yna Judea a wnawd yn dalaeth Rufeinig. Wedi hyn fe'u bwriwyd ymaith o fod yn bobl i Dduw. Ac yn awr eu tir a ddistrywiwyd yn hollol, a hwythau a yrrwyd allan o hono; ac felly y maent yn parhau yn wasgaredig trwy y byd er's mwy na dau cant ar bymtheg o flynyddoedd.

Fel hyn daeth diwedd terfynol i fyd yr Hen Destament: pob

peth a orphenwyd gyda math o ddydd barn, yn yr hwn yr oedd pobl Dduw yn gadwedig, a'i elynion mewn distryw dychrynllyd. Yn y modd hyn y bu i'r hwn oedd mor ddiweddar yn cael ei watwar, ei ddirmygu, a phoeri arno gan yr Iuddewon hynny, canlynwyr yr hwn hefyd yr oeddynt mor faleisus yn eu herlid, ymddangos mor ogoneddus a dyrchafedig goruwch ei elynion.

Wedi dangos y modd yr oedd llwyddiant y pwrcas trwy Grist yn cael ei ddwyn ym mlaen hyd ddinystr Jerusalem, yr wyf yn awr yn dyfod i sylwi,

2. Y modd y dygwyd y gwaith ym mlaen o'r amser hwnnw hyd gwymp yr Ymerodraeth Baganaidd yn amser Cystenyn, yr hwn ydoedd yr ail ddigwyddiad mawr a gydmerir i ddyfodiad Crist i'r farn ddiweddaf.

Jerusalem a ddinystriwyd oddeutu y 70 flwyddyn o oed Crist, ac felly cyn myned y genhedlaeth honno ymaith ag oedd yn cyd-oesi âg ef; ac ynghylch dwy flynedd ar bymtheg ar ol ei farwolaeth ef. Dinystr yr Ymerodraeth Baganaidd gan Cystenyn, ydoedd ynghylch 260 mlynedd wedi hyn. Wrth ddangos y modd y dygwyd ym mlaen lwyddiant yr efengyl trwy yr amser hwn, sylwaf—(1.) ar y gwrthwynebrwydd a fu iddi oddiwrth yr Ymerodraeth Rufeinig.—(2.) Y modd yr oedd yr efengyl yn myned ym mlaen, er y gwrthwynebrwydd hwnnw.—(3.) Yr amgylchiadau neillduol o gyfyngdra a thrallodau y bu yr eglwys ynddynt ychydig cyn ei gwaredigaeth gan Cystenyn. Y chwyldroad mawr a fu yn ei amser ef.

(1.) Dangosaf, yn fyrr, pa wrthwynebiadau a gyfodwyd yn erbyn yr efengyl a theyrnas Crist gan yr Ymerodraeth Rufeinig. Y gwrthwynebrwydd a fu oddiwrth Ymerodraeth Baganaidd Rhufain i'r efengyl ydoedd, yn bennaf, ar ol dinystr Jerusalem, er fod gwrthwynebrwydd iddi wedi dechreu o'r blaen; ond y gwrthwynebrwydd hynny ydoedd, yn bennaf, oddiwrth yr Iuddewon. Ond wedi dinystr Jerusalem, yr oeddynt hwy wedi eu gosod mewn amgylchiad na allasent drallodi yr eglwys. Gan hynny yr oedd y diafol yn awr yn troi ei synwyr ffordd arall, ac yn defnyddio offerynau eraill. Y gwrthwynebrwydd i deyrnas Crist oddiwrth yr Ymerodraeth Rufeinig oedd ddau fath.

[1.] Yr oeddynt yn defnyddio eu holl synwyr, dysgeidiaeth, a philosophyddiaeth, i wrthwynebu yr efengyl. Crist a ddaeth i'r byd, fel y sylwasom o'r blaen, pan yr oedd dysgeidiaeth a philosophyddiaeth wedi cyrhaedd y radd uchaf o berffeithrwydd. A'r pethau hynny oedd yn cael eu defnyddio i'r eithaf yn erbyn

teyrnas Crist. Nid ydoedd yr efengyl, yr hon sydd yn gosod allan Iachawdwr croeshoeliedig, mewn un modd yn gydunol â thybiau y philosophyddion Paganaidd. Y drefn Gristionogol o ymddiried yn y fath Iachawdwr croeshoeliedig oedd yn ymddangos yn ynfydrwydd a ffolineb iddynt hwy. Groeg ydoedd y wlad fwyaf enwog am ddysgeidiaeth o un wlad ag oedd yn perthyn i'r Ymerodraeth Rufeinig; ond y mae yr apostol yn sylwi, fod yr athrawiaeth am Grist wedi ei groeshoelio yn ymddangos yn ynfydrwydd gan y Groegiaid. 1 *Cor.* 1. 23. Gan hynny yr ydoedd y doethion a'r philosophyddion â'u holl synwyr yn gwrthwynebu yr efengyl. Y mae gennym ddarlun o'u gwrthwynebrwydd yn y driniaeth a gafodd Paul yn Athen, yr hon ddinas a fu yn brif sefyllfa dysgeidiaeth a philosophyddiaeth am lawer o oesoedd. Yr ydym yn gweled fod y Philosophyddion o'r Epicuriaid a'r Stoiciaid yn ei wrthwynebu, gan ddywedyd, "Beth a fynnai y siaradwr hwn ei ddywedyd? a rhai, Tebyg yw ei fod yn mynegi duwiau dieithr." *Act.* 17. 18. Felly yr oeddynt yn arfer gwawdio a diystyru Cristionogaeth: ac wedi dinystr Jerusalem, amryw o'r philosophyddion a gyhoeddasant lyfrau yn erbyn yr efengyl. Y pennaf o'r rhai hynny ydoedd Celsus a Porphyry, y rhai a ysgrifenasant gyda llawer o ddirmyg a llymdostedd yn erbyn y grefydd Gristionogol, ac yn hynod o debyg i ddeistiaid yr oes bresennol. Ac y mae ysgrifeniadau rhai o honynt mewn bod etto. Er cymmaint gelynion a dirmygwyr oeddynt ar y grefydd Gristionogol, etto ni ddarfu iddynt erioed wadu yr hanes am y pethau a briodolir i Grist a'i apostolion yn y Testament Newydd, yn neillduol y gwyrthiau yr oeddynt yn eu gweithredu, ond yr oeddynt yn eu haddef. Yr oeddynt yn byw yn rhy agos i'r amseroedd ag yr oedd y gwyrthiau hynny yn cael eu gweithredu i'w gwadu; canys yr oeddynt yn cael eu gweithredu mor gyhoeddus, ac mor ddiweddar, fel nad oedd nac Iuddewon na Chenhedloedd yn y dyddiau hynny yn gallu eu gwadu; ond yr oeddynt yn eu priodoli i allu swynyddiaeth.

[2.] Ymerawdwyr Rhufain a ddefnyddiasant eu holl nerth a'u cyfrwysdra, amser ar ol amser, i erlid; a phe buasai yn bossibl, i ddiwreiddio Cristionogaeth allan o'r byd. Hyn a wnaethant mewn deg o ddilynol erlidigaethau. Sylwasom o'r blaen, fod Crist wedi dyfod i'r byd pan yr oedd y llywodraeth a'r awdurdod Baganaidd yn eu huchder pennaf yn amser yr Ymerodraeth Rufeinig, yr Unbennaeth ddynol fwyaf galluog a

fu erioed ar y ddaear. Holl nerth yr Ymerodraeth honno a ddefnyddiwyd, am yspaid maith, i wrthwynebu ac erlid yr eglwys Gristionogol, a phe buasai yn bossibl, i'w dinystrio, mewn deg ymgyrch dilynol, pa rai a elwir y deg erlidigaeth Baganaidd, a fu o flaen amser Cystenyn.

Y gyntaf o'r rhai hyn oedd yr erlidigaeth a fu o dan Nero, ychydig cyn dinystr Jerusalem; yn yr hon y croeshoeliwyd yr apostol Petr, ac y torrwyd pen yr apostol Paul, yn fuan wedi iddo ysgrifennu ei Ail Epistol at Timotheus. Yr oedd efe yn garcharor yn Rhufain dan Nero pan ysgrifennodd efe yr Epistol hwnnw, ac yn disgwyl y byddai farw yn fuan. 2 *Tim*. 4. 6, 7. "Myfi yr awrhon a aberthir, ac amser fy ymddattodiad i a nesâodd. Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd." Llawer o filoedd o Gristionogion eraill a laddwyd hefyd yn yr erlidigaeth hon. Y naw erlidigaeth eraill a fu wedi dinystr Jerusalem. Rhai o'r erlidigaethau hynny oeddynt yn hynod o arswydus, ac ym mhell tu hwnt i'r gyntaf a fu dan Nero. Y naill Ymerawdwr ar ol y llall oedd yn ymosod gyd âg eithaf cynddaredd i geisio diwreiddio yr eglwys Gristionogol oddiar y ddaear, fel na byddai y fath beth ag enw Cristion i gael ei adael yn y byd. Miloedd a myrddiynau o Gristionogion a roddwyd i farwolaethau creulon trwy yr erlidigaethau hynny; canys nid oeddynt yn arbed na rhyw nac oedran, ond yr oeddynt yn eu lladd mor gyflym ag y gallent.

Dan yr ail erlidigaeth gyffredinol, yr hon oedd yn nesaf ar ol dinystr Jerusalem, yr alltudiwyd yr apostol Ioan i Ynys Patmos, lle y cafodd efe y gweledigaethau rhyfeddol y mae yn rhoi hanes am danynt yn Llyfr y Datguddiad. Fe dybir fod mwy na deugain mil wedi dioddef merthyrdod yn yr erlidigaeth honno, yr hyn nad ydoedd ond ychydig mewn cydmariaeth i'r nifer a farwolaethwyd yn rhai o'r erlidigaethau dilynol. Llawer o filoedd a ddioddefasant farwolaethau creulon yn y drydedd erlidigaeth, dan yr Ymerawdwr Adrian. Y bedwaredd erlidigaeth a ddechreuodd, fel y mae rhai yn cyfrif, oddeutu y flwyddyn 162 o oed Crist, ac a deimlwyd yn Lloegr, gwlad* ein cyndadau, ym mha le y plannwyd Cristionogaeth yn foreu iawn, fel y tybia rhai, cyn foreued a dyddiau yr apostolion. Ac yn yr erlidigaethau diweddaf, yr oedd Ymerawdwyr Rhufain wedi

* Rhaid ystyried mai yn yr America yr oedd yr awdwr yn ysgrifennu.

eu blino wrth fod eu hynafiaid yn cael eu siommi, pa rai a fu yn analluog i ddiwreiddio Cristionogaeth, ac attal ei chynnydd; felly yr oeddynt wedi ymgynddeiriogi i fod yn fwy egnïol yn eu hymgyrch.

Yn y modd hyn y treuliwyd y rhan fwyaf o'r tri chan mlynedd cyntaf ar ol dyfodiad Crist, mewn erlidigaethau egnïol a chreulon ar yr eglwys, oddiwrth yr awdurdodau Rhufeinig. Yr oedd Satan yn dra anewyllysgar i ollwng ei afael o ran mor fawr o'r byd ag oedd yr Ymerodraeth Rufeinig, yr hon yr ydoedd efe yn ei feddiannu gyd â'r fath dawelwch er's cymmaint o oesoedd: gan hynny, pan y gwelodd ei bod yn myned o'i ddwylaw gyd â'r fath gyflymdra, efe a ymgynhyrfodd i'r eithaf. Yr oedd uffern fel pe buasai wedi deffroi i ymgyfodi yn ei holl allu yn erbyn yr eglwys.

Yr oedd Satan fel hyn yn ymorchestu yn egnïol trwy awdurdod Ymerodraeth Baganaidd Rhufain, yr hon a elwir yn yr ysgrythyr, y ddraig goch fawr, yn meddu saith ben a deg corn, yn rhyfela â'r wraig oedd wedi ei gwisgo â'r haul. *Dat.* 12. 3. Ac ymladdfeydd arswydus a fu rhwng eglwys Crist âg awdurdodau yr Ymerodraeth Baganaidd cyn amser Cystenyn, yr hyn a arddangosir yn *adn.* 7. trwy y rhyfel rhwng Michael a'i angylion â'r ddraig a'i hangylion. "A bu rhyfel yn y nef; Michael a'i angylion a ryfelasant yn erbyn y ddraig, a'r ddraig a ryfelodd a'i hangylion hithau."

(2.) Myfi a sylwaf ar y llwyddiant a fu ar yr efengyl yn y byd cyn amser Cystenyn, er yr holl wrthwynebrwydd oedd iddi. Er fod dysgeidiaeth ac awdurdod yr Ymerodraeth Rufeinig mor fawr, a phob un o honynt yn cael eu defnyddio i'r eithaf, am yspaid mor faith, ac mewn cynnifer o wahanol ymgyrchiadau, i geisio diwreiddio Cristionogaeth; etto ni bu eu holl drafferth ond ofer. Yr oedd teyrnas Crist yn llwyddo yn rhyfeddol, er gwaethaf yr hyn oll a allent hwy ei wneud; a theyrnas Satan oedd yn cael ei malurio, ac yn diflannu ymaith o'i blaen hi, yn ol y brophwydoliaeth: "Y gwyfyn a'i bwytty fel dilledyn, a'r pryf a'u hysa hwynt fel gwlan." Yr ydoedd hefyd yn hynod o nodedig, pa fwyaf a erlidient hwy ar yr eglwys, mwyaf ydoedd ei chynnydd; hyd oni ddaeth yn ddiareb gyffredin, "fod gwaed y merthyron yn had i'r eglwys." Yn hyn y profir fod eglwys Crist yn debyg i'r coed palmwydd; am y rhai y dywedir, pa fwyaf o bwys a roddir arnynt, neu a grogir wrth eu canghennau, mai mwyaf a gynnyddant ac a flodeuant. Ac y

mae yn debyg mai ar y cyfrif yma y cyffelybir yr eglwys i'r balmwydden, *Can.* 7. 7. "Dy uchder yma sydd debyg i balmwydden." Y mae Justin Ferthyr, un o dadau enwog yr eglwys Gristionogol, ag oedd yn byw yn yr oes nesaf i'r apostolion, yn rhai o'i ysgrifeniadau, pa rai sydd etto ar gael, yn dywedyd, nad oedd yn ei ddyddiau ef un rhan o ddynolryw, pa un bynnag ai Groegiaid ai Barbariaid, neu wrth ba enw bynnag y gelwid hwy, ïe, y cenhedloedd mwyaf trwsgl ac anfoesgar, nad oedd diolchiadau a gweddïau yn cael eu cyflwyno ganddynt i'r Creawdwr mawr trwy enw yr Iesu a groeshoeliwyd. Tertulian, un arall o'r tadau yn yr eglwys Gristionogol, yr hwn oedd yn byw tua dechreu yr oes ganlynol i Justin Ferthyr, sydd yn sylwi, yn ei ysgrifeniadau, pa rai sydd etto mewn bod, fod y grefydd Gristionogol yn ei ddyddiau ef wedi ymledaenu hyd derfynau eithaf y byd adnabyddus; ac, ym mysg lleoedd eraill, y mae efe yn cyfrif Brydain, gwlad ein cyndadau, wedi cael ei darostwng gan yr efengyl; ac yno y mae efe yn dangos fod teyrnas Crist y pryd hynny yn fwy ehang nag yr un o'r pedair Unbennaeth fawr. Y mae efe ym mhellach yn dywedyd, er nad oedd y Cristionogion ond megis dieithriaid, wedi ymddangos er's ychydig amser, etto, eu bod yn llenwi yr holl leoedd yn y llywodraethau Rhufeinig, yn y dinasoedd, ynysoedd, cestyll, bwrdeis-drefi, cynghorau, byddinoedd, swyddogaethau, y palas, y senedd, a'r llysoedd barn. Ac nad oeddynt wedi gadael i'r Paganiaid yn unig ond eu temlau; a phe buasent yn cyttuno â'u gilydd i fyned allan o'r llywodraeth Rufeinig, y buasai y byd yn synnu yn yr olwg ar yr anghyfannedd-dra a fuasai yn canlyn, ac mor ychydig o bobl a fuasai ar ol; a bod y Cristionogion mor luosog ag y buasent yn alluog i'w hamddiffyn eu hunain pe buasent yn ymgyfodi mewn arfau yn erbyn y swyddogion Paganaidd. Y mae Pliny hefyd, yr hwn oedd yn byw yn y dyddiau hynny, ac yn Bagan, yn dywedyd yn ei ysgrifeniadau, fod lluaws o bob un o'r ddau ryw, ac o bob oedran a sefyllfa, yn Gristionogion. Y mae yr ofer-goel hwn (sef Cristionogaeth) medd efe, wedi gorchuddio a llygru, nid yn unig y ddinas, ond dinasoedd a gwledydd; y mae yr aberthau wedi eu gadael, a'r temlau yn anghyfannedd.

Yr oedd ysgrifenwyr Paganaidd a Christionogol y dyddiau hynny, yn sylwi yn nodedig, fod yr oraclau hynod hynny oedd gan y Paganiaid yn eu temlau, â pha rai y byddai eu tywysogion, ac eraill, yn arfer ymofyn am ddigwyddiadau er's llawer oesoedd,

ac yn derbyn attebiad oddi wrthynt mewn llais cyhoedd; y fath attebiad yn ddiammeu ydoedd oddiwrth y diafol. Yr oraclau hynny a ddistawyd yn awr, ac a darawyd i fudandod, ac ni roddasant un attebiad mwy. Yn neillduol yr oracl yn Delphos, pa un oedd yr oracl Paganaidd mwyaf hynod yn y byd, yr hwn y byddai y Groegiaid a'r Rhufeiniaid yn arfer ymgynghori âg ef, a ddechreuodd ddistewi yn ddioed ar ol genedigaeth Crist; a phan y gofynwyd i'r duw gau, a fyddai yn arfer rhoddi attebiad yn y deml honno, ac yn cael ei addoli, paham yr oedd yn pallu atteb yn awr fel arferol, ei attebiad ydoedd, fel y tystiolaetha amryw o'r haneswyr Paganaidd ag oedd yn byw yn yr amseroedd hynny; "Y plentyn Hebreaidd, yr hwn yw brenhin y duwiau, a orchymynodd i mi adael y tŷ hwn, a myned i uffern, a chan hynny nid ydych i ddisgwyl attebiad oddi wrthyf mwyach."* Ac y mae amryw o'r ysgrifenwyr Paganaidd, ag oedd yn byw oddeutu yr amseroedd hynny, yn sôn llawer fod yr oraclau wedi distewi, fel yr oeddynt yn synnu oblegid hynny, ac yn methu gwybod beth a allasai fod yr achos. Plutarch, ysgrifenydd Paganaidd yn yr amseroedd hynny, a ysgrifenodd draethawd neillduol ar yr achos, yr hwn sydd etto mewn bod. Y mae Porphyry hefyd, yr hwn a nodwyd o'r blaen, yn dywedyd fel hyn: "Nid ydyw yn rhyfeddod fod y ddinas er's cymmaint o flynyddoedd yn cael ei gorlifo âg afiechyd, gan fod Esculapius, ac eraill o'r duwiau, wedi peidio cydymddiddan â dynion. Canys er pan ddechreuwyd addoli yr Iesu, nid oes neb yn derbyn cynnorthwy na llesâd cyffredinol oddiwrth y duwiau."—Fel hyn yr oedd teyrnas Crist yn llwyddo yn erbyn teyrnas Satan.

(3.) Yr ydwyf yn awr yn dyfod i sylwi ar amgylchiadau neillduol o drallod a chyfyngdra a fu ar yr eglwys, ychydig cyn dyfodiad Cystenyn Fawr i'r orsedd. Yr oedd yr eglwys cyn hyn, ar ol y nawfed erlidigaeth, wedi cael tua deugain mlynedd o lonyddwch; ond trwy gam-ddefnyddio ei rhyddid, dechreuodd oeri yn ei zel, a myned yn fwy difywyd mewn crefydd, ac ymrafaelion oedd yn torri allan ym mysg y Cristionogion. Trwy hynny digiasant Dduw, ac efe a oddefodd i'r brofedig-

---

* Y plentyn bach Hebraeg, Duw mawr y duwiau oll,
A'm deol oddi yma i war'd i uffern bwll,
Dos ymaith 'ddiwrth f' allorau, a thaw, gad lonydd im';
Na chrybwyll wrthyf mwyach, nid allaf wneuthur dim.
*Drych y Prif Oesoedd*, tu dal. 150.

aeth arswydus hon eu goddiweddyd. Ac fel yr oedd Satan wedi colli cymmaint o dir, er ei holl ymgyrch, felly fe ymddengys ei fod yn awr wedi ymgynhyrfu i gynddaredd mwy na chyffredin. Y rhai oedd y pryd hynny mewn awdurdod a ymosodasant yn y modd mwyaf egnïol i ddiwreiddio Cristionogaeth, trwy losgi y Biblau, a distrywio yr holl Gristionogion; ac nid oeddynt yn sefyll at reol i'w profi hwy mewn ffurf gyfreithiol, ond rhuthro arnynt pa le bynnag y caent afael ynddynt, weithiau trwy roddi tân mewn tai lle byddai lluaws o Gristionogion wedi ymgynnull, ac felly yn eu llosgi hwy ynddynt, ac ar amserau eraill lladd lluaws ynghyd. Yr erlidwyr a fyddent ar rai prydiau yn hollol flinedig, gan y llafur oeddynt yn ei gymmeryd i'w poenydio a'u lladd; ac mewn rhai lleoedd poblogaidd yr oeddynt yn lladd cymmaint ynghyd, fel yr oedd y gwaed yn rhedeg fel ffrydiau. Fe ddywedir fod dwy fil ar bymtheg o ferthyron wedi cael eu lladd mewn llai na mis o amser; ac fe ddywedir hefyd tra y parhaodd yr erlidigaeth hon, nad oedd dim llai na phedair mil a deugain, yn nhalaeth yr Aipht yn unig, o Gristionogion wedi meirw trwy drais eu herlidwyr, heblaw saith gan mil a fuant feirw trwy ludded ac alltudiaeth, neu yn y gweithfaoedd cyffredin, i ba rai yr oeddynt wedi eu dedfrydu.

Yr erlidigaeth hon a barhaodd ddeng mlynedd ynghyd; ac fel yr ydoedd yn rhagori ar yr holl erlidigaethau blaenorol yn rhifedi y merthyron, felly hefyd yr ydoedd yn rhagori yn y gwahanol ddulliau a ddychymygwyd i'w poenydio, a'r creulonderau a arferwyd tu ag attynt. Mae rhai awdwyr ag oedd yn byw y pryd hynny yn dywedyd, fod y dulliau a arferwyd i arteithio y Cristionogion yn aneirif, a thu hwnt i bob cyfrifiad. Yr oedd yr erlidigaeth hon yn llym iawn yn Brydain; a hon ydoedd yr un y rhagddywedir am dani yn *Dat.* 6. 9, 10. "A phan agorodd efe y bummed sel, mi a welais dan yr allor eneidiau y rhai a laddesid am air Duw, ac am y dystiolaeth oedd ganddynt. A hwy a lefasant â llef uchel, gan ddywedyd, Pa hyd, Arglwydd, sanctaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu, ac yn dial ein gwaed ni ar y rhai sydd yn trigo ar y ddaear?"

Tua diwedd y deng mlynedd, yr yspaid y parhaodd yr erlidigaeth hon, yr oedd yr erlidwyr Paganaidd yn meddwl eu bod wedi gorphen eu gwaith, ac yn ymffrostio eu bod wedi hollol ddinystrio enw y Cristionogion, a'u hofer-goel, a gosod i fynu addoliad y duwiau. Fel hyn yr oedd yr amser tywyllaf ar yr

eglwys Gristionogol, a'r amser yn fwyaf tywyll arni, ychydig cyn toriad y dydd. Yr oedd wedi cael ei dwyn i'r cyfyngdra eithaf ychydig cyn ymddangosiad yr Arglwydd i roddi gwaredigaeth ogoneddus iddi; fel yr oedd caethiwed Israel yn yr Aipht yn fwy gorthrymmus a chreulon, ychydig cyn eu gwaredigaeth trwy law Moses. Yr oedd gelynion y Cristionogion, ychydig cyn eu dinystr, yn meddwl eu bod wedi eu llyngcu hwy i fynu, fel yr oedd Pharaoh a'i lu pan yr oeddynt wedi goddiweddyd Israel wrth y Môr Coch.

(4.) Yr wyf yn awr yn dyfod i sylwi, yn y pedwerydd lle, ar y chwyldroad mawr yn amser Cystenyn; yr hyn oedd mewn amryw ystyriaethau yn gyffelyb i ymddangosiad Crist ar gymmylau y nef, i achub ei bobl, a barnu y byd. Yr oedd pobl Rhufain wedi blino dan lywodraeth y gorthrymwyr, yr oeddynt wedi bod yn ddiweddar yn ddeiliaid iddynt, am hynny hwy a anfonasant at Cystenyn, yr hwn oedd y pryd hynny yn ninas Caerefrog (*York*) yn Brydain, i ddyfod i gymmeryd yr orsedd. Ac fe ddywedir iddo gael ei galonnogi, trwy fod colofn oleu wedi ymddangos yn y nefoedd, mewn ffurf croes, yn ei olwg ef, a'i holl fyddin, gyd âg ysgrifen fel hyn arni, "Trwy hon gorchfyga;" a'r nos ganlynol, trwy ymddangosiad Crist iddo mewn breuddwyd â'r un groes yn ei law, gan ei gyfarwyddo i wneud croes fel honno, i fod yn faner frenhinol, fel y byddai i'w fyddin ymladd dan y faner honno, a chan sicrhau y byddai iddo orchfygu.* Ac yn ol hynny, darfu iddo anturio, ac efe a feddiannodd yr orsedd ymerodrol, ac a dderbyniodd y grefydd Gristionogol, ac efe oedd yr Ymerawdwr Cristionogol cyntaf erioed a deyrnasodd. Efe a ddaeth i'r orsedd oddeutu y flwyddyn 320 o oed Crist.—Myfi a sylwaf ar amryw bethau a ganlynodd, neu a fu'yn fuan wedi dyfodiad Cystenyn i'r orsedd.

[1.] Yr eglwys Gristionogol a gafodd ei gwaredu yn hollol oddiwrth erlidigaeth. Yn awr yr oedd dydd ei gwaredigaeth wedi dyfod, ar ol y fath nos dywyll o gystudd; yr oedd galar wedi aros dros nos, ond yn awr yr oedd boreu gwaredigaeth orfoleddus wedi gwawrio. Yr Arglwydd a ymddangosodd yn awr i farnu ei bobl, ac efe a edifarhaodd o ran ei weision; canys efe

* Pa faint bynnag o ffug chwedlau a ddichon fod wedi eu hychwanegu at yr hanes hwn, neu addysgiadau afresymmol yn cael eu tynnu oddi wrtho, etto y mae yn sicr fod rhyw rannau o hono yn wirionedd, gan fod Eusebius yn dywedyd iddo glywed yr Ymerawdwr yn dywedyd yr hanes.

a welodd fod eu nerth hwy wedi pallu, ac nad oedd yr un wedi ei adael. Nid oedd raid i'r Cristionogion ofni erlidigaethau yn awr. Yr oedd eu holl erlidwyr wedi eu darostwng, ac yr oedd rhai o'u llywodraethwyr yn Gristionogion fel hwythau.

[2.] Yr oedd yr Arglwydd yn awr yn ymddangos i dywallt ei farnedigaethau arswydus ar elynion ei bobl. Y mae yr hanesion a geir mewn hanesyddiaeth yn nodedig am y diwedd ofnadwy a ddaeth i'r ymerawdwr, tywysogion, câd-lywyddion, capteniaid Paganaidd, a gwyr mawr eraill, y rhai a ymegnïasant i erlid y Cristionogion. Hwy a fuont feirw yn druenus dan ddirfawr boenau corphorol, ac annhraethadwy ddychrynfeydd cydwybod; a llaw Duw oedd fel yn weledig arnynt hwy. Felly yr oedd yr hyn a ddaeth arnynt yn awr, yn hynod o addas i'w gydmaru â'u bod yn ymguddio yn ogofëydd a chreigiau y mynyddoedd. *Dat.* 6. 15, 16, 17.

[3.] Yr oedd Paganiaeth y pryd hyn mewn mesur mawr yn cael ei ddïleu trwy yr Ymerodraeth Rufeinig. Y delwau oedd yn cael eu dryllio, a'r temlau Paganaidd yn cael eu tynnu i lawr. Delwau aur ac arian oedd yn cael eu toddi, a'u bathu yn arian traul. Rhai o'r eilunod pennaf, pa rai oedd wedi eu gwneud yn gywrain, a ddygwyd i Gaer Cystenyn, ac a lusgwyd yno trwy yr heolydd wrth raffau yn ngolwg y bobl, fel y chwarddent am eu pennau. Yr offeiriaid Paganaidd a wasgarwyd ac a alltudiwyd.

[4.] Yr eglwys Gristionogol a ddygwyd i fwynhau heddwch mawr a llwyddiant. Yn awr yr oedd y swyddogion Paganaidd oll yn cael eu bwrw o'u swyddau, a Christionogion yn unig yn cael eu dyrchafu i awdurdod trwy yr holl Ymerodraeth. Yn awr yr oedd gan yr eglwys flaenoriaid Cristionogol, llywodraethwyr Cristionogol, barnwyr a swyddogion Cristionogol, yn lle ei hen rai Paganaidd. Cystenyn a ymroddodd i anrhydeddu yr esgobion, neu y gweinidogion Cristionogol, ac i adeiladu ac addurno eglwysydd; ac yn awr yr oedd eglwysydd prydferth ac ehang yn cael eu hadeiladu yn holl rannau y byd, yn lle yr hen demlau Paganaidd.

Hwn oedd y chwyldroad mwyaf ar agwedd pethau o'r un a fu ar ol y diluw. Satan, tywysog y tywyllwch, brenhin a duw y byd Paganaidd, a fwriwyd allan. Y llew rhuadwy a orchfygwyd gan Oen Duw, ïe, yn y llywodraeth gryfaf a fu ganddo erioed, sef yr Ymerodraeth Rufeinig. Yr oedd hyn yn gyflawniad hynod o'r brophwydoliaeth honno, yn *Jer.* 10. 11. " Y

duwiau ni wnaethant y nefoedd a'r ddaear, difethir hwynt o'r ddaear, ac oddi tan y nefoedd." Y rhan fwyaf o'r byd oedd yn awr yn bwrw ymaith yn hollol eu hen dduwiau a'u hen grefydd, gyda pha rai yr oeddynt wedi ymarfer er's amser hŵy o lawer nag yr oedd eu hanesion yn rhoddi cyfrif, ïe, er's amser mor faith na's gallasent olrhain ei ddechreuad. Yr oeddid yn llefaru o'r blaen am genedl yn newid ei duwiau, fel peth anadnabyddus, *Jer.* 2. 10, 11. ond yn awr yr oedd y rhan fwyaf o genhedloedd y byd adnabyddus yn bwrw ymaith yr eilunod yr oeddynt yn eu haddoli o'r blaen. Miloedd o honynt a fwriwyd ymaith i roi lle i addoliad y gwir Dduw, a Christ yr unig Iachawdwr: ac yr oedd y cyflawniad mwyaf amlwg o'r brophwydoliaeth honno, *Esa.* 2. 17, 18. "Yna yr iselir uchelder dyn, ac y gostyngir uchder dynion: a'r Arglwydd yn unig a ddyrchefir yn y dydd hwnnw. A'r eilunod a fwrw efe ymaith yn hollol." Ar ol hyn y daeth y duwiau hynny, Jupiter, Saturn, Minerva, a Juno, pa rai oeddynt o'r blaen mor enwog yn y byd, yn awr megis pethau yn unig y clywyd sôn am danynt wedi bod yn yr hen amseroedd; nid oes ganddynt addolwyr, ac ni adawyd eu temlau, a'u hallorau, ac y maent wedi pallu bod mewn bri er's llawer o gannoedd o flynyddoedd.

Y pryd hyn y daeth terfyn i'r rhan bennaf o'r hen fyd Paganaidd yn yr Ymerodraeth Rufeinig. Y chwyldroad mawr hwn, a'r newidiad a wnawd ar sefyllfa pethau yn y byd, ynghyd â'r dinystr ofnadwy a ddaeth ar y gwyr mawr a fuasai yn erlidwyr, a gydmerir i ddiwedd y byd, a dyfodiad Crist i'r farn, a'r hyn a arwyddir yn fwyaf union-gyrchol wrth y peth oedd dan y chweched sel, yr hyn oedd yn canlyn fod yr eneidiau yn llefain dan yr allor, "Pa hŷd, Arglwydd, sanctaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu, ac yn dïal ein gwaed ni ar y rhai sy'n trigo ar y ddaear?" *Dat.* 6. Y weledigaeth hon am y chweched sel, yn ol cydsyniad duwinyddion yn gyffredin, ydoedd yn golygu y cwymp hwn i'r Ymerodraeth Rufeinig, er y gallai ei bod yn fwy cyflawn yn golygu dydd y farn; ond ni's gall hynny fod y peth union-gyrchol a olygir yma, oblegid y mae gennym hanes am lawer o ddigwyddiadau ag oedd etto i'w dwyn oddi amgylch wedi hynny cyn diwedd y byd.

Y chwyldroad hwn a arddangosir hefyd trwy fod y diafol yn cael ei fwrw allan o'r nefoedd i'r ddaear. Yr oedd efe wedi ymddyrchafu, yn ei nerth a'i ogoniant, yn yr Ymerodraeth Rufeinig allüog honno, fel pe buasai ei orseddfaingc cyfuwch

a'r nefoedd. Ond yn awr efe a syrthiodd fel mellten o'r nefoedd i'r ddaear. Ei deyrnas a gyfyngwyd i fysg y cenhedloedd mwyaf barbaraidd a gwael, neu i'r rhannau iselaf o'r byd o ddynolryw. *Dat.* 12. 9. "Bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen sarph, yr hon a elwir Diafol a Satan, yr hwn sydd yn twyllo yr holl fyd: efe a fwriwyd allan i'r ddaear, a'i angelion a fwriwyd allan gyd âg ef." Pan yr oedd Satan yn temtio Crist, yr oedd efe yn addaw rhoddi iddo deyrnasoedd y byd a'u gogoniant; ond yn awr yr oedd yn rhaid iddo eu rhoddi i fynu i Grist, ïe, yn erbyn ei ewyllys. Yr oedd hyn yn gyflawniad gogoneddus o'r addewid honno a roddwyd gan Dduw i'w Fab, *Esa.* 53. 12. "Am hynny y rhannaf iddo ran gyda llawer, ac efe a ranna yr yspail gyd â'r cedyrn: am iddo dywallt ei enaid i farwolaeth: ac efe a gyfrifwyd gyd â'r troseddwyr; ac efe a ddug bechodau llaweroedd, ac a eiriolodd dros y troseddwyr." Ac yr oedd hyn yn gyflawniad helaeth o brophwydoliaethau yr Hen Destament mewn perthynas i amseroedd gogoneddus yr efengyl, yn neilltuol prophwydoliaethau Daniel. Yn awr yr ydoedd teyrnas nefoedd wedi dyfod mewn gradd gogoneddus. Fe ryngodd bodd i Arglwydd Dduw y nefoedd osod ei deyrnas i fynu ar adfeiliau teyrnas Satan. Y fath ydyw llwyddiant y prynedigaeth trwy Grist, a'r anrhydedd a osododd y Tad ar ei Fab, am y dirmyg a ddioddefodd ef ar y ddaear. Ac yn awr gwelwch i'r fath uchder gogoneddus y mae 'r adeiladaeth y buwyd yn ei hadeiladu o hyd ar ol y cwymp wedi ei chyfodi.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd am lwyddiant yr efengyl, o esgyniad Crist i'r nef hyd amser Cystenyn, nyni a allwn godi dadl gref o blaid gwirionedd y grefydd Gristionogol, a bod efengyl Iesu Grist wedi dyfod oddiwrth Dduw yn wirioneddol. Y mae y llwyddiant rhyfeddol hwn y buwyd yn llefaru am dano, a'r amgylchiadau perthynol iddo y sylwyd arnynt, yn brawf cadarn o hynny mewn amryw ystyriaethau.

(1.) Gellir sylwi, mai 'r efengyl hon, a hi yn unig, a fu y moddion gweithredol i ddwyn y byd i wybodaeth am y gwir Dduw. Ac nad ydyw y rhai hynny ag y mae y Paganiaid yn eu haddoli yn dduwiau, ac nad oes ond un gwir Dduw yn unig, sy'n beth a allwn ddirnad trwy ein rhesymau ein hunain ei fod yn wirionedd, gan y'n haddysgir felly yn yr efengyl; ac y mae hynny yn eglur gyttunol â goleuni natur, a gellir yn hawdd brofi trwy reswm ei fod yn wirionedd amlygiedig. Y mae y gwrthgredwyr (*Deists*) pennaf eu hunain yn addef y gellir profi trwy

resymau eglur, fod un Duw yn bod, ac nad oes ond un, yr hwn a greodd y byd, ac sydd yn ei lywodraethu. Ond yn awr y mae yn amlwg mai yr efengyl, a hi yn unig, a fu 'r moddion gweithredol i ddwyn dynion i wybodaeth o'r gwirionedd hwn, ac nid addysgiadau y philosophyddion. Ofer a fu eu gwaith hwy yn chwilio i mewn i hyn: "Nid adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw." 1 *Cor*. 1.21. Yr oedd y byd yn gorwedd yn yr anwybodaeth mwyaf am y gwir Dduw hyd oni ddaeth yr efengyl a'r ysgrythyrau sanctaidd i gael eu taenu ar led; ïe, hyd hynny yr oedd dynolryw yn y tywyllwch mwyaf am grefydd a'i phethau, a chanddynt y tybiau a'r ymarferiadau mwyaf afresymol, y fath ag yr edrychid arnynt yr ynfydrwydd pennaf gan yr holl genhedloedd gwaraidd. Ac felly yr oeddynt yn gorwedd y naill oes ar ol y llall, ac ni bu dim yn effeithiol i'w goleuo. Nid oedd goleuni natur, a'u rhesymau hwy eu hunain, ynghyd â holl ddoethineb eu dysgedigion, yn tyccio dim; ond yr ysgrythyrau yn unig a ddygodd y byd i gydnabod un unig wir Dduw, ac sydd yn cyfarwyddo dynion i'w addoli a'i wasanaethu ef.

Oddi yma y tarddodd y cyfaddefiad am un gwir Dduw ym mysg pawb sydd yn addef ei fod, pa un bynnag ai Cristionogion, Iuddewon, ai Mahometaniaid, ïe, trwy hyn y cafodd Deistiaid ddechreuad eu gwybodaeth am dano ef; ac i hyn y mae i'w briodoli nad ydynt hwy yn gyffredinol y pryd hyn wedi eu gadael i dywyllwch Paganaidd. Hwy a gawsant y wybodaeth hon naill ai yn union-gyrchol o'r ysgrythyrau, neu mewn traddodiad oddiwrth eu tadau, wedi iddynt hwy ei chael ar y cyntaf oddi yno. Y mae yn ddiammheuol y buasai y rhai hynny ag sydd yn awr yn dirmygu yr ysgrythyrau, ac yn ymffrostio o nerth eu rhesymau, eu bod yn ddigonol i'w harwain i wybodaeth am un unig wir Dduw, pe na buasai yr efengyl wedi ei lledaenu yn y byd, a goleuo eu hynafiaid, yn eilun-addolwyr mor anifeilaidd ag oedd dynolryw yn gyffredinol cyn i'r efengyl gael ei lledaenu trwy 'r byd. Y Mahometaniaid, y rhai sydd yn addef nad oes ond un unig wir Dduw, a fenthycciasant y dyb honno ar y cyntaf oddiwrth y Bibl; canys hwy a ddysgwyd ar y cyntaf yn y grefydd Gristionogol, ac a wrthgiliasant oddi wrthi wedi hynny. Y mae hyn yn dangos mai yr ysgrythyrau ydyw y moddion appwyntiedig gan Dduw i ddwyn y byd i wybodaeth am dano ei hun, ac nid rheswm dynol, nac unrhyw beth arall: canys y mae yn afresymol i dybied mai yr efengyl, a hi yn unig, a ddygodd yr effeithiau hyn yn weithredol, a Duw heb ei

bwriadu erioed i hynny, a hynny wedi i reswm dynol gael ei brofi am gynnifer o oesoedd yn aneffeithiol ac ofer. Os nad ydyw yr ysgrythyrau yn air Duw, yna y mae yn rhaid mai y twyll pennaf a fu erioed ydynt. Yn awr, a ydyw yn rhesymol meddwl fod Duw yn ei ragluniaeth yn gwneud defnydd o ffalsedd a thwyll, a hynny yn unig i ddwyn y byd i wybodaeth am dano ei hun?

(2.) Yr oedd llwyddiant yr efengyl yn erbyn y fath wrthwynebrwydd galluog, yn eglur ddangos fod llaw Duw o'i phlaid. Yr Ymerodraeth Rufeinig oedd y llywodraeth ddynol fwyaf galluog a fu erioed, a hi a ymroddodd yn egnïol i attal llwyddiant yr efengyl, ac i geisio darostwng eglwys Crist, yr hon oedd megis yn ei dwylaw hi. Yr oedd y Cristionogion gan mwyaf yn ddeiliaid i'r Rhufeiniaid, ac nid oeddynt byth yn cymmeryd arfau i fynu i'w hamddiffyn eu hunain; nid oeddynt yn ymarfer â dim ond amynedd, a'r fath arfau ysprydol: etto ni allodd awdurdod alluog yr Ymerodraeth eu gorchfygu; ond yn y gwrthwyneb, hwy a'i gorchfygasant hi. Yr oedd y Rhufeiniaid wedi darostwng llawer o deyrnasoedd galluog: darostyngasant Unbennaeth Groeg, pryd nad oedd yn ddeiliaid iddynt, ac hefyd yn eu gwrthsefyll i'r eithaf; ac etto ni's gallasant orchfygu yr eglwys, yr hon oedd yn eu dwylaw; ond yn y gwrthwyneb, hi a fu yn y diwedd yn fuddugoliaethus arnynt hwy.

(3.) Ni's gellir mewn un modd briodoli y lledaeniad hwn ar yr efengyl i unrhyw achos effeithiol heblaw gallu Duw ei hun. Yn hyn yr oedd rhyfeddol a mawr effeithiau y newidiad mwyaf nodedig a fu ar agwedd y byd o ddynolryw er y diluw, ac nid oedd y fath effaith a hyn heb ryw achos neillduol. Ac yn awr, pa achos a ellid ei ddychymmygu ond gallu dwyfol? Nid ydoedd nerth allanol yr offerynau a ddefnyddiwyd tu ag atto yn ddigonol i'w ddwyn ym mlaen. Yr efengyl a bregethwyd ar y cyntaf gan ychydig bysgodwyr, y rhai nid oedd ganddynt unrhyw awdurdod allanol, na braint fydol i'w cynnorthwyo. Nid eu synwyr a'u cyfrwysdra hwy eu hunain a ddygodd ym mlaen yr effeithiau rhyfeddol hynny, canys dynion tlodion a diddysg oeddynt. Nid addasrwydd yr hyn oedd ganddynt i'w ddywedyd wrth dybiau ac egwyddorion dynolryw, oedd yr achos o'u llwyddiant. Nid dychymmyg tebygol o gael derbyniad oedd hyn: cyhoeddi Gwaredwr croeshoeliedig oedd yn dramgwydd i'r Iuddewon, ac yn ffolineb gan y Groegiaid. Nid addasrwydd eu hathrawiaethau at dueddiadau dynion oedd y peth; canys nid

oes dim mwy gwrthwyneb i lygredigaethau dynion nag athrawiaethau glân yr efengyl: gan hynny ni's gall fod yr effeithiau hyn wedi deilliaw o un man ond oddiwrth allu a goruchwyliaeth ddwyfol: ac os gallu Duw a arferwyd fel achos o lwyddiant yr efengyl, yna y mae 'n rhaid mai ei air ef yw 'r efengyl; canys y mae yn ddiammheuol nad ydyw efe yn defnyddio ei awdurdod hollalluog i ddwyn ym mlaen siomedigaeth a thwyll.

(4.) Y llwyddiant hwn ydoedd yn gyttunol â rhagfynegiad Crist wrth ei apostolion, *Mat.* 16. 18. "Ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys; a phyrth uffern ni's gorchfygant hi." *Ioan* 12. 24, 31, 32. "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Oni syrth y gronyn gwenith i'r ddaear, a marw, hwnnw a erys yn unig: eithr os bydd efe marw, efe a ddwg ffrwyth lawer. Yn awr y mae barn y byd hwn: yn awr y bwrir allan dywysog y byd hwn. A minnau, os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynnaf bawb attaf fy hun." *Ioan* 16. 8. "A phan ddel (sef y Diddanydd) efe a argyhoedda y byd o bechod, o gyfiawnder, ac o farn—oblegid tywysog y byd hwn a farnwyd."

Felly y mae yr apostol Paul yn datgan, wedi i'r byd trwy ddoethineb fethu adnabod Duw, "Fod Duw wedi gweled yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu;" a bod "Duw wedi ethol ffol-bethau y byd, fel y gwaradwyddai y doethion; a gwan-bethau y byd, fel y gwaradwyddai y pethau cedyrn; a phethau distadl y byd, a'r pethau nid ydynt, fel y diddymai y pethau sydd." 1 *Cor.* 21,—28. Os bydd neb i ragfynegi unrhyw beth a fyddo yn dra thebygol o ddyfod i ben, ag y byddo yn hawdd gweled oddiwrth achosion naturiol y daw y fath beth i ben, nid ydyw hynny yn un prawf fod y peth wedi ei ddatguddio gan Dduw: ond pan y rhagfynegir am ryw beth a fyddo yn hollol annhebygol i ddyfod i ben, yr hyn a fyddo yn wrthwyneb i drefn gyffredin natur, ac etto y peth yn dyfod i ben, fel y rhagfynegwyd am dano, y mae hynny yn brawf cadarn fod y fath ragddangosiad oddiwrth Dduw. Y mae ystyriaeth o'r fath yma am ledaeniad a llwyddiant yr efengyl, yn yspaid yr amser y buom yn llefaru am dano, yn brawf cadarn hefyd fod yr ysgrythyrau hefyd yn air Duw.

3. Yr wyf yn awr yn dyfod i ddangos y modd y dygwyd ac y dygir ym mlaen lwyddiant y prynedigaeth trwy Grist, o amser dymchweliad yr Ymerodraeth Rufeinig gan Cystenyn Fawr, hyd gwymp Anghrist, a dinystr teyrnas weledig Satan ar y ddaear, yr hon ydyw y drydedd oruchwyliaeth fawr a gydmerir

yn yr ysgrythyrau i ddyfodiad Crist i'r farn ddiweddaf. Y mae yr yspaid hwn o amser yn cynnwys llawer o ragluniaethau rhyfeddol tu ag at yr eglwys Gristionogol, ac y mae y rhan fwyaf o lyfr y Datguddiad yn cynnwys rhagddywediadau am ddigwyddiadau yr amser hwn.

Fe ymddengys mai oddeutu diwedd yr amser hwn y bydd y llwyddiant mwyaf neilltuol ar bryniad y pwrcas trwy Grist, pan y byddo Anghrist wedi dyfod yn agos i'w gwymp, pryd y bydd llwyddiant mwy gogoneddus ar yr efengyl nag a fu erioed o'r blaen; ac fe ymddengys hefyd nad ydyw y rhestr o'r holl ddigwyddiadau blaenorol ond yn unig yn parottôi y ffordd i'r llwyddiant hwnnw. Mewn trefn i gael eglurach golwg ar yr amser hwn, myfi a'i hadranaf i bedwar dosparth: 1. O ddinystr yr Ymerodraeth Baganaidd hyd gyfodiad Anghrist.—2. O gyfodiad Anghrist hyd y diwygiad yn amser Luther.—3. Oddi yno hyd yr amser presennol.—4. Ac o'r amser presennol hyd gwymp Anghrist.* Ond dan y pen hwn myfi a ystyriaf y blaenaf yn unig yn cyrhaedd o ddinystr yr Ymerodraeth Baganaidd hyd gyfodiad Anghrist. Ac yma, (1.) sylwaf ar y gwrthwynebrwydd a gyfodwyd gan Satan i'r eglwys; ac (2.) ar y llwyddiant a fu ar yr eglwys er y gwrthwynebrwydd hwnnw.

(1.) Y gwrthwynebrwydd. Satan a fwriwyd allan o'r hen Ymerodraeth Baganaidd, y ddraig goch fawr honno wedi ymladd mor flin â Michael a'i angelion am y rhan fwyaf o dri chan mlynedd, a ymlidiwyd ac a orchfygwyd yn hollol o'r diwedd, fel nad ydoedd lle iddi yn y nef mwy, ond hi a fwriwyd i lawr megis o'r nef i'r ddaear; etto nid ydyw yn rhoi i fynu ei gwrthwynebrwydd i'r wraig, sef eglwys Crist, o achos yr hon y bu ei holl ymladdfa. Ond y mae gan Satan lid mawr yn wastadol tu ag at yr eglwys, ac efe a adnewyddodd ei ymosodiadau mewn dyfais newydd yn ei herbyn hi. Yr hen sarph, wedi iddi gael ei thaflu allan o'r nefoedd i'r ddaear, a fwriodd allan o'i safn ddwfr megis afon, fel y gwnai ddwyn y wraig ymaith gyd â'r afon. *Dat.* 12. 15. Y gwrthwynebrwydd a gafodd eglwys Crist cyn cyfodiad Anghrist, ydoedd yn bennaf o ddau fath: sef, naill ai trwy lygru yr eglwys â heresiau, neu trwy ymdrechiadau newyddion i adferu Paganiaeth.

1. Wedi dinystr yr Ymerodraeth Baganaidd, Satan a aflonyddodd yr eglwys â heresiau. Er fod yr Arglwydd wedi

* Sef oddeutu y flwyddyn 1750; oblegid bu farw yr Awdwr yn 1758.

gweithredu mor ogoneddus i waredu yr eglwys o afael ei herlidwyr Paganaidd, ac i ddadymchwelyd yr Ymerodraeth Baganaidd; etto nid oedd dyddiau ei hymdrech hi wedi dibennu, ac ni bu yr amser o lwyddiant a fwynhaodd yr eglwys yn nyddiau Cystenyn ond hynod o fyrr. Oediad neu seibiant ydoedd a roddwyd i'r eglwys o heddwch a distawrwydd megis am hanner awr, tra yr ydoedd y pedwar angel yn dal y pedwar gwynt rhag chwythu, hyd oni byddai i weision Duw gael eu selio yn eu talcennau. *Dat.* 8. 1. Ond yn fuan yr eglwys a aflonyddwyd yn ddirfawr gan heresiau, o ba rai y pennaf oedd cyfeiliornadau yr Ariaid a'r Morganiaid.

Yr Ariaid a ddechreuasant yn fuan ar ol i Cystenyn ddyfod i'r orsedd. Yr oeddynt yn gwadu athrawiaeth y Drindod, a Duwdod Crist a'r Yspryd Glân, gan haeru nad oeddynt yn unig ond creaduriaid. Yr heresi hon a gynnyddodd fwyfwy yn yr eglwys, ac a ddaeth ym mlaen fel diluw; ac yr ydoedd yn bwgwth dadymchwelyd y cyfan, a chludo ymaith yr holl eglwys yn hollol, yn gymmaint a bod braidd yr holl Gristionogion wedi myned yn Ariaid cyn diwedd yr oes honno, yr hyn oedd cyn dibennu y pedwerydd canrif. Rhai ymerawdwyr a fu yn ddilynol i Cystenyn, oeddynt yn Ariaid, hyd oni ddaeth felly yr Ariaid i fod yn blaid gryfaf, ac i feddu yr awdurdod wladol o'u plaid, a hwy a godasant erlidigaeth fawr ar y wir eglwys. Felly da y gellid cydmaru yr heresi hon i lifeiriant yn tarddu allan o safn y ddraig, yr hwn oedd yn bwgwth dwyn y wraig ymaith.

Heresi Morgan a gyfododd yn nechreu y canrif nesaf Fe'i dechreuwyd gan Pelagius, yr hwn a anwyd yn Mrydain; ei enw Brytanaidd oedd Morgan. Yr ydoedd efe yn gwadu pechod gwreiddiol, a dylanwadau Yspryd Duw yn nychweliad pechaduriaid; ac yn dal gallu ewyllys rhydd, a llawer o bethau o'r un tuedd: yn y modd hwn yr eglwys a aflonyddwyd yn ddirfawr gan yr heresi hon am gryn yspaid o amser. Prif wrthwynebwr Morgan, oedd St. Awstin, ac efe a ysgrifenodd o blaid y ffydd uniawn-gred.

[2.] Math arall o wrthwynebrwydd a gyfododd Satan yn erbyn yr eglwys, ydoedd ei ymegnïadau i adferu Paganiaeth. A'i ymosodiad cyntaf i'w adferu yn yr Ymerodraeth Rufeinig, ydoedd trwy Julian y gwrthgiliwr. Julian ydoedd nai i Cystenyn Fawr. Pan fu farw Cystenyn, efe a adawodd yr Ymerodraeth i'w dri mab; a phan y buont hwy feirw, Julian a deyrnasodd yn eu lle hwy. Yr oedd efe wedi bod yn Gristion proffesedig;

ond efe a wrthgiliodd oddiwrth Gristionogaeth, ac a droes yn Bagan; ac o herwydd hynny y gelwir ef y gwrthgiliwr. Pan y daeth i'r orsedd efe a ymdrechodd â'i holl egni i ddadymchwelyd yr eglwys Gristionogol, ac i osod i fynu Baganiaeth drachefn yn yr Ymerodraeth. Efe a ddiswyddodd y swyddogion Cristionogol, ac a osododd rai Paganaidd yn eu lle. Efe hefyd a ailadeiladodd y temlau Paganaidd, ac a fu yn erlidiwr tra chreulawn ar y Cristionogion, a hynny, fel y tybir, yn erbyn goleuni ei gydwybod. Byddai yn arfer galw Crist mewn dirmyg yn Galilead. Efe a laddwyd, yn ei ryfeloedd â'r Persiaid, trwy archoll gwaewffon. Pan y deallodd fod ei archoll yn farwol, efe a gymmerth beth o'i waed ar ei law, ac a'i taflodd i fynu tu a'r nefoedd, gan waeddi, "O Galilead, ti a'm gorchfygaist." Y mae duwinyddion yn gyffredinol yn tybied iddo bechu y pechod anfaddeuol.

Satan a ymosododd hefyd mewn ffordd arall i geisio adferu Paganiaeth yn yr Ymerodraeth Rufeinig, sef, trwy drais oresgyniadau a buddugoliaethau cenhedloedd Paganaidd. Canys yn yr amser hwn y daeth y Gothiaid, a'r Vandaliaid, a chenhedloedd Barbaraidd eraill ag oedd yn byw yn ngogledd-barth yr Ymerodraeth Rufeinig, ac a'i trais oresgynasant hi; a hwy a ennillasant fuddugoliaethau mawrion, hyd oni ddarfu iddynt ddylifo dros yr Ymerodraeth. Yn y pummed canrif, hwy a gymmerasant ddinas Rufain; ac yn ddiweddaf, darostyngasant a chymmerasant feddiant yn yr Ymerodraeth Orllewinol, fel y gelwid hi, ac a'i rhanasant hi yn ddeg teyrnas, pa rai ydyw deg corn y bwystfil; canys fe ddywedir mai y deg brenhin a gyfodai yn niwedd yr Ymerodraeth Rufeinig ydyw y deg corn: y rhai hyn hefyd oeddynt yn cael eu harddangos trwy y deg bysedd traed yn nelw Nebuchodonosor. Y trais-oresgyniad, a buddugoliaethau y cenhedloedd Paganaidd hyn, ydyw yr hyn a rag-fynegir, fel y tybir, yn *Dat*. 8. a'r hyn a ganlynodd udganiad y pedwar udgorn cyntaf. A thrwyddynt hwy yr adferwyd Paganiaeth drachefn, mewn rhan, am yspaid o amser, er iddi o'r blaen gael ei dadymchwelyd.

(2.) Yr wyf yn awr yn dyfod ym mlaen i sylwi ar y llwyddiant a fu ar yr efengyl yn yr yspaid hwn o amser, er y gwrthwynebrwydd a fu iddi.

[1.] Fe orthrechwyd Satan yn ei wrthwynebrwydd. Er fod y ddraig yn bwrw allan o'i safn y fath ddyfroedd ar ol y wraig, i geisio ei dwyn hi ymaith, etto, ni chyrhaeddodd ei diben; ond

y ddaear a gynnorthwyodd y wraig, ac a agorodd ei genau, ac a lyngcodd yr afon, yr hon a fwriodd y ddraig o'i safn. *Dat.* 12. 16. Yr heresiau hynny, pa rai a lwyddodd mor fawr, etto mewn amser a ddiflanasant, ac athrawiaeth y gwirionedd a adferwyd drachefn. Ac mewn perthynas i ymgyrch Julian, fe'i siomwyd trwy ei farwolaeth ef.

[2.] Tra y parhaodd yr yspaid hwn o amser, yr efengyl a ledaenwyd ym mhellach na chyffiniau yr Ymerodraeth Rufeinig Baganaidd. Bu gryn ledaeniad arni yn amser Cystenyn yn yr India Ddwyreiniol, yn bennaf trwy weinidogaeth un Frumentius. Lluaws mawr o'r Iberiaid, pa rai oeddynt yn Baganiaid, a ddychwelwyd at Gristionogaeth trwy lafur dynes Gristionogol, yr hon oedd yn enwog mewn duwioldeb, ag oeddynt hwy wedi ei chymmeryd yn gaethes mewn rhyfel. Ac ym mysg amrywiol genhedloedd Barbaraidd eraill, pa rai nid oeddynt o fewn terfynau yr Ymerodraeth Rufeinig, lluaws mawr a ddygwyd i dderbyn yr efengyl trwy siamplau a hyfforddiadau y rhai a gymmerasid yn gaethion mewn rhyfel. Wedi hyn, sef oddeutu y flwyddyn o oed Crist 372, yr efengyl a gyhoeddwyd yn Arabia; ac hefyd ym mysg rhai cenhedloedd gogleddol: yn neilltuol, tywysog gwlad y Gothiaid a ddaeth yn Gristion oddeutu yr amser hwn, a lluaws mawr o'i bobl a dderbyniasant y grefydd Gristionogol gyd âg ef. Tua diwedd y canrif hwn, fe bregethwyd yr efengyl ym mysg y Persiaid; ac hefyd y Scythiaid, pobl Farbaraidd y mae yr apostol yn sôn am danynt yn *Col.* 3. 11. " Barbariad na Scythiad, caeth na rhydd." Oddeutu y flwyddyn 430, dychwelwyd trigolion Burgyndi, mewn modd nodedig, i'r ffydd Gristionogol. Yn yr oes hon hefyd y derbyniodd trigolion yr Iwerddon Gristionogaeth, pa rai oeddynt hyd yn hyn yn Baganiaid. Ac ynghylch yr un amser y lledaenwyd yr efengyl yn yr Alban, ac amryw leoedd eraill. Yn y ganrif nesaf y darfu i un Zathus, brenhin y Colchiaid, ymwrthod â Phaganiaeth, a derbyn y grefydd Gristionogol. Amryw genhedloedd Barbaraidd eraill hefyd a wnaethant yr un modd, y rhai ni enwaf yn bresennol.

Sylwais yn fyrr fel hyn ar y digwyddiadau rhagluniaethol ag oedd yn dwyn perthynas â llwyddiant yr efengyl, o amser Cystenyn hyd gyfodiad Anghrist.

4. Yr wyf yn awr yn dyfod at yr ail ran o'r amser, o ddyddiau Cystenyn hyd ddinystr Anghrist, sef o amser ei gyfodiad hyd y diwygiad yn amser Luther, ac eraill. A hwn ydoedd yr

amser tywyllaf, a'r dyddiau mwyaf echrydus, a welodd yr eglwys Gristionogol erioed, ac, fe allai, a wel hi byth. Amser cystudd yr eglwys, fel y sylwyd o'r blaen, ydyw o adgyfodiad Crist hyd ddinystr Anghrist, oddieithr fod y dyddiau hynny megis yn cael eu byrhau, trwy ychydig seibiant ac amseroedd o oediad y mae Duw yn eu caniattâu, er mwyn yr etholedigion. *Mat.* 24. 22. Ond tra y parhaodd yr amser, o gyfodiad Anghrist hyd y Diwygiad Protestanaidd, ydoedd yr yspaid y bu yr eglwys Gristionogol mewn tywyllwch mawr. Canys hi a fu am amryw gannoedd o flynyddoedd mewn amgylchiad hynod o anamlwg, fel y wraig yn yr anialwch, wedi ei chuddio braidd allan o sylw. *Dat.* 12. 6. Wrth lefaru am ddigwyddiadau yr amser hwn, 1. Sylwaf ar ddichellion y diafol yn erbyn yr eglwys yn yr yspaid hwn.—2. Y modd y cynnaliwyd eglwys Crist ynddo.

(1.) Sylwaf ar ystrywiau y diafol yn erbyn teyrnas Crist tra parhaodd yr yspaid hwn. Yr oedd Satan wedi llunio llawer o bethau mawrion yn erbyn yr eglwys o'r blaen; ond efe a siomwyd yn ei amcanion drachefn a thrachefn. Michael a'i angylion a gawsant fuddugoliaeth ogoneddus arno. Pa mor ofnadwy oedd ei wrthwynebiadau tra parhaodd yr Ymerodraeth Baganaidd; a pha mor ogoneddus oedd y fuddugoliaeth a'r oruchafiaeth a gafodd Crist arno yn amser Cystenyn! Ac, i barottoi y ffordd i gael goruchafiaeth fwy etto arno, fe ryngodd bodd i Dduw ei oddef i adnewyddu ei nerth, ac i wneuthur yr hyn a allai ei gyfrwysdra a'i allu ei ddwyn ym mlaen; ac o herwydd hynny y mae efe yn goddef iddo ffurfio ei gynlluniau, a sefydlu ei amcanion hunanol, tros hir amser: ac y mae yn caniattâu iddo ddwyn ei amcan ym mlaen am yspaid maith, hyd braidd i lyngcu yr eglwys i fynu; ac i arfer ei falchder, a llywodraeth bron ddiwahardd, am hir amser cyn i Grist ddyfod i'w orchfygu, ac i hollol ddinystrio ei deyrnas weledig ar y ddaear, fel y gwneir yn ninystr Anghrist, pan y dengys Crist ei hun goruwch holl allu a chyfrwysdra y diafol. Dau brif orchwyl y diafol, pa rai y mae efe yn eu gweithredu yn yr yspaid hwn yn erbyn teyrnas Crist, ydyw dal i fynu ei deyrnasoedd Anghristaidd a Mahometanaidd, y rhai a fu, ac ydynt o hyd, o fawr nerth ac ehangder; a'r ddwy ynghyd wedi llyngcu i fynu yr hen Ymerodraeth Rufeinig; yr un Anghristaidd yn cynnwys yr Ymerodraeth Orllewinol; a'r un Fahometanaidd, y Ddwyreiniol. Fe fydd goruchafiaeth Crist yn gynnwysedig, yn bennaf, yn ninystr y rhai hyn, ac ar ddyfodiad i mewn amseroedd gogoneddus yr

eglwys. Sylwn yma, y modd y cyfododd Satan y ddwy deyrnas fawr hyn, ac fel y mae o hyd yn eu cynnal mewn gwrthwynebiad i deyrnas Crist.

[1.] Mewn perthynas i deyrnas Anghrist. Fe ymddengys mai hwn ydyw y prif orchestwaith o holl ddyfeisiau y diafol; ac o herwydd hynny y gelwir ef, mewn modd arbennig, "y dyn pechod," 2 *Thes.* 2. 4. fel pe bai yn rhagori mewn pechadurusrwydd ar ei holl ddyfeisiau eraill. Fe'i gelwir hefyd yn Anghrist, yr hwn sydd enwad yn arwyddo gwrthwynebwr Crist. Nid am mai efe yw unig wrthwynebwr Crist; canys y mae yr apostol Ioan yn sylwi fod llawer o Anghristiau yn ei ddyddiau ef, 1 *Ioan* 2. 18,—22. ond etto gelwir hwn yn Anghrist, fel pe na bai yr un arall, oblegid ei fod mor hynod uwchlaw y gwrthwynebwyr eraill. Felly hefyd y mae y ddyfais hon o eiddo y diafol yn cael ei galw, dirgelwch yr anwiredd. 2 *Thes.* 2. 7. Ac nid ydym yn gweled hanner cymmaint o sôn am un gelyn i Grist a hwn ym mhrophwydoliaethau y Datguddiad, a dinystr yr un â chymmaint o ddedwyddwch yn ei ganlyn i'r eglwys. Gwel hefyd, *Dan.* 7. 20, 21. 1 *Tim.* 4. 1. 1 *Ioan* 4. 3.

Dyfais ydoedd hon o eiddo y diafol i droi gweinidogion yr eglwys Gristionogol i'w wasanaeth ei hun, ac i newid angylion yr eglwysi hynny i fod yn angylion syrthiedig. Ac yn y gorthrwm, coel-grefydd, eilun-addoliaeth, a'r erlidigaeth, a godwyd i fynu ganddo, efe a ddychymmygodd ffordd i osod i fynu drachefn ddelw hen Baganiaeth; ïe, yn fwy nag adferu yr hyn a gollwyd o'r Ymerodraeth trwy ddadymchweliad Paganiaeth yn amser Cystenyn; fel, trwy hyn, y byddai i ben y bwystfil, yr hwn a archollwyd i farwolaeth yn nyddiau Cystenyn, gael iachâu ei glwyf marwol yn Anghrist. *Dat.* 13. 3. A'r ddraig, yr hon oedd o'r blaen yn teyrnasu yn Ymerodraeth Baganaidd Rhufain, ag oedd wedi ei bwrw allan oddi yno, wedi i'r bwystfil â'r saith ben a'r deg corn godi o'r môr, a roddodd ei gallu, ei gorsedd-faingc, a'i hawdurdod iddo: a'r holl fyd a ryfeddodd ar ol y bwystfil.

Yr wyf ym mhell oddiwrth benderfynu pa bryd y dechreuodd Anghrist deyrnasu, yr hwn bwngc ag y mae cymmaint o ddadleu wedi bod yn ei gylch ym mysg duwinyddion ac esponwyr. Y mae yn sicr na ddechreuodd y 1260 dyddiau, neu flynyddoedd, sef yspaid teyrnasiad Anghrist, ag y sonir mor fynych am danynt yn yr ysgrythyr, cyn y flwyddyn 479 o oed Crist; oblegid, pe buasent wedi dechreu cyn hynny, buasent wedi dibennu, ac

Anghrist wedi cwympo cyn hyn. Ond cyfodiad Anghrist ydoedd yn raddol. Yr eglwys Gristionogol a ymlygrodd, mewn llawer o bethau, yn fuan wedi amser Cystenyn; ac a gynnyddodd yn fwyfwy orfer-goelus yn ei haddoliad, trwy ychwanegu, yn raddol, seremonïau at addoliad Duw, hyd nes dygwyd, o'r diwedd, addoliad seintiau i mewn, a gosod delwau i fynu yn yr eglwysydd; a'r offeiriaid, yn gyffredinol, yn ymlygru; ac esgob Rhufain, yn neilltuol, yn honni mwyfwy o awdurdod iddo ei hun. Yn yr amseroedd boreuol, nid ydoedd efe yn unig ond gweinidog cynnulleidfa; cymmedrolwr yr henuriaid; prif esgob neu batriarch, swydd gyfartal i arch-esgob. Wedi hynny fe honnodd yr awdurdod i fod yn esgob cyffredinol i'r holl eglwys Gristionogol; ac fe'i gwrthwynebwyd yn hynny am yspaid o amser, ond efe a gadarnhawyd yn ei gais gan awdurdod yr Ymerawdwr Dwyreiniol Phocas, yn y flwyddyn 606. Wedi hynny efe a honnodd awdurdod tywysog daearol; ac, o ganlyniad, byddai yn arfer dwyn dau gleddyf, i arwyddo awdurdod ysprydol a thymhorol: a chan honni mwyfwy o awdurdod iddo ei hun, hyd nes ydoedd, o'r diwedd, fel rhaglaw Crist ar y ddaear; ac yn honni yr awdurdod iddo ei hun ag a fuasai Crist yn ei harfer pe buasai yn bresennol ar y ddaear; ac yn teyrnasu ar ei orseddfaingc gyd â'r fath awdurdod ag sydd yn perthyn i Dduw yn unig ar y ddaear; a'r holl dywysogion Cristionogol yn ymostwng iddo. Yr oedd efe, ac y mae etto i raddau, yn honni awdurdod i goroni tywysogion, ac i'w difreinio wrth ei ewyllys; ac yn gwneud i freninoedd ac ymerawdwyr gusanu ei draed. Ymerawdwyr a fyddai yn derbyn eu coronau o'i ddwylaw ef: tywysogion a fyddai yn ofni anfoddlonrwydd y Pab gymmaint a phe buasai tân o'r nefoedd yn eu goddiweddyd. Canys os byddai efe yn gweled yn oreu ysgymuno tywysog, byddai ei holl ddeiliaid yn cael eu rhyddhâu ar unwaith oddiwrth rwymau ufudddod iddo; ïe, byddent dan rwymau i ymwrthod â'u hufudd-dod llywodraethol dan boen ysgymmundod: ac nid hynny yn unig, ond gallasai y neb a fynnai ladd y cyfryw dywysog, pa le bynnag y ceid gafael arno. Ym mhellach, yr oedd pawb bron yn credu fod gan y Pab awdurdod i ddamnio dynion wrth ei ewyllys; canys pwy bynnag a fyddai farw dan ei ysgymmundod ef, fe edrychid arno yn sicr o fod yn golledig. Amryw Ymerawdwyr a fuont feirw yn druenus o herwydd hynny; ac os byddai bobl unrhyw wlad neu deyrnas yn ei anfoddio ef, yr oedd ganddo awdurdod i roi deddf-waharddiad, trwy yr hon y byddai

gweinyddiad yr ordinhadau crefyddol yn ddirym. Ni's gallasai fod grym yn y sacramentau, y pregethau, na'r pardynau, hyd oni byddai i'r ddeddf-waharddiad yma gael ei thynnu ymaith; felly byddai y bobl yn eu hystyried eu hunain mewn sefyllfa ddamnedig tra byddai y ddedfryd yn aros arnynt, ac yn peri cymmaint o ddychryn a phe buasai rhyferthwy o dân a brwmstan yn dyfod o'r nefoedd. Pan fyddai tywysog, neu ryw bobl, yn digio y Pab, byddai raid i dywysogion eraill gymmeryd traul fawr i gyflawni ei lid ef arnynt.

Megis yr oedd y Pab, a'i offeiriaid, yn yspeilio y bobl o'u rhyddid gwladol, a'u breintiau eglwysig; felly hefyd yr oeddynt yn eu hyspeilio o'u meddiannau, gan ddihysbyddu yr holl wledydd Cristionogol o'u harian, a chasglu i'w goffrau ef, trwy gyllidau yr offeiriaid, pardynau a maddeuant-lythyrau, bedyddiadau, gor-enneiniadau, gwaredigaeth o'r purdan, a chant o'r fath bethau. Gwelir fel y mae y pethau hyn yn cyttuno â'r prophwydoliaethau y sylwyd arnynt o'r blaen, sef, 2 *Thes.* 2. 3, 4. *Dan.* 7. 20, 21. *Dat.* 13. 6. a 17. 3, 4.

Yr oedd hefyd anwybodaeth ac ofer-goeledd yn cynnyddu trwy yr yspaid hwn o amser. Ac i'r diben i ddwyn ym mlaen ddibenion annuwiol ac anysgrythyrol y Pab, fe dynnwyd yr ysgrythyrau o ddwylaw y cyffredin; ac, yn lle lledaenu gwybodaeth ym mysg y bobl, yr oeddynt yn ddiwyd yn meithrin anwybodaeth. Ac yr ydoedd yn ddihareb dderbyniol yn eu mysg, mai mammaeth duwioldeb ydyw anwybodaeth: ac mor dywyll ydoedd yr amseroedd hynny, hyd nes oedd dysgeidiaeth ddynol braidd wedi diffoddi yn y byd. Y rhan fwyaf o'r offeiriaid oeddynt yn anwybodus Farbaraidd, oddieithr y wybodaeth uffernol oedd ganddynt i orthrymmu a thra-arglwyddiaethu ar eneidiau y bobl. Ofer-goeledd ac annuwioldeb eglwys Rufain oedd yn cynnyddu waeth-waeth hyd amser y Diwygiad; a'r holl fyd Cristionogol oedd wedi ei arwain ymaith yn y dirywiad mawr hwn, oddieithr eglwys Groeg, a rhyw rai eraill, pa rai oedd wedi suddo yn gyd-raddol mewn tywyllwch ac ofer-goeledd; oddigerth hefyd yr ychydig bobl oedd gan Duw, pa rai a arddangosir trwy gyffelybiaeth y wraig yn yr anialwch, a'r ddau dyst, am ba rai y cawn sylwi etto.

Hon ydoedd y bennaf o'r ddwy deyrnas fawr a gododd y diafol i fynu yr amser hwn mewn gwrthwynebrwydd i deyrnas Crist.

[2.] Yr wyf yn dyfod i son am y llall, sef teyrnas Mahomet,

yr hon mewn amryw ystyriaethau sydd yn hynod o debyg i'r un y buwyd yn llefaru am dani eisoes. Y mae hon hefyd wedi ei chodi i fynu gan Satan mewn gwrthwynebrwydd i deyrnas Crist, ac y mae ganddi awdurdod hynod o allnog ac ehang. Fe gyfodwyd hon i fynu yn yr Ymerodraeth Ddwyreiniol, megis ag y cyfodwyd yr un Anghristaidd yn yr Orllewinol.

Mahomet a anwyd yn Arabia, yn y flwyddyn o oed Crist 571. Pan ydoedd oddeutu deugain oed, efe a ddechreuodd gyhoeddi mai prophwyd mawr oedd efe, wedi ei anfon gan Dduw i osod i fynu grefydd newydd, i'r hon yr oedd efe i'w ystyried yn bennaeth nesaf at Dduw. Efe a gyhoeddodd ei Alcoran, yr hwn yr honnai iddo ei dderbyn oddiwrth yr angel Gabriel; a chan ei fod yn ddyn synwyr-gall, ac yn perchen llawer o gyfoeth, ac yn byw ym mysg pobl ag oedd yn hynod o anwybodus, ac yn hynod ranedig yn eu barnau am bethau crefyddol, a thrwy gyfrwysdra, ac addewidion teg am baradwys bleserau cnawdol, efe a ennillodd luaws o ganlynwyr; a hwy a'i gosodasant ef i fynu yn dywysog iddynt, ac a ledaenasant ei grefydd ef trwy rym y cleddyf, gan osod allan fod ymladd o'i blaid yn rhyglyddu paradwys. Yn y modd hyn cynnyddodd ei blaid yn ddirfawr, a hwy a aethant ym mlaen gan ymladd a gorchfygu y gwledydd cymmydogaethol; a hwy a gynnyddasant yn raddol hyd oni ddarfu iddynt ddarostwng rhan fawr o'r byd. Yn gyntaf y Saraceniaid, pa rai oeddynt rai o'i ganlynwyr, ac yn cyfanneddu Arabia, lle y buasai Mahomet yn byw, yn y flwyddyn 700, a ddechreuasant ddifrodi yr Ymerodraeth Rufeinig yn arswydus. Gorchfygasant lawer o wledydd oedd yn perthyn i'r Ymerodraeth, ac a fuont yspaid maith o amser yn fuddugoliaethus. Fe dybir mai y rhai hyn a feddylir wrth y locustiaid yr ydym yn darllen am danynt yn y nawfed bennod o'r Datguddiad.*

Wedi hynny y Tyrciaid, pa rai oeddynt bobl eraill, ac yn wahanol oddiwrth y Saraceniaid yn y dechreuad, ond yn ganlynwyr i'r Mahomet, a ddarostyngasant yr holl Ymerodraeth Ddwyreiniol. Dechreuasant eu hymerodraeth oddeutu y flwydd-

* Fe allai fod y Saraceniaid yn cael eu cyffelybu i locustiaid, yn 1. Am eu bod braidd yn aneirif, ac yn heidio fel locustiaid.—2. Am fod Arabia, eu gwlad, yn llawn o locustiaid.—3. Y mae hanesydd Arabaidd yn dywedyd fod yr haul fel pe buasai hanner diffyg arno o Hydref hyd Mehefin yn y flwyddyn 620, yr amser oedd Mahomet yn hyfforddi ac yn addysgu ei ddisgyblion, yr hwn ddiffyg a allasai fod oddiwrth y locustiaid yn heidio ac yn llenwi yr awyr.

yn o oed Crist 1296, ac ynghylch y flwyddyn 1300 dechreuasant oresgyn Ewrop, meddiannasant Gaer Cystenyn, ac felly daethant yn feistri ar yr holl Ymerodraeth Ddwyreiniol yn y flwyddyn 1453. Yn y modd hyn daeth yr holl ddinasoedd hynny lle yr oedd eglwysi enwog ynddynt, megis Jerusalem, Antiochia, Corinth, Ephesus, &c. yn awr i fod yn ddeiliaid i'r Tyrciaid. Meddiannasant Gaer Cystenyn hefyd, yr hon a gafodd ei henw oddiwrth Cystenyn Fawr, ac a wnawd ganddo ef yn brif ddinas Ymerodraeth Rhufain. Fe dybir mai y Tyrciaid ydyw y rhai hynny y cyfeirir attynt yn y brophwydoliaeth am y gwyr meirch yn *Dat.* 9. 15.* A'r gweddill Cristionogion yn y parthau hynny, y rhai, gan mwyaf, ydynt yn perthynu i Eglwys Groeg, sydd mewn cyflwr o gaethiwed truenus dan y Tyrciaid, ac yn cael ymddwyn tu ag attynt yn farbaraidd a chreulon, ac y maent yn hynod o anwybodus mewn egwyddorion Cristionogaeth, ac yn gyffredinol yn dra ofergoelus.

Dangosais yn y modd hyn pa weithredoedd mawrion a weithredwyd gan Satan yn yr yspaid hwn mewn gwrthwynebrwydd i deyrnas Crist.

(2.) Yr wyf yn dyfod i ddangos y modd y cynnaliwyd eglwys Crist trwy yr amser tywyll hwn.—Ac yma,

[1.] Y mae yn beth i sylwi arno, fod rhai cenhedloedd Cristionogol wedi sefyll yn hir cyn cydsynio â rhwysg a llygredigaethau Eglwys Rufain. Er fod yr holl fyd yn rhyfeddu ar ol y bwystfil, etto ni ddarfu i'r holl genhedloedd syrthio i'w gyfeiliornadau ef ar unwaith. Gyda llawer ymrysonfa a gwrthwynebrwydd y dygwyd llawer o brif lygredigaethau Eglwys Rufain i mewn; ac yn neilltuol pan y rhoddodd y Pab allan ei fod yn esgob cyffredinol, llawer o eglwysi a'i gwrthwynebasant yn fawr, ac nid ymostyngasant am hir amser i'w hòniad afresymmol. Ac felly, pan y dygwyd delwau i'r eglwysydd gyntaf, yr oedd llawer yn gwrthwynebu i'r eithaf; a'r un modd hefyd mewn perthynas i amrywiol o lygredigaethau eraill Eglwys Rufain. Y rhai hynny ag oedd yn byw agosaf i ddinas Rhu-

* Y mae yn beth nodedig i sylwi arno, mai oddeutu yr amser hwn y dychymmygwyd y ffordd i wneuthur powdwr gwn, a magnelau; ac y mae yn ddiammeu fod llawer o ymadroddion yn y bennod hon yn cyfeirio at hynny yn union-gyrchol. Gwel *adn.* 17, 18, 19. A pha fodd bynnag y terfyna yr ymrysonfa bresennol rhwng y Tyrciaid a'r Groegiaid, diau na bydd i'r Tyrciaid ddiangc rhag barn Duw.

fain oeddynt yn cydsynio yn gyntaf â hi, ond yr oedd llawer o'r rhai pell, na's gallesid am hir amser eu denu i roddi eu gyddfau dan yr iau. Y mae hanesion eglwysig yn dywedyd mai felly yr oedd y rhan fwyaf o eglwysi Lloegr, Ysgotland, a Ffraingc, a'u bod hwy wedi cadw at yr hen athrawiaeth yn ei phurdeb, a'r addoliad yn ol y rheol osodedig, yn llawer hŵy nag eraill, pa rai oedd yn nes at eisteddle y bwystfil.

[2.] Yr oedd ym mhob oes trwy yr amser tywyll hwn rai personau neilltuol yn holl barthau y byd Cristionogol, pa rai oedd yn dwyn tystiolaeth yn erbyn trais a llygredigaethau Eglwys Rufain. Ni bu un oes ar Anghrist, ïe, yr amser tywyllaf, nad ydyw haneswyr eglwysig yn sôn am lawer ag oedd yn ffieiddio y Pab a'i seremonïau eilun-addolgar, ac yn dadleu dros yr athrawiaeth iachus, a'r purdeb a fuasai gynt yn yr addoliad. Fe ryngodd bodd i Dduw gynnal dilyniad dirwystr o dystion dros y gwirionedd trwy yr amser hwn yn Germani, Ffraingc, Brydain, a gwledydd eraill. Llawer o honynt oeddynt yn bersonau neilltuol, ac amryw weinidogion y gair, a rhai swyddogion gwladol a phersonau enwog. Ac yr oedd lluaws ym mhob oes yn cael eu herlid a'u lladd am eu tystiolaeth.

[3.] Heblaw personau neilltuol, ag oedd yn wasgaredig yma a thraw, yr oedd pobl a elwid y Waldensiaid, y rhai oedd yn byw yn ddidoledig oddiwrth y gweddill o'r byd, ac yn cadw eu hunain yn ddihalog, ac yn wastadol trwy yr amser tywyll hwn yn dwyn eu tystiolaeth yn erbyn Eglwys Rufain. Y lle yr oeddynt yn byw ydoedd y Vaudois, neu y pum dyffryn Piedmont, gwlad hynod o fynyddig, sydd rhwng Ffraingc ac Itali. Y lle yr oeddynt yn cyfanneddu ynddo sydd braidd yn anhyffordd, ac wedi ei amgylchynu gan y mynyddoedd uchel hynny a elwir yr Alps. Y mynedfa tros y mynyddoedd anghyfannedd hyn ydoedd yn hynod o ddyrys ac anhawdd, fel yr oedd y dyffrynoedd lle yr oedd bobl hyn yn byw braidd yn anhygyrch. Yn y lleoedd hynny y buont byw amryw oesoedd, fel pe buasent yn unig mewn sefyllfa ddidoledig oddiwrth yr holl fyd, heb fod ganddynt ond ychydig iawn i'w wneuthur âg unrhyw bobl eraill; ac yn gwasanaethu Duw yno yn ol purdeb yr hen gyfarwyddiadau i'w addoli ef, ac heb ymostwng i Eglwys Rufain. Y mae yn debygol mai y lle yma yn y wlad anial fynyddig hon ydyw y man y cyfeirir atto yn *Dat.* 12. 6. fel lle wedi ei barottoi gan Dduw i'r wraig, fel y maethid hi yno yspaid teyrnasiad Anghrist.

Y mae rhai o'r ysgrifenwyr Pabaidd eu hunain yn addef na

ddarfu i'r bobl hyn erioed ymostwng i Eglwys Rufain. Un o honynt, wrth lefaru am y Waldensiaid, a ddywed, mai heresi y Waldensiaid ydyw yr hynaf yn y byd. Fe dybir i'r bobl hyn gymmeryd y lle anial hwn yn ddirgelfa ym mysg y mynyddoedd, i ymguddio rhag llymdra yr erlidigaethau Paganaidd cyn amser Cystenyn Fawr; ac yn y modd hyn yr oedd y wraig yn ffoi i'r diffaethwch oddiwrth wyneb y sarph. "A rhoddwyd i'r wraig ddwy o adenydd eryr mawr, fel yr ehedai hi i'r diffaethwch, i'w lle ei hun: lle yr ydys yn ei maethu hi yno dros amser, ac amseroedd, a hanner amser, oddiwrth wyneb y sarph." Wedi iddynt hwy gartrefu yn y modd hyn, yr oedd eu hiliogaeth yn aros yno o oes i oes wedi hynny; ac yr oeddynt felly wedi eu didoli oddiwrth y gweddill o'r byd, gan y muriau naturiol hynny, ac hefyd gan Dduw yn ei ras, ac nid oeddynt byth yn cyfrannogi o'r llygredigaethau ag oedd yn gorlifo y byd.

Y rhai hyn yn neilltuol ydoedd y gwyryfon hynny, pa rai ni halogwyd, ond a'u cadwasant eu hunain yn bur i Grist yn unig; hwy a ddilynasant yr Oen, eu priod ysprydol, i ba le bynnag yr elai, hyd yn oed i'r anialwch gwag erchyll hwnnw. *Dat.* 14. 4, 5. Eu hathrawiaeth a'u dull yn addoli, yn ol pob hanes sydd am danynt, ydoedd yr un a'r athrawiaeth a'r addoliad Protestanaidd; ac yn ol addefiad ysgrifenwyr Pabaidd, yr oeddynt yn hynod o fanwl yn eu bucheddau, yn elusengar, ac yn flagurog mewn rhinweddau Cristionogol eraill. Yr oeddynt yn byw mewn tlodi o ran pethau allanol yn y wlad anial hon, canys hynny a ddewisasant yn hytrach na chydymffurfio â mawrion lygredigaethau y byd.*

Gan eu bod yn byw mewn lle mor ddirgelaidd, hwy a fuont amser maith cyn dyfod dan sylw y Rhufeinwyr; ond o'r diwedd daethant dan ystyriaeth, a'u gelynion a aethant allan yn fyddinoedd galluog yn eu herbyn, ac a syrthiasant arnynt mewn creulondeb gorwangcus, gan eu rhoddi hwy i farwolaeth yn wyr, ac yn wragedd, a phlant, gyda phob arteithiau a allasent ddychymmygu; ac felly y parhausant i'w herlid, heb roddi iddynt ond ychydig seibiant, am amrywiol gannoedd o flynyddoedd, hyd oni yrwyd llawer o honynt o'u hen drigfannau yn

* Yr oedd yr hen Waldensiaid yn eu coffadwriaeth am eu dechreuad fel corph, yn myned cyn belled ag oddeutu y flwyddyn 637, ac felly yn cadw i fynu ddilyniad o'r athrawiaeth apostolaidd yn ddirwystr hyd y Diwygiad Protestanaidd, ac yna ymunasant â'r Protestaniaid yn gyffredinol.

nyffrynoedd Piedmont, ac amryw o honynt a ffodd i holl barthau Ewrop, gan ddwyn eu hathrawiaeth i'w canlyn, yr hyn a fu yn foddion i ddychwelyd lluaws i'r iawn ffordd. Ond ni's gallasai eu herlidwyr, er eu holl greulonderau, ddiwreiddio eglwys Dduw; felly yr oedd ei addewid ef yn cael ei chyflawni, "a phyrth uffern ni's gorchfygant hi."

[4.] Oddeutu y rhan olaf o'r amser tywyll hwn, fe ymddangosodd amryw dduwinyddion enwog i amddiffyn y gwirionedd yn gyhoeddus, ac i dystiolaethu yn erbyn llygredigaethau Eglwys Rufain, a hwy a gawsant luaws o ganlynwyr. Y cyntaf a'r pennaf o'r rhai'n oedd dduwinydd Seisnig, enw yr hwn oedd John Wickliff, yr hwn a ymddangosodd ynghylch cant a deugain mlynedd o flaen y Diwygiad; efe a wrthwynebodd y grefydd Babaidd yn wrol, ac a addysgodd yr un athrawiaeth ag oedd gan y Diwygwyr wedi hynny, ac yr oedd lluaws o ganlynwyr iddo yn Lloegr. Yr oedd efe dan erlidigaeth barhaus yn ei fywyd, er hynny bu farw mewn heddwch; ond ar ol ei farwolaeth, ei elynion a gyfodasant ei esgyrn o'r bedd i'w llosgi. Yr oedd rhifedi mawr o ganlynwyr iddo yn aros yn Lloegr hyd y Diwygiad, ac yn cael eu herlid yn greulon, a lluaws o honynt a gafodd eu lladd o achos eu crefydd.

Yr oedd llawer o ddisgyblion a chanlynwyr i Wickliff, nid yn unig yn Lloegr, ond hefyd mewn parthau eraill o Ewrop, lle y dygwyd ei lyfrau iddynt, ac yn neilltuol yn Bohemia, ym mysg pa rai yr oedd dau dduwinydd enwog, sef John Huss, a Jerome o Prague, prif ddinas Bohemia. Y rhai hyn a wrthwynebasant Eglwys Rufain yn wrol, ac yr oedd llawer yn glynu wrth eu hathrawiaeth hwy. Y ddau ŵr enwog hyn a losgwyd gan y Pabyddion o achos eu hathrawiaeth; a'u dilynwyr yn Bohemia a erlidiwyd yn greulon, ond ni ddiwreiddiwyd hwynt oddi yno hyd y Diwygiad.—Yr ydym wedi dilyn hanes yr amser tywyll hwn ar yr eglwys, yr hwn oedd yr ail yspaid, o amser Cystenyn Fawr hyd ddinystr Anghrist, yr wyf yn awr yn dyfod i sylwi,

5. Ar y trydydd dosparth, neu yr hyn oedd yn dechreu gyd â'r Diwygiad Protestanaidd, ac yn cyrhaedd hyd yr amser presennol. Yma sylwaf, yn (1.) Mewn perthynas i'r Diwygiad ei hun.—(2.) Y gwrthwynebrwydd a gyfodwyd gan y diafol i'r eglwys ddiwygedig.—(3.) Pa fath lwyddiant a fu ar yr efengyl mewn amryw leoedd yn ddiweddar.—(4.) Ansawdd presennol pethau yn eglwys Crist.

(1.). Y peth cyntaf i sylwi arno ydyw y Diwygiad Protestanaidd, yr hwn a ddechreuodd yn y flwyddyn 1517; yn gyntaf yn Saxony yn Germani, trwy weinidogaeth Martin Luther, yr hwn a gynhyrfwyd yn ei yspryd wrth edrych ar echrydus ymarferiadau yr offeiriaid Pabaidd, ac efe a ymroddodd yn ddiwyd i chwilio am y gwirionedd trwy fyfyrio ar yr Ysgrythyrau Sanctaidd, a darllen ysgrifeniadau hen dadau yr eglwys, ac efe a ddechreuodd gyhoeddi yn hyf yn erbyn trais a llygredigaethau Eglwys Rufain, ac yn fuan lluaws mawr a dderbyniasant ei athrawiaeth ef; ac ym mysg eraill Etholydd Saxony, ei dywysog llywodraethol. Eglwys Rufain a gyffrodd yn ddirfawr o achos hyn, a hi a ddechreuodd gynnull ei holl luoedd i'w wrthwynebu ef a'i athrawiaeth, ac fe gyfodwyd erlidigaethau a rhyfeloedd gwaedlyd yn erbyn y Diwygiad, a'r rhai oedd yn ei bleidio. Etto ym mlaen yr oedd yn myned trwy lafur Luther a Melancthon yn Germani, a Zuinglius yn Switzerland, a duwinyddion enwog eraill ag oedd yn cydoesi â Luther, ac a ymâg ef, yn neillduol Calfin, yr hwn a ymddangosodd ym mhen ychydig wedi dechreuad y Diwygiad, ond a ellir ei gyfrif yn un o'r Diwygwyr enwoccaf.

Llawer o dywysogion Germani a ddychwelwyd yn fuan at y grefydd ddiwygiedig, ac amryw daleithiau a theyrnasoedd eraill yn Ewrop, megis Lloegr, Ysgotland, Sweden, Denmark, Norway, a rhan fawr o Ffraingc, Poland, Lithuania, Switzerland, a'r Iseldiroedd. Yn gymmaint ag y tybir, fod erbyn hyn tua hanner y byd Cristionogol yn proffesu y grefydd Brotestanaidd; er y gallai fod y Pabyddion wedi ennill yn ol lawer o dir er y pryd hynny, fel nad oes gan y Protestaniaid yn bresennol gyfran mor fawr a hwy.

Yn y modd hyn Duw a adfywiodd ei eglwys yn ogoneddus, ac a helaethodd deyrnas ei Fab, ar ol y fath nos dywyll aethus ag a fu o gyfodiad Anghrist hyd yr amser hwn. Y tystion dros y gwirionedd a ymdrechasant lawer o'r blaen am ddiwygiad; ond yn awr, pan ddaeth amser arfaethol Duw, ei waith ef a ddechreuodd, ac a aeth ym mlaen yn gyflym gyda chynnydd rhyfeddol. Ac Anghrist, yr hwn a fuasai yn ymgyfodi uwch uwch er ei ddechreuad cyntaf, a ddygwyd i lawr yn brysur a chyflym, ac a syrthiodd hanner y ffordd tu ag at ei hollol ddinystr, ac ni allodd byth gyfodi i'w uchder blaenorol. Mae Mr. Lowman, yn ei esponiad ar *Dat.* xvi. wrth ymdrin â'r pump cyntaf o'r phiolau, gyda mwy o debygolrwydd i fod wedi canfod

yr ystyr na neb o'i flaen, yn dywedyd mai ystyr y bummed phiol, a dywalltwyd ar orsedd-faingc y bwystfil, yw, yr hyn a wnawd yn y Diwygiad Protestanaidd; ac yn priodoli y pedair phiol gyntaf i farnedigaethau neilltuol Duw ar y llywodraethau Pabaidd. Yn *adn.* 10. fe ddywedir fod y pummed angel wedi tywallt ei phiol ar orsedd-faingc y bwystfil, a bod ei deyrnas ef wedi myned yn dywyll, a'u bod hwy yn cnoi eu tafodau gan ofid, ac yn cablu Duw y nef, o herwydd eu poenau, ac o herwydd eu cornwydydd, ac nad edifarhasant oddiwrth eu gweithredoedd. Efe a dywalltodd ei phiol ar orsedd-faingc y bwystfil, hynny yw, ar awdurdod a llywodraeth y Pab. Yn y modd hynny y mae y gair gorsedd-faingc yn cael ei ddefnyddio yn yr ysgrythyr: 1 *Bren.* 1. 37. "Megis y bu yr Arglwydd gyd â'm harglwydd y brenhin, felly bydded gyda Solomon, a gwnaed yn fwy ei orsedd-faingc ef nâ gorsedd-faingc fy arglwydd y brenhin Dafydd:" hynny yw, gwnaed ei lywodraeth yn fwy ehang, a'i deyrnas yn fwy gogoneddus.

Ond yn awr yn amser y diwygiad, yr oedd phiolau digofaint Duw yn cael eu tywallt ar orsedd-faingc y bwystfil: a'i orsedd-faingc ef oedd yn crynu yn arswydus, ac yn lleihau yn ddirfawr. Awdurdod a llywodraeth y Pab a leihawyd yn fawr mewn gradd ac ehangder. Efe a gollodd, fel y sylwyd o'r blaen, tua hanner ei lywodraeth. Ac mewn canlyniad i'r Diwygiad, y mae y Pab wedi colli rhan fawr o'r awdurdod oedd ganddo o'r blaen yn y llywodraethau Pabaidd. Nid ydyw efe yn cael ei barchu fel yr ydoedd, ac ni arswydir ei awdurdod i'r un mesur ag y gwneid gynt. Awdurdodau Ewrop a ddysgasant beidio rhoddi eu gyddfau dan draed y Pab, fel y byddent gynt yn gwneuthur. Felly, nid ydyw efe yn awr ond megis llew wedi colli ei ddannedd, mewn cydmariaeth â'r peth unwaith a fu. A phan oedd y Pab a'i offeiriaid yn ymgynddeiriogi wrth weled eu hawdurdod yn cael y fath gwttogiad trwy y Diwygiad Protestanaidd, hwy a roddasant eu pennau ynghyd i uno eu holl luoedd i'w ddinystrio; ond eu cyfrwysdra, yr hwn a fuasai mor wasanaethgar iddynt mewn amgylchiadau eraill, oedd yn diffygio, a hwy a welsant fod eu teyrnas yn llawn o dywyllwch, fel na allent wneuthur dim, mwy na'r Aiphtiaid gynt, pa rai ni allasent gyfodi o'u trigfannau am dri diwrnod. Fe amddiffynwyd yr eglwys ddiwygedig, yn yr un modd a Lot a'r angylion yn Sodom, trwy daro ei gelynion â dallineb, fel na allent ganfod y drws. Y pryd hynny y cyflawnodd Duw yr hyn a lefarodd

efe o'r blaen trwy ei wasanaethwr Job: "Gan osod rhai isel mewn uchelder; fel y dyrchefir y galarus i iachawdwriaeth. Efe sydd yn diddymmu amcanion y cyfrwys, fel na allo eu dwylaw ddwyn dim i ben. Efe sydd yn dal y doethion yn eu cyfrwysdra: a chynghor y cyndyn a ddiddymmir. Lliw dydd y cyfarfyddant â thywyllwch, a hwy a balfalant hanner dydd megis lliw nos. Yr hwn hefyd a achub y tlawd rhag y cleddyf, rhag eu safn hwynt, a rhag llaw y cadarn." *Pen.* 5. 11,—15. Felly y gelynion beilchion hyn i bobl Dduw oeddynt yn cael y fath siomedigaeth, ac yn canfod eu hunain yn analluog i ddal i fynu eu hawdurdod a'u llywodraeth, nes yr oedd yn eu gyrru megis i gnoi eu tafodau gan ofid a chynddaredd.

(2.) Yr wyf yn awr yn dyfod i ddangos y gwrthwynebrwydd a gyfodwyd gan Satan a'i offerynau yn erbyn llwyddiant y Prynedigaeth trwy Grist, yn amser y Diwygiad Protestanaidd; ac i sylwi, wrth fyned ym mlaen, pa cyn belled y siomwyd hwy, a pha cyn belled y buont yn llwyddiannus.

[1.] Y gwrthwynebrwydd cyntaf y gwnaf sylw arno, yw, yr hyn a wnawd gan offeiriaid Eglwys Rufain, pa rai a ymunasant ynghyd mewn cymmanfa gyffredinol. Hon ydoedd cymmanfa hynod Trent, yr hon a alwyd gan y Pab ychydig wedi dechreu y Diwygiad. Yr oedd yn y gymmanfa hon wedi ymgyfarfod chwech o gardinaliaid, deuddeg ar hugain o arch-esgobion, dau cant ac wyth ar hugain o esgobion, heblaw aneirif luaws o offeiriadau Rhufeinig. Y gynghorfa yma, yn eu holl eisteddiadau, a barhaodd ddeunaw mlynedd, a chymmeryd i mewn yr amserau y cymmerasant ychydig seibiant i orphwys. Eu prif orchwyl, trwy yr holl yspaid hwn, ydoedd trefnu mesurau i gadarnhau Eglwys Rufain yn erbyn y Diwygwyr, a chael rhyw ffordd i ddifetha y Diwygiad; ond ni lwyddasant i gyflawni eu hamcan. Y mae yr Eglwys Ddiwygedig yn aros er holl ymgyrch y gymmanfa honno. Felly, cynghor y rhai cyndyn a ddiddymwyd, a'u teyrnas a aeth yn llawn tywyllwch, ac yn ofer yr ymflinasant i geisio dal eu hachos i fynu.

Yn y modd hyn deiliaid Eglwys Rufain, yn lle edifarhau am eu gweithredoedd, pan yr oedd y fath oleuni eglur yn llewyrchu trwy Luther a Diwygwyr eraill, a ymroddasant, trwy gyttundeb cyffredinol mewn cymmanfa, i sefyll at eu llygredigaethau atgas a'u hannuwioldeb, ac i wrthwynebu teyrnas Crist gyda chyndynrwydd. Athrawiaethau ac ymarferiadau Eglwys Rufain, pa rai oedd y Diwygwyr yn eu condemnio yn bennaf, a gadarn-

hawyd gan ddeddfau y gymmanfa hon; a'u llygredigaethau, mewn amryw ystyriaethau, a godwyd i fynu yn uwch nag erioed o'r blaen; a hwy a gyhoeddasant eu melldithion, ac a fytheiriasant eu cableddau a'u gwaradwyddiadau yn erbyn y grefydd Ddiwygedig, a'r holl Eglwys Ddiwygedig hefyd a ysgymmunwyd ganddynt; ac felly, yn ol y brophwydoliaeth, "hwy a gablasant Dduw y nef." Yn y modd hyn Duw a galedodd eu calonnau hwy, oblegid ei fod yn bwriadu eu dinystrio.

[2.] Y Pabyddion yn fynych a ymegnïasant i ddadymchwelyd y Diwygiad trwy gydfwriadau dirgel. Llawer o gydfwriadu a fu i ddwyn ymaith fywyd Luther. Yr oedd y Pabyddion yn ymuno i dychymmygu pa fodd i'w fwrw ef ymaith o'r ffordd; ac yntau ydoedd ddyn hyf, ac yn fynych yn ei roddi ei hun yn agored i beryglon o herwydd achos Crist; ond etto hwy a ragflaenwyd yn rhyfeddol rhag gwneuthur niweid iddo, ac yn niwedd ei oes efe a fu farw mewn tangnefedd yn ei wely. Fe fu hefyd o amser i amser aneirif gynlluniau dirgelaidd, er dadymchwelyd y grefydd Brotestanaidd; ym mysg pa rai, ymddengys mai y mwyaf hynod, a'r hwn oedd yn fwyaf tebygol i lwyddo, oedd yr un a fu yn amser Iago II. brenhin Lloegr. Y pryd hynny yr oedd brad-fwriad cryf rhyngddo a Lewis XIV. brenhin Ffraingc, pa rai oeddynt ill dau yn Babyddion, i ddadwreiddio yr heresi gogleddol, fel y galwent y grefydd Brotestanaidd, nid yn unig allan o Loegr, ond hefyd allan o holl Ewrop; ac yr oeddynt wedi trefnu eu cynllun yn y fath fodd, a'u bod yn ymddangos braidd yn sicr o gyrhaedd eu hamcan. Yr oeddynt yn edrych, pe buasai y grefydd Brotestanaidd yn cael ei diffoddi yn y llywodraethau Brytanaidd, ac yn yr Iseldiroedd, y lleoedd yr oedd hi gadarnaf, a'r brif amddiffynfa i'r achos Protestanaidd, na buasai ond gwaith hawdd iddynt ddyfod trwy y gweddill. A phan yr oedd eu hamcan yn ymddangos braidd wedi cyrhaedd i ben, a'u hymgyrch wedi aeddfedu i weithrediad, Duw, yn brysur yn ei ragluniaeth, a faluriodd eu holl gynlluniau yn ddarnau trwy y chwyldroad, yn nyfodiad William a Mari i'r orsedd. Trwy hynny eu bwriadau a ddibenwyd; a'r achos Protestanaidd a sefydlwyd yn gadarnach, trwy fod Coron Lloegr yn cael ei sefydlu yn nheulu Protestanaidd Hanofer; ac yn ol sefydliad y senedd, y mae Pabydd byth i fod yn anghymmwys i wisgo coron Lloegr. Yn y modd hyn yr oeddynt yn ymbalfalu ganol dydd fel yn yn y nos, a'u

dwylaw ni allodd gyflawni eu hanturiaeth; eu teyrnas oedd yn llawn tywyllwch, a hwy a gnoisant eu tafodau gan ofid.

Wedi hyn fe fu bwriad cryf i ddwyn oddi amgylch yr un amcan yn niwedd teyrnasiad y frenhines Anne, trwy geisio dwyn i mewn y Rhith Hònydd Pabaidd *(Pretender)* i lywodraethu; yr hyn, trwy ddwyfol ragluniaeth, a gyfarfu â siomedigaeth gyflym a hollol, yn yr un modd ag y bu i'r holl fradwriaethau yn erbyn y Diwygiad, trwy amcanu dwyn i mewn Rhith Hònydd, y naill amser ar ol y llall.

[3.] Y Diwygiad a wrthwynebwyd trwy ryfeloedd cyhoeddus a thrais-oresgyniadau. Felly y darfu i Ymerawdwr Germani, ar ddechreuad y Diwygiad, i'r diben i'w ddiffoddi, gyhoeddi rhyfel yn erbyn Dug Saxony, a'r gwyr pennaf eraill ag oedd yn pleidio ac yn derbyn athrawiaeth Luther. Ond ni's gallasent gyrhaeddyd eu diben, na diffoddi y Diwygiad. Gyd â'r un diben y cynnaliodd brenhin yr Hispaen hir ryfel yn erbyn Holand a'r Iseìdiroedd, yn yr eilfed ganrif ar bymtheg. Ond ni ddarfu y rhyfeloedd creulon hynny ond effeithio er anfantais i Eglwys Rufain, yn gymmaint ag iddynt fod yn achlysur i osod i fynu un o'r taleithiau Protestanaidd mwyaf galluog yn Ewrop, yr hon, yn nesaf i Brydain Fawr, ydyw y ddiffynfa bennaf i'r grefydd Brotestanaidd. Hefyd, diben yr Hispaeniaid yn eu bwriad i oresgyn Lloegr, yn amser y frenhines Elisabeth, ydoedd diwreiddio a diffoddi y grefydd Brotestanaidd; a chan hynny hwy a ddygasant i'w canlyn yn eu llynges bob math o offerynau creulondeb i arteithio y Protestaniaid nad ymwrthodent â'u crefydd. Ond cawsant siomedigaeth hollol yn eu hamcan, a'u llynges alluog a ddinystriwyd mewn mesur mawr.*

---

* Yr oedd gorchfygiad y Llynges Anorchfygol *(Invincible Armada)* fel y galwent hi, y fath wbithred amlwg o eiddo Rhagluniaeth, nes yr oedd y llyngesydd Hispaenydd, mewn modd cableddus yn tyngu, ei fod yn ofni fod Iesu Grist wedi troi yn Lutheriad; a phan y clywodd brenhin Hispaen am y distryw disymmwth a ddaeth ar ei lynges, efe a welodd mor eglur fys Duw yn y fath siomedigaeth a gafodd, hyd oni ddywedir ei fod yn dywedyd, nad oedd efe wedi anfon ei lynges i ymladd yn erbyn Duw, ond yn erbyn dynion.

Pan yr oedd Don Pedro, un o'r cadpeniaid Hispaenaidd a gymmerwyd gan Syr Francis Drake, yn cael ei holi o flaen arglwyddi y cynghor, pa beth oedd eu diben yn amcanu ein trais-oresgyn, efe a attebodd, "I ddarostwng a diwreiddio y genedl." Pa beth oeddych yn ei fwriadu wneud i'r Catholiciaid? ebe yr arglwyddi. "Eu hanfon hwy, bobl dda (ebe yntau) i'r nefoedd, a

[4.] Satan a wrthwynebodd y Diwygiad trwy erlidigaethau creulon. Yr erlidigaethau, trwy ba rai y poenydiwyd y Protestaniaid gan Eglwys Rufain, yn y naill deyrnas a'r llall, a fuont mewn llawer ystyr tu hwnt i'r un a fuasai o'r blaen; felly Anghrist a droes allan y gelyn mwyaf creulon y cyfarfu eglwys Crist âg ef erioed, yn ol y darluniad a roddir o Eglwys Rufain yn *Dat.* 17. 6. "Ac mi a welais y wraig yn feddw gan waed y saint, a chan waed merthyron Iesu." Ac hefyd *pen.* 18. 24. "Ac ynddi y caed gwaed prophwydi a saint, a phawb a'r a laddwyd ar y ddaear."

Yr oedd yr erlidigaethau Paganaidd yn dra arswydus; ond yr oedd yr erlidigaeth trwy Eglwys Rufain yn cael ei myfyrio, a'i meithrin, fel celfyddyd, hyd onid ydoedd yn cynnyddu yn ddirfawr. Fe gafwyd allan y fath ddulliau o boenydfeydd na ddychymmygwyd mewn oesoedd blaenorol. Ac fel y byddai i'r erlidigaethau gael eu trefnu i fod yn fwy effeithiol, fe sefydlwyd cymdeithasau a elwid y Chwil-lysoedd (*Courts of Inquisition*) yn amrywiol barthau y gwledydd Pabaidd, prif orchwyl pa rai ydoedd myfyrio pa fodd i gynnyddu ac ymarfer âg erlidigaeth yn ei pherffeithiad uchaf. Darlleniad hanesyddiaeth yr erlidigaethau Rhufeinig, a'u Chwil-lysoedd, a rydd ddrych feddwl ar yr achos na all ychydig eiriau mo'i fynegi.

Pan ddechreuodd y Diwygiad, yr oedd y bwystfil a'r saith ben a'r deg corn yn ymgynddeiriogi yn arswydus. Wedi i'r Diwygiad ddechreu, Eglwys Rufain a adnewyddodd ei herlidigaeth ar y Waldensiaid truain, a lluaws mawr o honynt a arteithiwyd yn greulon i farwolaeth. Yn fuan hefyd, mewn canlyniad i'r Diwygiad, fe gyfodwyd erlidigaethau creulon yn amryw barthau o Germani, yn neilltuol yn Bohemia, lle y bu erlidigaeth a barhaodd yspaid deng mlynedd ar hugain; yn yr hon y tywalltwyd cymmaint o waed, a bod un ysgrifenydd yn ei gydmaru i'r helaethrwydd dwfr yn afonydd mawrion Germani. Gwledydd Poland, Lithuania, a Hungari, oeddynt yr un modd yn gorlifo gan waed Protestaniaid.

---

chwithau oll hereticiaid i uffern." Pa beth oeddych yn amcanu wneud o'r ffrewyllau oedd gennych? "Eich ffrewyllu chwi hereticiaid i farwolaeth." Pa beth a fuasech yn ei wneuthur i'r plant? "Anfon y rhai uwchlaw saith mlwydd oed yr un ffordd a'u tadau; a'r gweddill i fyw mewn caethiwed parhaus, wedi eu nodi yn eu talcennau â'r llythyren L am Lutheriaid."

Yr offerynau a soniram danynt uchod, megis gwasgbodiau, ffrewyllau, &c. ydynt i'w gweled etto ym'mysg y cywrain bethau yn Nhŵr Llundain.

Trwy yr erlidigaethau creulon hyn, y grefydd Brotestanaidd a lethwyd mewn mesur mawr yn Bohemia, y Palatinate, a Hungari, y rhai oeddynt o'r blaen yn wledydd Protestanaidd. Yn y modd hyn y cyflawnwyd yr hyn a ddywedwyd am y corn bychan, *Dan.* 7. 20, 21. "Ac am y deg corn oedd ar ei ben ef, a'r llall yr hwn a gyfodasai, ac y syrthiasai tri o'i flaen; sef y corn yr oedd llygaid iddo, a genau yn traethu mawrhydri, a'r olwg arno oedd yn arwach na'i gyfeillion. Edrychais, a'r corn hwn a wnaeth ryfel ar y saint, ac a fu drech na hwynt." A'r hyn a ddywedir hefyd am y bwystfil a'r saith ben a'r deg corn, yn *Dat.* 13. 7. "A rhoddwyd iddo wneuthur rhyfel â'r saint, a'u gorchfygu hwynt: a rhoddwyd iddo awdurdod ar bob llwyth, ac iaith, a chenedl."

Holand hefyd, a gwledydd eraill yr Iseldiroedd, a fuont yspaid llawer o flynyddoedd heb dim yn myned y'mlaen ynddynt, ond golygfa aethus o'r creulonderau mwyaf arswydus, trwy eu bod yn gorlifo gan waed y Protestaniaid dan ddwylaw annhrugarog yr Hispaeniaid, i ba rai yr oeddynt yn ddeiliaid y pryd hynny. Ond methodd y diafol, mewn mesur mawr, gyrhaedd ei fwriad yn yr erlidigaeth hon, gan mai y canlyniad o honi a fu i ran fawr o'r Iseldiroedd fwrw ymaith iau yr Hispaeniaid, a chodi i fynu lywodraeth Brotestanaidd alluog a chyfoethog, er amddiffyniad mawr i'r achos Protestanaidd byth wedi hynny.

Ffraingc hefyd sydd wedi bod, mewn canlyniad i'r Diwygiad, yn olygfa mwy aethus, mewn rhai ystyriaethau, fe allai, nag un wlad arall, o ran y dioddefiadau a gafodd y Protestaniaid ynddi. Wedi i amryw greulonderau gael eu harfer tu ag at y Protestaniaid yn y wlad honno, erlidigaeth gyffredinol a ddechreuodd arnynt yn y flwyddyn 1571, yn nheyrnasiad Charles IX. brenhin Ffraingc. Hon a ddechreuodd trwy alanas greulon, hyd nes yr oedd y brenhin yn ymffrostio fod deng mil a thriugain o'r Prostestaniaid wedi eu lladd mewn ychydig ddyddiau: a thrwy yspaid yr erlidigaeth hon fe laddwyd, fel y tybir, dri chan mil o ferthyron. Ac fe gyfrifir fod, oddeutu yr amser hwn, mewn yspaid deng mlynedd ar hugain, wedi cael eu merthyru o achos y grefydd Brotestanaidd yn y deyrnas honno, 39 o dywysogion, 148 o ieirll, 234 o farwniaid, 147,518 o foneddigion, 760,000 o bobl gyffredin.

Ond yr erlidigaeth ganlynol, yr hon a fu yn nheyrnasiad Lewis XIV. oedd ym mhell tu hwnt i'r holl erlidigaethau hynny mewn creulonderau, ac yn wir a dybir tu hwnt i'r un

arall a fu erioed; ac a barhaodd yn hir, o herwydd maith deyrnasiad y brenhin hwnnw, nes o'r braidd y diffoddwyd y grefydd Brotestanaidd yn y deyrnas honno, lle y buasai lluaws o eglwysi Protestanaidd enwog trwy yr holl wlâd.* Yn y modd hyn y rhoddwyd i'r bwystfil wneuthur rhyfel â'r saint, a'u gorchfygu hwynt.

Yn amser y frenhines Mari y bu hefyd erlidigaeth arswydus yn Lloegr, a lluaws mawr o Brotestaniaid a losgwyd yn fyw yn holl barthau y deyrnas. Ac wedi hynny, er fod y grefydd Brotestanaidd wedi ei sefydlu gan mwyaf trwy gyfraith yn Lloegr, etto yr oedd yno erlidigaethau llymion oddiwrth yr Uchel Eglwyswyr (*High Churchmen*) pa rai, mewn amryw ystyriaethau, sydd yn hynod gyffelyb i'r Pabyddion. Y fath erlidigaeth a fu yn achlysur i'n hynafiaid ffoi o wlad eu genedigaeth, a dyfod i drigfannu yn America,† ag oedd y pryd hynny yn anialwch gwag erchyll; a'r erlidigaeth honno oedd yn parhau, oddieithr ychydig seibiant, hyd oni ddaeth y brenhin William i'r orsedd.

Ysgotland hefyd a fu yn olygfa o dywalltiad gwaed a chreulonderau am amryw flynyddoedd ynghyd, trwy ddwylaw yr Uchel Eglwyswyr, y fath nad oedd ond ychydig llai na'r erlidigaeth Babaidd yn nyddiau Mari, ïe, mewn rhai pethau yn fwy, ac a barhaodd felly hyd oni waredwyd hwy gan y brenhin William.

Iwerddon hefyd a orlifwyd gan waed y Protestaniaid. Yn nyddiau Charles I. brenhin Lloegr, fe lofruddiwyd uwchlaw can mil o Brotestaniaid yn y deyrnas honno mewn ychydig ddyddiau. Y Pabyddion, trwy cyttundeb dirgelaidd â'u gilydd, a gyfodasant trwy yr holl wlad ar amser pennodol, gan fwriadu lladd pob Protestant yn y deyrnas ar unwaith.

Heblaw hynny, fe fu hefyd erlidigaethau creulon yn yr Hispaen, ac Itali, a lleoedd eraill, ond ni safaf yn bresennol i sôn am danynt.

Yn y modd hyn y darfu i'r diafol, a'i weinidog ffyddlon

* Y mae yn debygol fod yr holl waed a dywalltwyd yn y chwyldroad diweddaf yn Ffraingc yn ad-daledigaeth i'r erlidigaethau a sonir am danynt uchod: ac nid yw yn gymmaint rhyfeddod fod y Ffrangcod mor ddigrefydd yn bresennol, gan fod eu hynafiaid wedi ymorchestu i fwrw Cristionogaeth allan o'r wlad.

† Rhaid cofio mai yn America yr oedd yr awdwr yn ysgrifennu.

Anghrist, ymgynddeiriogi mewn creulondeb yn erbyn eglwys Crist. Ac yn y modd hyn y gwnaeth y buttain Babilonaidd ei hun yn feddw ar waed y saint, a merthyron Iesu; a thrwy yr erlidigaethau hynny fe leihawyd yr Eglwys Brotestanaidd yn ddirfawr. Ond etto ni bu i'r erlidwyr lwyddo yn eu hamcan; yr oedd yr eglwys yn cael ei chynnal o hyd, a Christ yn sefyll at ei addewid, " pyrth uffern ni's gorchfygant hi."

[5.] Y math diweddaf o wrthwynebiad a gyfodwyd gan Satan i'r eglwys yw, y daliadau llygredig a ledaenodd efe yn y byd. Y gwrthwynebiad cyntaf o'r fath yma a fu trwy y Bedyddwyr, pa rai a ddechreuasant oddeutu pedair neu bum mlynedd ar ol y Diwygiad. Y blaid hon, fel yr ymddangosodd gyntaf yn Germani, ydoedd yn ddirfawr mwy annhrefnus na'r Bedyddwyr presennol yn Lloegr.* Yr oedd ganddynt luaws o ddaliadau: un o honynt ydoedd na ddylai awdurdod wladol fod, ac felly fod yn gyfreithlon gwrthryfela yn erbyn y fath awdurdod. Oddiar yr egwyddor hon, gwrthodasant ymostwng i'r swyddogion gwladol, nag unrhyw ddeddfau dynol, ac ymgasglasant yn fyddinoedd mawrion i'w hamddiffyn eu hunain, a rhoisant holl Germani mewn terfysg, ac a'i cadwasant hi felly am yspaid o amser.

Y gwrthwynebiad nesaf o'r fath yma i'r Diwygiad a wnawd gan y Penboethwyr *(Enthusiasts)* pa rai yn ffugiol a honnasant eu bod wedi eu hysprydoli gan yr Yspryd Glân, fel yr oedd y prophwydi. Y rhai hyn a ymddangosasant yn Germani oddeutu deng mlynedd wedi dechreu y Diwygiad trwy Luther; ac yr oedd llawer o honynt yn hynod o orwyllt ac afreolus. Dilynwyr y rhai hyn ydyw y Crynwyr yn Lloegr, a rhannau eraill o'r llywodraeth Frytanaidd.

Y rhai nesaf ydyw y Sosiniaid, y rhai a gawsant eu dechreuad yn Poland, trwy athrawiaeth Lælius, a Faustinus Socinus. Yr oeddynt yn dal nad oedd Crist ond dyn yn unig, ac yn gwadu y cymmod a wnaeth efe dros bechod, ac amryw bethau eraill yn groes i athrawiaethau sylfaenol y grefydd Gristionogol. Eu heresi a ledaenwyd yn ddirfawr, er pan ddechreuasant, ym

* Y mae yn gyfiawnder i ddywedyd, nad ydyw y Bedyddwyr presennol yn gwahaniaethu mewn dim oddiwrth Ymneillduwyr eraill, ond mewn perthynas i fedydd, yr hyn a weinyddant trwy drochi i rai mewn oedran yn unig. Ond Bedyddwyr yr unfed ganrif ar bymtheg oeddynt y fath ag y mae ein hawdwr yn eu harddangos.

mysg Protestaniaid yn Poland, Germani, Holand, Lloegr, a mannau eraill.

Ar ol y rhai hyn y cyfododd yr Arminiaid. Hwy a ymddangosasant gyntaf yn Holand, oddeutu cant a deng mlynedd ar hugain yn ol. Cawsant eu henwad oddiwrth Jacob Van Harmin, un o'r Isellmyn *(Dutchmen)* enw Lladin yr hwn oedd Jacobus Arminius. Yr Arminius hwn ydoedd ar y cyntaf yn weinidog yn Amsterdam, ac wedi hynny yn broffeswr duwinyddiaeth yn athrofa Leyden. Efe a gafodd luaws o ganlynwyr yn Holand, yr hyn a fu yn achos i'r holl eglwysi diwygedig alw cymmanfa o wyr uniawn-gred, y rhai a ymgyfarfuont yn Dort yn Holand.* Ond Cymmanfa Dort a'u dyfarnodd hwy; ond etto hwy a ymdaenasant, ac a lwyddasant yn ddirfawr. Dechreuasant lwyddo yn Lloegr yn amser Charles I. yn neilltuol yn yr Eglwys Sefydledig. Yr oedd y duwinyddion Seisnig yn gyffredinol braidd oll yn Galfinaidd yn eu barnau cyn yr amser hwnnw; ond wedi hynny Arminiaeth a gynnyddodd fwy fwy yn raddol ym mysg Eglwyswyr ac Ymneillduwyr, ac a ymdaenodd yn ddirfawr yn Lloegr Newydd hefyd.

Wedi hynny Ariaeth a adfywiodd. Sylwais o'r blaen fod Ariaeth, ychydig wedi amser Cystenyn, braidd wedi llyngcu i fynu y byd Cristionogol, a'i fod megis dyfroedd yn cael ei fwrw allan o enau y ddraig, ac yn bwgwth ysgubo y wraig ymaith. Ac yn y blynyddoedd diweddaf hyn, y mae 'r heresi hwn wedi adfywio a llwyddo yn ddirfawr yn Lloegr, a hynny ym mysg Eglwyswyr ac Ymneillduwyr.

Peth arall a lwyddodd yn ddirfawr yn ddiweddar ym mysg Protestaniaid, yn neilltuol yn Lloegr, ydyw Deistiaeth. Y

---

* Y gymmanfa enwog hon a fu yn y flwyddyn 1618. Heblaw amryw dduwinyddion o'r Isellmyn oedd yno, ac amryw o wledydd Protestanaidd eraill hefyd, danfonodd Lloegr bedwar o esgobion yno, sef Carlton, Hall, Davenant, a'r Dr. Ward; ac Ysgotland un, Dr. Balconquel. Y tri Arminiaid pennaf ydoedd Episcopius, Corvinus, a Dwinglon. Wedi llawer o ymrafaelio, fel y byddai yn gyffredin yn y fath leoedd, heb un dynesiad at gyttundeb, y gymmanfa a gadarnhaodd y pum pwngc nodedig hynny, sef Etholedigaeth, Prynedigaeth Neilltuol, Pechod Gwreiddiol, Anorchfygol Ras, a Pharhad mewn Gras. Y gwrth-dystwyr Arminaidd oedd y blaid wànaf, ac felly hwy a ddiswyddwyd o'u gweinidogaeth.

Traethawd ardderchog ein hawdwr ar Ewyllys Rhydd, a Phechod Gwreiddiol, &c. a wnaeth fwy er gwrthbrofi y cyfeiliornadau hynny, y mae yn debygol, nag a allasai ugain o gymmanfaoedd o'r fath wneud.

mae y Deistiaid yn bwrw ymaith y grefydd Gristionogol yn hollol, ac yn anghredinwyr proffesedig. Nid ydynt hwy yn gyffelyb i'r hereticiaid hynny, yr Ariaid, y Sosiniaid, ac eraill, pa rai a addefent yr ysgrythyrau yn air Duw, a'r grefydd Gristionogol yn wirionedd, ond yn unig yn gwadu rhai o'i hathrawiaethau; ond y maent hwy yn gwadu y grefydd Gristionogol yn hollol. Y mae yn wir eu bod yn addef y BOD o Dduw; ond yn gwadu fod Crist yn Fab Duw, gan haeru nad oedd ond twyllwr, yr un modd hefyd y dywedant am y prophwydi a'r apostolion. Y maent yn gwadu y Bibl, a phob crefydd ddatguddiedig, ac yn credu na roddodd Duw un goleuni arall i ddynolryw i rodio wrtho, heblaw eu rheswm eu hunain.—Cymmaint a hyn mewn perthynas i'r gwrthwynebiadau a gyfodwyd gan Satan yn erbyn y Diwygiad.

(3.) Yr wyf yn awr yn dyfod i sylwi pa lwyddiant a fu ar yr efengyl yn yr eglwys Ddiwygedig yn yr amseroedd diweddaf hyn. Y llwyddiant hwn a ellir ei ddosparthu dan dri phen—[1.] y diwygiad mewn athrawiaeth a'r drefn o addoli mewn gwledydd a elwir yn Gristionogol—[2.] lledaeniad yr efengyl ym mysg Paganiaid—[3.] yr adfywiad a fu ar grefydd o ran grym ac ymarferiad.

[1.] Mewn perthynas i'r diwygiad mewn Athrawiaeth, y llwyddiant mwyaf neilltuol a fu yn ddiweddar yn yr ystyr yma ar yr efengyl, ydyw yr hwn a fu yn Ymerodraeth Rwssia, yr hon sydd yn wlad dra ehang. Cynnifer o'r Rwssiaid, ag sydd yn eu proffesu eu hunain yn Gristionogion, ydynt ddeiliaid i Eglwys Groeg; ond yr oeddynt yn farbaraidd anwybodus, ac yn hynod o ofer-goelus, hyd yn ddiweddar. Eu Hymerawdwr Petr Fawr, yr hwn oedd yn teyrnasu hyd o fewn ugain mlynedd yn ol, a ymosododd i ddiwygio pobl ei lywodraethau, ac a gymmerodd boen fawr i'w dwyn o'u tywyllwch, ac i'w haddysgu mewn pethau crefyddol. I'r diben hwnnw efe a gododd ysgolion dysgeidiaeth, ac a orchymynodd i'r Bibl gael ei argraphu yn yr iaith gyffredin, ac a wnaeth gyfraith i rwymo pob teulu i gadw yr Ysgrythyrau Sanctaidd yn eu teiau, ac na chai neb briodi hyd oni ddysgent eu darllen. Efe a ddiwygiodd yr eglwysi hefyd oddiwrth lawer o'u hofer-goelion; ac felly y daeth y grefydd oedd yn cael ei phroffesu a'i harfer yn Rwssia yn agosach at Brotestaniaeth nag y buasai o'r blaen. Yr Ymerawdwr hwn a roddodd fawr gefnogaeth i arfer y grefydd Brotestanaidd yn ei lywodraethau; ac mewn canlyniad i hynny,

y mae Rwssia wedi dyfod yn wlad oleu mewn cydmariaeth i'r peth ydoedd o'r blaen.

[2.] Mewn perthynas i'r ail fath o lwyddiant a fu yn ddiweddar ar yr efengyl, sef y llwyddiant a gafodd ym mysg y Paganiaid, myfi a sylwaf ar dri pheth.

Yn gyntaf, y lledaeniad a fu ar yr efengyl y'mysg y Paganiaid yma yn America. Y cyfandir hwn, ar ba un yr ydym ni yn byw, yr hwn sydd yn gwneud i fynu ran fawr o'r byd, ac, ynghyd â'i foroedd cymmydogaethol sydd mewn cyssylltiad âg ef, yn cymmeryd i mewn un ochr o'r belen ddaearol, oedd yn hollol anadnabyddus i'r holl genhedloedd Cristionogol hyd yr amseroedd diweddaf hyn, er ei fod yn hynod lawn o bobl. Gan hynny yr oedd y diafol yn cael y trigolion yma, megis pe buasent yn ddiogel ganddo yn ei feddiant ei hun, allan o gyrhaedd goleuni yr efengyl, ac felly allan o gyrhaedd unrhyw aflonyddwch i'w lywodraeth arnynt. Yma yr oedd llawer cenedl o'r Indiaid yn ei addoli ef fel eu duw o oes i oes, tra yr ydoedd yr efengyl wedi ei chyfyngu i'r ochr wrthwyneb i'r byd. Cyfarfyddais yn rhyw fan â thybiaeth, yr hon, os wyf yn iawn gofio, sydd yn cynnwys, mai yr achlysur o boblogiad cyntaf yr America oedd hyn, sef fod y diafol wedi brawychu mor fawr, o herwydd y llwyddiant rhyfeddol oedd ar yr efengyl yn yspaid y tri chan mlynedd cyntaf wedi dyfodiad Crist, ac wrth weled yr Ymerodraeth Baganaidd yn cwympo yn amser Cystenyn, ac yn ofni y byddai i'w deyrnas gael ei hollol ddadymchelyd trwy yr holl fyd, yr hyn a'i cyffrodd i arwain pobl o'r cyfandir arall ymaith i'r America, fel y byddai iddynt fod yn hollol allan o gyrhaedd yr efengyl, ac fel y byddai iddo ef gael meddiant tawel ynddynt, a llywodraeth arnynt fel eu duw. Ac fe ddywedir, pan y daeth Ewropiaid gyntaf i America, fod gan rai Indiaid draddodiad, mai eu duw a'u harweiniasai i'r cyfandir hwn, a'i fod yn myned o'u blaen hwy mewn arch.*

---

* Y mae yr awdwr, yn ei sylwad ar wasgariad adeiladwyr Babel, yn gosod i lawr dybiaeth arall am yr achlysur o boblogiad America; ond y mae yn ymddangos yn fwy tebygol, oddiwrth gyffelybrwydd moesau a iaith, fod rhan o'r America wedi ei gyfanneddu gan y Phenisiaid, amser maith ar ol y gwasgariad yn Babel, ac amser maith cyn cwymp yr Ymerodraeth Baganaidd; ac fe dybir gan rai nad oedd yr America ddim yn hollol anadnabyddus i'r Groegiaid yn yr oesoedd gynt. Ond gall y traddodiad am yr arch fod yn cydfyned â'r dybiaeth, o herwydd fod cenhedloedd eraill yn defnyddio eirch yn eu haddoliad, fel y byddent yn debyg i'r Hebreaid, megis trigolion De-

Pa un bynnag ai felly yr oedd, ai nad è, y mae yn sicr fod y diafol yn mwynhau llywodraeth dawel ar yr Indiaid truain am lawer o oesoedd. Ond yn yr amseroedd diweddaf hyn, fe anfonodd Duw ei efengyl i'r rhannau hyn o'r byd, ac yn awr y mae eglwys Gristionogol wedi ei chodi i fynu yn ein plith ni yn Lloegr Newydd, a rhannau eraill o'r America, lle nid oedd o'r blaen ond tywyllwch dudew o Baganiaeth. Y mae rhan fawr o'r America yn awr yn llawn o Fiblau, ac yn meddu ffurf, o'r hyn lleiaf, o addoliad i'r gwir Dduw, lle na chlywyd am enw Crist er's llawer o oesoedd, os clywyd erioed. Ac er na fu ond ychydig o ymledaenu ar yr efengyl mewn cydmariaeth â'r hyn a fyddai yn ddymunol, etto y mae rhai ymddangosiadau wedi bod ag sydd yn deilwng o'n sylw. Yr oedd rhyw beth nodedig yn amseroedd cyntaf Lloegr Newydd; ac hefyd yn ddiweddar yn y lle hwn, ac mewn amrywiol barthau eraill o'r America, y mae, ac yr oedd, llawer o Indiaid yn dangos tuedd i gymmeryd eu haddysgu yn y grefydd Gristionogol.

Pa mor ychydig bynnag a fu ymledaeniad yr efengyl y'mysg y Paganiaid yn yr America hyd yn hyn, etto, ni a allwn ystyried fod cael allan barth mor fawr o'r byd, ag oedd o'r blaen yn guddiedig oddiwrth drigolion Asia ac Ewrop, a dwyn yr efengyl yno, yn un peth trwy yr hyn y mae dwyfol ragluniaeth yn parottoi 'r ffordd i amseroedd gogoneddus sydd i ddyfod ar yr eglwys; pan y dadymchwelir teyrnas Satan, nid yn unig trwy yr Ymerodraeth Rufeinig, ond trwy yr holl ddaear gyfanneddol, bob ochr iddi, ac ar ei holl gyfandiroedd. Pan ddelo yr amseroedd hynny, yna, yn ddiammeu, y bydd llwyddiant gogoneddus ar yr efengyl yn yr America, yr hon sydd wedi ei dwyn yno eisoes, a holl drigolion y byd newydd a ddygir yn ddeiliaid i deyrnas Crist, cystal a thrigolion rhannau eraill o'r ddaear: a chyda phob tebygolrwydd fod rhagluniaeth wedi trefnu i bethau

heudir America, ac Ynysoedd Môr y Dehau. Etto y mae yn fwy rhesymmol priodoli poblogiad y cyfandir hwn, fel lleoedd eraill, i ragluniaeth Duw, yr hwn a greodd y ddaear i'w chyfanneddu, nag i lywiaeth y diafol, er fod y fath dywyll leoedd, i ryw ddoeth ddibenion, yn cael eu goddef dan ei lywodraeth ef am yspaid maith. Ond fe dybir yn gyffredin i'r America gael ei thrigfannu ar y cyntaf gan rai o wledydd Asia, megis Tartari, Siberia, Kamschatka, y lleoedd sydd agosaf iddi, ac yr oeddynt fe allai ryw bryd heb un môr i'w gwahanu. Ac fe allai hefyd i rai symmud yno o China, ac hyd yn oed o Gymru, fel y mae gennym draddodiad am fynediad Madog ab Owain Gwynedd yno yn nechreu y ddeuddegfed ganrif.

fod felly, fel y byddai cwmpas y morwr, yr hwn sydd yn ddyfais a gafwyd allan mewn oesoedd diweddar* (trwy offerynoliaeth pa un y cynhorthwyir dynion i hwylio dros y cefnfor mwyaf ei led, pan o'r blaen na feiddiasent fyned ym mhell oddiwrth dir) yn beth i barottoi 'r ffordd i'r hyn mae Duw yn bwriadu ei ddwyn i ben yn amseroedd gogoneddus yr eglwys, sef anfon yr efengyl i ba le bynnag y byddo plant dynion yn byw, a pha cyn bell-ed bynnag y byddont, ie, a pha mor ddidoledig bynnag fyddont gan gefnforoedd llydain oddiwrth y parthau hynny o'r byd ag sydd eisoes wedi eu Cristionogi.

Yn ail, fe fu hefyd yn ddiweddar ymledaeniad nodedig ar yr efengyl yn llywodraethau Rwssia. Sylwais o'r blaen mewn perthynas i'r Diwygiad a fu yn Eglwys Groeg, ond yn awr yr wyf yn llefaru am y Paganiaid. Y mae rhan fawr o lywodr-aethau ehang Ymerawdwr Rwssia yn Baganiaid tywyll. Y mae y rhan fwyaf o Tartari, yr hon sydd wlad Baganaidd, wedi ei dwyn yn ddiweddar dan lywodraeth Rwssia; ac mewn canlyniad i hyn y mae lluaws mawr o'r Paganiaid hynny er's ychydig o amser yn ol wedi cael eu tueddu i dderbyn y grefydd Gristionogol.

Yn drydydd, bu hefyd ymledaeniad rhyfeddol yn ddiweddar ar y grefydd Gristionogol ym mysg y Paganiaid yn yr India Ddwyreiniol; yn neilltuol yn Malabar, llawer a ddygwyd i dderbyn Cristionogaeth a'r grefydd Brotestanaidd, trwy lafur y Cenhadon a anfonodd brenhin Denmarc yno; pa rai a gyfodas-ant i fynu ysgolion yn eu mysg, ac argraph-wasg i argraphu Biblau a llyfrau eraill er eu hyfforddiad, yn eu hiaith eu hun-ain, yr hyn a lwyddodd yn ddirfawr.†

[3.] Y math nesaf o lwyddiant, y gwnaf sylw arno, a fu ar yr efengyl, yw, yr adfywiadau diweddar a fu ar wir grefydd o ran grym ac ymarferiad. Ac yma, mi a nodaf ddwy siampl.

Yn gyntaf, nid oes nemawr o amser er pan fu adfywiad rhy-

---

* Sef oddeutu y flwyddyn 1302.

† Y mae yn yr India Ddwyreiniol, a mannau eraill o'r byd, lawer o lafur chwanegol i ddwyn dynolryw i wybodaeth i'r hyn oedd yn oes Mr. Edwards. Y mae gan Gymdeithas Genhadol y Bedyddwyr yn bresennol fwy na deg ar hugain o Sefydliadau Cenhadol yn Bengal, a'r rhai hynny yn llafurus i gyf-ieithu yr ysgrythyrau i ieithoedd y trigolion, heblaw lluaws o Genhadon eraill, a gynnelir gan wahanol bleidiau, megis Cymdeithas Genhadol yr Eg-lwys Sefydledig, Cymdeithas Genhadol Llundain, a Chymdeithas Genhadol y Wesleyaid; ac y mae cyfnewidiad rhyfedd ar bethau trwy lafur y Cymdeith-asau hynny, a Chymdeithas y Biblau, er pan ysgrifenwyd y traethawd hwn.

feddol ar grefydd, o ran grym ac ymarferiad, yn Saxony, yr hyn a fu trwy ymegnïadau Frank, proffeswr duwinyddiaeth yn Hall, yn Saxony, yr hwn oedd yn ddyn hynod o elusengar. Y gwaith mawr a wnaeth Duw trwyddo ef, a ddechreuwyd trwy iddo osod i lawr gynllun elusengar. Dechreuwyd hyn ganddo trwy osod llaw-gist elusen wrth ddrws ei fyfr-gell, i'r hon y teflid ychydig hatlingau, â phá rai y prynid ychydig lyfrau i addysgu y tlodion. Ac fe ryngodd bodd i Dduw wenu mor hynod ar y cynllun hwn, fel y tywalltodd efe yspryd elusengar ar y bobl yno, hyd oni alluogwyd ef mewn ychydig amser, trwy eu heluseni hwy, i godi ysgol gyffredin i ddysgu plant tlodion, a thŷ i'r ymddifaid, er cynnal a hyfforddi y tlodion, nes o'r diwedd fod yn agos i bum cant o blant tlodion yn cael eu cynnal a'u haddysgu mewn dysgeidiaeth a duwioldeb, trwy y sefydliad elusengar hwnnw, a'r rhifedi a gynnyddodd fwyfwy am yspaid llawer o flynyddoedd. Daeth i ganlyn hyn adfywiad a diwygiad rhyfeddol ar grefydd yn ninas ac athrofa Hall, ac a barhaodd yn y modd hyn am yspaid o amser. A'r hyn hefyd a adawodd effeithiau neilltuol ar amryw leoedd eraill yn Germani.

Peth arall, ag y byddai yn annheilwng peidio sylwi arno, yw y tywalltiad rhyfeddol o Yspryd Duw a fu yn y parth yma o Loegr Newydd, o'r hyn y cawsom ni, yn y ddinas hon,* gyfran helaeth. Ond y mae yn ddiangenrhaid i mi roddi hyspysrwydd helaeth am yr hyn ag y buoch mor ddiweddar yn llygad-dystion o hono, ac yr wyf yn gobeithio fod llawer o honoch yn brofiadol o'i rinweddau.—Sylwais yn y modd hyn ar y siamplau mwyaf hynod o'r llwyddiant a fu ar yr efengyl trwy 'r byd yn ddiweddar.

(4.) Yr wyf yn awr yn dyfod at y peth diweddaf yn y cynnygiad, mewn perthynas i lwyddiant y Prynedigaeth trwy Grist yn yr yspaid hwn; sef, pa fath ydyw agwedd pethau yn y byd yn bresennol, gyda golygiad ar eglwys Crist, a llwyddiant y Prynedigaeth trwyddo ef; yr hyn a wnaf trwy ddangos pa fodd y mae pethau yn bresennol, a'u cydmaru âg amseroedd cyntaf y Diwygiad, gan sylwi pa fodd y mae pethau wedi gwaethygu, a pha fodd y maent wedi gwellhau.

[1.] Dangosaf pa fodd y mae agwedd pethau wedi newid er gwaeth, o'r hyn oeddynt yn nechreuad cyntaf y Diwygiad; a hynny yn neilltuol mewn tri golygiad.

* Northampton, Connecticut, yn y flwyddyn 1733.

Yn gyntaf, y mae yr Eglwys Ddiwygiedig wedi lleihau yn fawr. Yr ydys yn tybied fod y Diwygiad ar y cyntaf, fel y sylwyd o'r blaen, wedi cymmeryd lle trwy un hanner y gwledydd Cristionogol, a gadael Eglwys Groeg allan o honynt; ond yn awr y mae yr Eglwys Brotestanaidd wedi lleihau yn ddirfawr. Yr oedd gynt yn ngwahanol barthau o Ffraingc amryw Eglwysi Protestanaidd enwog, pa rai a fyddai yn ymgynnull yn gymmanfaoedd, i gefnogi a meithrin disgyblaeth reolaidd yn yr eglwys; ac yr oedd rhan fawr o drigolion y deyrnas honno yn Brotestaniaid; ac yr oedd Eglwys Brotestanaidd Ffraingc yn rhan fawr o ogoniant y Diwygiad. Ond yn awr y mae y'mhell ffordd arall; y mae yr eglwys honno wedi ei dryllio yn ddarnau a'i gwasgaru. Ac y mae y grefydd Brotestanaidd braidd wedi ei diwreiddio o'r deyrnas, trwy yr erlidigaethau creulon a fu yno, ac nid oes yn awr ond ychydig o gynnulleidfaoedd Protestanaidd trwy yr holl deyrnas. Y mae yr achos Protestanaidd wedi lleihau yn fawr hefyd yn Germani. Yr oedd cyn hyn amrywiol o dywysogion y wlad honno yn Brotestaniaid, ond eu dilynwyr sydd Babyddion; yn neillduol Etholydd Saxony, ac Etholydd y Palatine. Cyn hyn hefyd yr oedd teyrnas Bohemia yn Brotestanaidd, ond yn awr y mae yn nwylaw y Pabyddion. Hungari hefyd a fu yn wlad Brotestanaidd, ond y mae y Protestaniaid wedi eu lleihau yn ddirfawr yno, a'u darostwng trwy erlidigaeth. Ac nid ydyw yr achos Protestanaidd mewn un modd wedi ennill dim yn ddiweddar ar Eglwys Rufain.

Peth arall sydd wedi newid yn agwedd pethau er gwaeth, o'r hyn ydoedd yn amseroedd y Diwygiad, ydyw y cynnydd sydd ar egwyddorion pleidgar i benrhyddid. Nid oes yn awr mo'r yspryd uniawn-gred hwnnw ag oedd gynt; ac nid oes ond ychydig iawn o zel yn ymddangos tros athrawiaethau ysprydol a dirgelaidd Cristionogaeth; ac ni buont erioed yn cael mwy o ddirmyg a gwawd nag y maent yn ei gael yn yr oes bresennol, ac yn enwedig yn Lloegr, prif deyrnas y Diwygiad.* Y mae yr egwyddorion hynny, ar ba rai y mae grym duwioldeb yn

---

* Am yr anghrefydd oedd yn cynnyddu yn Lloegr yr amser y mae ein hawdwr yn crybwyll am dano, gwel dystiolaeth yr Esgob Butler, y'Nghyffes Ffydd y Methodistiaid Calfinaidd, tu dal. 12. Ond y mae gwedd well ar grefydd yn ein hoes ni nag oedd y pryd hynny, nid yn unig yn Lloegr, ond hefyd yn yr America, ac amryw barthau eraill o'r byd.

ymddibynnu, yn cael mewn mesur mawr eu gogann yn y deyrnas hon, ac Ariaeth, Sosiniaeth, Arminiaeth, a Deistiaeth, yn llwyddo, ac yn ysgubo braidd bob peth o'u blaen. Ni roddir hanes am unrhyw oes, ym mha un yr oedd cymmaint o'r rhai hynny yn gwrthgilio, ac a ddygwyd i fynu dan oleuni yr efengyl; ni bu erioed y fath ddiystyrwch a gwrthodiad ar yr holl grefydd ddatguddiedig: ac ni bu mewn un oes y fath wawdio a dirmygu ar efengyl Crist, gan rai a ddygwyd i fynu dan lewyrch ei goleuni.

Newidiad arall er gwaeth, ydyw fod grym duwioldeb yn cael llai o oruchafiaeth nag ydoedd ar ddechreuad y Diwygiad. Yr oedd tywalltiadau gogoneddus o Yspryd Duw yn canlyn y Diwygiad, nid yn unig i ddychwelyd lluaws mewn ychydig amser oddiwrth Babyddiaeth at y wir grefydd, ond hefyd i droi llawer at Dduw, ac at wir dduwioldeb. Yr oedd crefydd yn blodeuo yn ogoneddus yn y naill wlad a'r llall, ac yn ymddangos yn fwy neilltuol yn amseroedd yr erlidigaethau echrydus hynny y buwyd yn sôn am danynt o'r blaen. Ond yn awr y mae gwir dduwioldeb mewn nychdod dirfawr, ac yn cael ei alw yn ddirmygus yn benboethni a gwallgofrwydd. Y rhai hynny ag sydd yn wir grefyddol, a edrychir arnynt yn gyffredin fel rhai â gwendid yn eu pennau, ac wedi colli arnynt eu hunain; a halogedigaeth a drygioni yn llwyddo yn aethus, megis diluw yn bwgwth bwrw i lawr bob peth o'i flaen.

Ond yn awr yr wyf yn dyfod i ddangos, yn ail, ym mha ystyr y mae pethau wedi newid er gwell. Yn gyntaf, y mae awdurdod a rheolaeth y Pab wedi lleihau yn fawr. Er ei fod wedi ennill tir mewn ehangder a llywodraeth er amseroedd cyntaf y Diwygiad, etto y mae wedi colli gradd mawr o'i awdurdod. Y phiol a dywalltwyd ar orseddfaingc y bwystfil er mawr leihad i'w lywodraeth a'i awdurdod yn y byd yn nechreuad y Diwygiad, sydd yn parhau i redeg hyd yn hyn. Yn fuan wedi i'r Diwygiad ddechreu, fe ddaeth y Pab i gael ei barchu yn llai gan dywysogion Ewrop nag yr ydoedd cyn hynny. Nid ydyw yn ymddangos yn bresennol fod llawer o'r tywysogion Pabaidd yn parchu ond ychydig iawn mwy arno nag a wasanaetho eu dibenion hwy eu hunain; amrywiol brofion a siamplau nodedig a gafwyd o hynny yn ddiweddar.

Y mae llawer llai o erlid ar grefydd yn bresennol nag ydoedd yn amseroedd boreuol y Diwygiad. Clywsoch eisoes pa mor ofnadwy yr oedd erlidigaeth yn ymgynddeiriogi yn yr amser-

oedd a aeth heibio, ac y mae rhyw faint o honi yn para o hyd. Y mae rhyw rannau o'r Eglwys Brotestanaidd dan erlidigaeth y dydd hwn, ac y mae yn debygol y bydd hefyd ryw rannau o honi felly, hyd oni ddaw diben ar ei dioddefiadau a'i hymdrech, yr hyn ni bydd hyd oni chwympir Anghrist. Ond nid ydyw yn awr y fath mewn un mesur ag ydoedd cyn hyn. Nid ydyw yspryd erlidigaeth yn ffynnu yn bresennol, y mae allan o arferiad hyd yn oed mewn gwledydd Pabaidd. Y mae yn ymddangos fod annuwioldeb gelynion Crist, a'r gwrthwynebiadau i'w achos, yn rhedeg ar hyd ffordd arall. Y tuedd presennol ydyw yn hytrach dirmygu a gwawdio pob ymofyniad am grefydd, a meithrin yspryd o annhueddrwydd yn ei chylch. Ond er hynny y mae pethau wedi newid er gwell wrth fel y buont, yn gymmaint a bod llawer llai o erlidigaeth.

Y mae hefyd gynnydd mawr ar ddysgeidiaeth. Yn amseroedd tywyll Pabyddiaeth cyn y diwygiad, yr oedd dysgeidiaeth yn y fath nychdod, fel yr oedd y byd yn ymddangos fel pe buasai wedi ei orlifo âg anwybodaeth Barbaraidd. Yr oedd yr offeiriaid, lawer o honynt, yn hynod o anwybodus. Dysgeidiaeth a ddechreuodd adfywio gyd â'r diwygiad, yr hyn a ellir i radd fawr ei briodoli i'r gelfyddyd o argraphu, yr hon a gafwyd allan ychydig cyn yr amser hwnnw; ac er y pryd hynny y mae yn cynnyddu fwyfwy, ac y mae yn ddiammheuol ei bod wedi ei chodi y dydd hwn yn uwch nag y bu erioed o'r blaen. Ac er nad ydyw y rhan fwyaf o ddynion dysgedig yn gwneud ond ychydig ddefnydd da o honi, etto y mae ei chynnydd o fawr ganlyniad, oblegid y gall fod o ddefnydd ardderchog i dduwinyddiaeth; ac y mae yn dalent, yr hon ond i Dduw roi calon i ddynion gyda hi, a'u cymhwysa hwy i wneud llawer o bethau er cynnydd i deyrnas Crist, a daioni i eneidiau. Ac fe ymddengys y bydd cynnydd dirfawr ar wybodaeth a dysgeidiaeth o flaen amseroedd gogoneddus yr efengyl, yr hyn a ragfynegir yn *Dan.* 12. 4. "Tithau, Daniel, cau ar y geiriau, a selia y llyfr hyd amser y diwedd: llawer a gynniweiriant, a gwybodaeth a amlhêir." A pha cyn lleied bynnag a ddefnyddir ar ddysgeidiaeth yn bresennol er dyrchafu crefydd, etto nyni a allwn obeithio fod y dyddiau yn agosâu ym mha rai y gwna Duw ddefnydd mawr o honi er dyrchafu teyrnas Crist.

Y mae yn ymddangos fod Duw yn gweithredu yn ei ragluniaeth yn awr yr un modd ag yr oedd efe ychydig cyn dyfodiad Crist, pan yr oedd dysgeidiaeth yn cynnyddu yn fawr, ac wedi

ei chodi yn uwch nag y buasai erioed o'r blaen; ac etto ni bu annuwioldeb erioed yn cynnyddu yn fwy na'r pryd hynny. Fe ryngodd bodd i Dduw ganiattâu i ddysgeidiaeth ddynol gyfodi i'r fath uchder cyn anfon yr efengyl i'r byd, fel y gwelai y doethion annigonolrwydd eu doethineb i gyrhaedd gwybodaeth am Dduw; ac wedi i'r efengyl lwyddo ar y cyntaf heb gynnorthwy doethineb ddynol, yna fe welodd Duw yn dda beri i ddysgeidiaeth fod yn ddefnyddiol fel llawforwyn iddi. Felly y mae dysgeidiaeth yn awr tu hwnt mewn uchder i'r peth ydoedd yn yr oes yr ymddangosodd Crist; ac etto y mae dynion sydd yn ymddiried yn eu dysgeidiaeth, yn ymbalfalu yn y dydd fel yn y nos. Y mae dynion dysgedig yn hynod wahanol yn eu tybiau ynghylch pyngciau crefydd, ac yn rhedeg i bob math o gyfeiliornadau niweidiol. Y maent yn dirmygu ymostwng yn eu rhesymmau i'r datguddiad dwyfol, ac i gredu yr hyn sydd uwchlaw eu hamgyffrediadau; ac felly yn ddoeth yn eu golwg eu hunain, hwy a aethant yn ffyliaid, ac ofer fuont yn eu rhesymmau, hwy a droisant wirionedd Duw yn gelwydd, a'u calon anneallus hwy a dwyllwyd. *Rhuf.* 1. 21.

Etto wedi i'r Arglwydd roddi dangosiad cyflawn i ddynion o annigonolrwydd doethineb a dysgeidiaeth ddynol i iawn farnu crefydd, a phan ddelo yr amser gosodedig y bydd tywalltiad gogoneddus o Yspryd Duw, pan y bydd iddo ef ei hun trwy ddylanwadau digyfrwng oleuo meddyliau dynion, nyni a allwn hyderu y bydd i Dduw y pryd hynny wneud defnydd o gynnydd dysgeidiaeth fel moddion er dyrchafiad gogoneddus i deyrnas ei Fab. Y pryd hynny y bydd dysgeidiaeth ddynol yn gynnorthwyol i ddeall yr ysgrythyrau, ac yn esponiad eglur ar athrawiaethau Cristionogaeth, ynghyd âg amddiffyniad gogoneddus iddynt. Ac nid oes un ammheuaeth nad ydyw y gelfyddyd o argraphu, yr hon a roddodd Duw yn ddiweddar yn ei ragluniaeth i'r byd, a'r fath gynnydd mewn dysgeidiaeth, yn parottôi'r ffordd i'r hyn y mae efe yn bwriadu ei gyflawni i'w eglwys yn y dyddiau llwyddiannus sydd yn agosâu.

Yr ydys wedi dangos y modd y dygwyd ym mlaen waith y prynedigaeth o gwymp dyn hyd yr amser presennol, cyn yr elwyf ym mlaen ym mhellach, myfi a wnaf rai Cymmwysiadau.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, ni a allwn weled oddiar y prawf egluraf wirionedd y Grefydd Gristionogol; a bod yr ysgrythyrau yn air Duw. Nyni a allwn oddiwrth yr hyn a ddywedwyd godi tri rheswm er profi hyn.

(1.) Gellir dadlu oddiwrth y gwrthwynebiad gelynol a thanbaid a ymddangosodd yn y byd annuwiol bob amser tu ag at y grefydd hon, ei bod o Dduw. Ac y mae y grefydd a broffesir gan bobl Dduw yr un o'r dechreuad o ran sylwedd. Nid ydyw eglwys Dduw ond un gymdeithas o'r dechreuad. Ac y mae yn amlwg mai yr un gymdeithas ydyw yr eglwys Gristionogol, yr hon sydd yn bod er pan esgynodd Crist i'r nef, a'r eglwys oedd cyn ei ddyfodiad ef: y mae y naill a'r llall yn cael ei hadeiladu ar yr un sylfaen. Y datguddiad ar ba un y mae pob un o'r ddwy yn ymddibynnu sydd yr un o ran sylwedd, ond yn unig fod ei destynau wedi eu datguddio yn eglurach yn awr yn y Testament Newydd nag oeddynt yn yr Hen. Yr eglwys cyn y diluw oedd yn cael ei hadeiladu ar sail y datguddiedigaethau hynny o Grist a roddwyd i Adda, Abel, Enoc, ac eraill. Yr eglwys wedi y diluw a adeiladwyd ar y datguddiedigaethau a roddwyd i Noah, Abraham, Melchisedec, Isaac, Jacob, Joseph, Job, a dynion sanctaidd eraill. Yr eglwys wedi hynny oedd yn ymddibynnu ar yr ysgrythyrau eu hunain fel yr oeddynt yn cynnyddu yn raddol; felly eglwys Dduw oedd yn cael ei hadeiladu bob amser ar sail y dwyfol ddatguddiedigaethau, pa rai oeddynt yr un mewn sylwedd ag a gynnwysir yn nghrynodeb yr ysgrythyrau sanctaidd.

Felly y gwrthwynebiadau a fu yn yr holl oesoedd i eglwys Dduw oedd bob amser yn erbyn yr un grefydd, ac yn erbyn yr un datguddiad. Gan hynny yr oedd y gwrthwynebiad i'r eglwys, a'r trais yr oedd yn ei oddef bob amser oddiwrth lygredigaeth a drygioni dynolryw yn profi gwirionedd y grefydd hon, a'r datguddiad ar ba un y mae'r eglwys yn wastadol yn cael ei hadeiladu. Gwrthwynebiadau sydd yn profi naill y llall. Ni a allwn yn hawdd ac yn ddiogel brofi daioni unrhyw beth, yn ol graddau drygioni y peth a fyddo yn ei wrthwynebu. Yn awr y mae yn eglur, fod y byd annuwiol â chasineb parhaus ynddo tu ag at yr eglwys a'i chrefydd, ac yn fynych yn y modd mwyaf egniol yn ei gwrthwynebu.

Fod eglwys Dduw yn wastadol yn cyfarfod â gwrthwynebiadau yn y byd, sydd yn beth na ddichon neb ei wadu. Y mae hyn yn eglur oddiwrth hanesyddiaeth gyffredin, cyn belled ag y mae yn cyrhaeddyd; ac y mae yr ysgrifeniadau dwyfol yn rhoddi yr un hanes cyn i hanesyddiaeth ddynol ddechreu. Fe ddechreuwyd gwrthwynebu eglwys Dduw, a'i chrefydd a'i haddoliad, yn amser Cain ac Abel, ac felly yr ydoedd pan lanwyd y

ddaear â thrais yn nyddiau Noah. Wedi hynny, yr eglwys a orthrymwyd ac a wrthwynebwyd yn yr Aipht; ac Israel a gasawyd gan y cenhedloedd oedd o'i amgylch, yn ol yr hyn a ddywedir yn *Jer.* 12. 9. "Y mae fy etifeddiaeth i mi fel aderyn brith; y mae yr adar o amgylch yn ei herbyn hi." Wedi y caethiwed yn Babilon, yr eglwys a erlidiwyd gan Antiochus Epiphanes, ac eraill. A'r fath erlid fu ar Grist pan ydoedd efe ar y ddaear; a'r apostolion, a Christionogion eraill, gan yr Iuddewon cyn dinystr Jerusalem. Gwrthwynebiadau echrydus hefyd a gafodd yr eglwys Gristionogol oddiwrth y byd Paganaidd cyn amser Cystenyn. Ac wedi hynny y gwrthwynebiadau a gafodd hi oddiwrth Anghrist, oeddynt etto yn fwy creulon, tanbaid, a chenfigennus. Nid oes un prawf o'r fath wrthwynebiadau i unrhyw grefydd arall. Proffeswyr crefyddau eraill sydd yn cael mwynhau eu crefydd mewn heddwch a llonyddwch, pa wahaniaeth bynnag a fyddo rhyngddynt a'u cymmydogion mewn barn grefyddol. Un genedl sydd yn addoli rhyw nifer o dduwiau, ac eraill nifer arall, heb aflonyddu y naill y llall o'u plegid. Ond yr holl wrthwynebiadau a'r dygasedd sy tu ag at eglwys Crist fel pe na baent byth yn cael digoni eu creulondeb. Yr oeddynt yn gosod eu dyfeisiau megis ar glwyd i gael allan boenydiau a fyddai yn ddigon creulon; ac etto nid oeddynt yn torri eu syched, ac yn cael eu digoni â gwaed.

Felly y mae yn beth allan o bob dadl, fod gwrthwynebiad maleisus i'r grefydd hon, a'r ysgrythyrau, bob amser yn y byd. A'r unig gwestiwn ydyw, pa un ai annuwioldeb a llygredigaeth y byd yw'r achos o hynny, ai nad ê? Ond nis gall fod dim mwy ammheuaeth mewn perthynas i hyn na'r llall, os ystyriwn pa mor ddiachos yr oedd y fath greulondeb yn cael ei arfer, a phwy ydoedd y gwrthwynebwyr, a'r modd yr oeddynt hwy yn gweithredu. Y gwrthwynebiadau oeddynt yn bennaf oddiwrth Baganiaeth a Phabyddiaeth; pa rai, yn ol addefiad y gwrthgredwyr eu hunain, sydd yn hynod ddrygionus, ac yn ffrwyth dallineb, llygredigaeth, ac annuwioldeb dynion. Y mae goleuni natur yn dangos mai annuwioldeb ynddi ei hun ydyw crefydd y Paganiaid, yr hon sydd yn gynnwysedig mewn defodau a seremoniau ffiaidd, addoli eilunod, ac aberthu eu plant iddynt. Ac nid yw ofer-goeledd, eilun-addoliaeth, a thrais Eglwys Rufain, ddim llai gwrthwyneb i oleuni rheswm. Oddiwrth yr hyn yr ymddengys, mai trwy ddynion annuwiol y mae gwrthwynebiadau i eglwys Dduw bob amser. Y gwrthwynebiad yn amser

Crist a'i apostolion, ydoedd pan oedd cyffredinolrwydd y bobl yn hynod o annuwiol, fel y mae Josephus, ac ysgrifenwyr Iddewig eraill, yn cyfaddef. Ac mai annuwioldeb yn unig yw yr achos o'r gwrthwynebiad hwn, sydd amlwg oddiwrth y dull egniol, anghyfiawn, a chreulon yr ymosodwyd yn wastadol ar eglwys Dduw. Y mae yn ymddangos fod llaw faleisus gan ysprydion uffernol ynddo bob amser,

Yn awr pa reswm a ellir ei roddi, paham y mae annuwioldeb y byd yn ymosod gyd â'r fath anghymmodlonedd yn erbyn crefydd Iesu Grist, a'r ysgrythyrau, ond yn unig o achos eu bod yn wrthwyneb i dduwiaeth, ac o ganlyniad yn sanctaidd ac yn dda? Paham y bu gelynion Crist am gynnifer o filoedd o flynyddoedd ynghyd yn dangos y fath gasineb marwol at y grefydd hon, oni bai ei bod yn achos Duw? Os nad ydyw yr ysgrythyrau yn air Duw, a chrefydd eglwys Crist yn wir grefydd, yna y mae yn rhaid nad ydynt ond hocced a thwyll wedi eu dychymmygu gan elynion Duw eu hunain. A phe felly y buasai, y mae yn debygol na buasai y gelynion hynny, ac annuwioldeb y byd, yn dal i fynu y fath elyniaeth anghymmodol a pharhaus tu ag atti.

(2.) Y mae yn rheswm cadarn i brofi fod yr eglwys a'i chrefydd o Dduw, gan iddi gael ei chynnal hyd yn hyn trwy yr holl beryglon a'r gwrthwynebiadau y daeth trwyddynt. Fod eglwys Dduw a gwir grefydd, yr hon mor barhaus a thanbaid a wrthwynebwyd gyd â'r fath ymegnïadau i'w dadymchwelyd, ac a fu mor fynych yn ymyl dinystr, a bron a chael ei llyngcu i fynu ganddo, a hynny trwy yn agos i chwe mil o flynyddoedd, ac etto yn cael ei chynnal, sydd yn y modd mwyaf nodedig yn dangos fod llaw Duw o'i phlaid. Hyn, ond ei iawn ystyried, a ymddengys yn un o'r gwyrthiau mwyaf a wnawd erioed, ac nid oes dim cyffelyb iddo ar wyneb y ddaear. Megis pan ddadymchwelwyd yr hen fyd trwy ddyfroedd diluw, ond etto yr eglwys a ddiogelwyd. Teyrnas weledig Satan a ddadymchwelwyd yn hollol y pryd hynny, ond ni wnawd erioed mo hynny â theyrnas weledig Crist. Holl Unbennaethau yr oesoedd a aethant heibio ydynt er's talm wedi dyfod hyd eu terfynau; y maent wedi heneiddio, ac wedi diflannu ymaith: "Canys y pryf a'u bwyttaodd hwynt fel dilledyn, a'r gwyfyn a'u hysodd hwynt fel gwlan;" ond y mae eglwys Dduw yn aros o hyd.

Ni bu erioed y fath ymegnïadau galluog i geisio dinystrio unrhyw beth, ag a fu i geisio dinystrio yr eglwys. Teyrnasoedd a chymdeithasau eraill o ddynion, pa rai oeddynt yn ymddang-

os yn gryfach ddengwaith nag eglwys Dduw, a ddinystriwyd â llai ganwaith o wrthwynebiadau nag a gyfarfu â hi. Y mae hyn yn dangos fod yr Arglwydd yn amddiffynydd i'r eglwys; canys y mae yn beth hollol eglur nad ydyw hi trwy ei nerth ei hun yn gallu ei chynnal ei hun; canys ni bu y rhan fwyaf o honi erioed ond cymdeithas hynod o wan. Nid oedd meibion Israel ond dyrnaid bychan o bobl mewn cydmariaeth i'r rhai a fyddai yn fynych yn ceisio eu dadymchwelyd. Yn amser Crist, ac wedi ei adgyfodiad, ar ddechreuad yr eglwys Gristionogol, nid oedd y Cristionogion ond megis gweddill, pan yr oedd holl luaws y genedl Iuddewig yn eu herbyn. Ac felly yn nechreuad yr eglwys ym mysg y cenhedloedd, nid oeddynt ond rhifedi bychan mewn cydmariaeth i'w herlidwyr Paganaidd. Hefyd yn amser tywyll Anghrist, cyn y diwygiad, nid oeddynt ond megis dyrnaid bychan, ac etto ni's gallodd eu gelynion eu dadymchwelyd. Ac yr oedd yn gyffredin yn digwydd fod gelynion yr eglwys, nid yn unig y nifer fwyaf, ond hefyd yn meddu yr awdurdod wladol o'u plaid. Nid oedd yr Israeliaid ond caeth-weision i'r Aiphtiaid, ac etto nis gallasant eu dinystrio. Yr un modd yn amser Antiochus Epiphanes, tan lywodraeth Baganaidd Rhufain, a'r rhan fwyaf o'r amser er cyfodiad Anghrist, yr oedd yr awdurdod wladol o blaid yr erlidwyr, a'r eglwys oedd megis yn eu dwylaw. Ac nid yn unig yr oedd nerth gelynion yr eglwys yn fwy na'r eiddo hi, ond yn gyffredinol nid ydoedd hi yn defnyddio y nerth oedd ganddi er amddiffyniad iddi ei hun, eithr yn hytrach cyflwyno ei hun yn hollol i ofal Duw. Felly yr ydoedd yn yr erlidigaeth Iuddewig cyn dinystr Jerusalem, ac yn yr erlidigaeth Baganaidd cyn amser Cystenyn, nid oedd y Cristionogion yn anturio gwneud un gwrthwynebiad grymmus yn erbyn eu herlidwyr Paganaidd. Felly hefyd yr ydoedd dan y rhan fwyaf o'r erlidwyr Pabaidd, ac etto ni buont erioed yn alluog i ddadymchwelyd eglwys Dduw, ond y mae yn sefyll hyd y dydd hwn.

Y mae yn fwy rhyfeddod etto, os ystyriwn pa mor fynych y dygwyd yr eglwys i ymyl dinystr, hyd oni byddai ei sefyllfa yn ymddangos yn anobeithiol. Yn amser yr hen fyd yr oedd annuwioldeb wedi cynnyddu gymmaint hyd nad oedd ond un teulu crefyddol wedi ei adael. Wrth y Môr Coch yr oedd Pharaoh a'i lu yn meddwl eu bod yn sicr o'u hysglyfaeth, ac eglwys Israel a waredwyd gan Dduw o amser i amser, fel y dangoswyd o'r blaen. Yn y modd hyn dan y ddegfed erlidig-

aeth, a'r ddiweddaf, yr oedd gelynion y Cristionogion yn ymffrostio eu bod wedi eu dinystrio, a dadymchwelyd yr eglwys; etto yn nghanol eu gorfoledd, yr eglwys a gyfododd megis o'r llwch, ac a lwyddodd, a'r Ymerodraeth Baganaidd a syrthiodd yn hollol o'i blaen. Felly hefyd, pan oedd yr eglwys yn ymddangos bron wedi ei llyngcu i fynu gan Ariaeth, a phan gyfododd Anghrist a llwyddo, fel yr oedd yr holl fyd yn rhyfeddu ar ol y bwystfil, a'r eglwys yn ymddangos am lawer o gannoedd o flynyddoedd mewn rhifedi bychan iawn, a gallu y byd yn ymosod i'w distrywio hi; etto nid oeddynt byth yn gallu cyrhaedd eu hamcan, ac o'r diwedd Duw mewn modd rhyfedd a adfywiodd ei eglwys yn amser y diwygiad, ac a wnaeth iddi sefyll megis ar ei thraed yn ngolwg ei gelynion, ac allan o'u cyrhaedd. Ac felly wedi hynny, pan y byddai yr awdurdodau Pabaidd yn cynllunio bradau er dadymchwelyd yr eglwys ddiwygiedig, a braidd yn ymddangos wedi cael eu hamcan i benderfyniad, yna yr Arglwydd a ymddangosai mewn modd rhyfedd i waredu ei eglwys, megis yn y chwyldroad yn amser y Brenhin William. Fel hyn yr ydoedd o bryd i bryd, ac yn ddioed wedi yr amserau tywyllaf ar yr eglwys, y byddai Duw yn gwneud iddi flaguro yn fwyaf gogoneddus.

Os ydoedd diogelwch eglwys Dduw â'r fath amgylchiadau yn ei ganlyn, o ddechreuad y byd hyd yn hyn, onid ydyw yn brawf digonol fod braich ddwyfol o'i phlaid, a pha beth arall a ellid ei ddychymmygu oedd yn ei chynnal? Ac os oes llaw ddwyfol yn hyn, yna y mae Duw yn addef ei eglwys, a'i chrefydd, a'r ysgrythyrau, ar ba rai y mae hi yn adeiladu; ac, o ganlyniad, y mae yn rhaid mai ei chrefydd hi ydyw y wir grefydd, a bod yr ysgrythyrau yn air Duw.

(3.) Nyni a allwn godi rheswm arall er profi dwyfol awdurdod yr ysgrythyrau, sef oddiwrth gyflawniad yr hyn a ragfynegwyd ynddynt. Sylwais cyn hyn, wrth ddyfod ym mlaen, y modd y cyflawnwyd prophwydoliaethau yr ysgrythyrau: yn awr, gan hynny, myfi a nodaf allan yn unig ddau brawf o gyflawniad y prophwydoliaethau.

[1.] Un ydyw, y diogelu a fu ar yr eglwys rhag cael ei dinystrio. Yr wyf, o fewn ychydig yn ol, wedi dangos y fath brawf ydyw hyn, ond ei ystyried ynddo ei hun, o ddwyfol awdurdod yr ysgrythyrau: yr wyf yn awr yn dyfod i lefaru am gyflawniad prophwydoliaethau yr ysgrythyr. Y mae hyn yn cael ei ragfynegu a'i addaw yn helaeth yn yr ysgrythyrau, yn neillduol yn

y testun ar ddechreuad y traethawd. Yno y dywedir y bydd i bethau eraill ddiffygio, unbennaethau a theyrnasoedd a ymosodasant yn erbyn y gwaith hwn ddyfod i ddiddymdra. "Y pryf a'u bwytty fel dilledyn, a'r gwyfyn a'u hysa fel gwlan." Ac felly y daeth pethau oddi amgylch. Ond fe ragfynegwyd hefyd, y byddai i gyfammod trugaredd yr Arglwydd tu ag at ei eglwys barhau yn dragywydd; ac felly y mae hyd yn hyn, er fod cymmaint nifer o oesoedd wedi myned heibio, ac er fod yr eglwys wedi myned trwy y fath beryglon. Yr un peth a addewir yn *Esa.* 54. 17. "Ni lwydda un offeryn a lunier i'th erbyn; a thi a wnai yn euog bob tafod a gyfodo i'th erbyn mewn barn." A thrachefn, *Pen.* 49. 14, 15, 16. "Etto dywedodd Sïon, Yr Arglwydd a'm gwrthododd, a'm Harglwydd a'm hanghofiodd. A anghofia gwraig ei phlentyn sugno, fel na thosturio wrth fab ei chroth? ïe, hwy a allant anghofio, etto myfi nid anghofiaf di. Wele, ar gledr fy nwylaw y'th argreffais; dy furiau sydd ger fy mron bob amser." Gwel hefyd *Pen.* 59. 21. a 43. 1, 2. *Zech.* 12. 2, 3. Crist hefyd sydd yn addaw yr un peth yn *Mat.* 16. 18. "Ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys, a phyrth uffern ni's gorchfygant hi." Yn awr, os nad ydyw yr ysgrythyrau yn air Duw, ac os nid efe sydd yn adeiladu ei eglwys arnynt, pa fodd y gallasai y personau a ragfynegodd hynny ei wybod? canys pe na buasai yr eglwys o Dduw, buasai yn beth annhebyg iawn iddi sefyll. Hwy a ragfynegasant y byddai i deyrnasoedd eraill ddyfod i ddiddymdra; hefyd, y gwrthwynebiadau mawrion y cyfarfyddai yr eglwys â hwy, a'r peryglon ym mha rai braidd y byddai iddi gael ei llyngcu i fynu ganddynt; ac etto hwy a ragfynegasant, ar yr un pryd, y byddai i'r eglwys sefyll. Yn awr, pa fodd y buasai iddynt hwy fynegu peth mor annhebyg i fod, oni buasai iddynt fod dan ddwyfol ysprydoliaeth?

[2.] Siampl nodedig arall o gyflawniad prophwydoliaethau ysgrythyrol, y gwnaf sylwi arni, ydyw yr hyn a ragfynegir mewn perthynas i Anghrist, gwrthwynebwr hynod i Grist a'i deyrnas.—(1.) Fe ragfynegwyd y byddai ei gyfodiad, nid yn mysg y Paganiaid, ond yn ymadawiad ymaith yr eglwys Gristionogol. 2 *Thes.* 2. 3. "Oblegid ni ddaw y dydd hwnnw hyd oni ddel ymadawiad yn gyntaf, a datguddio y dyn pechod, mab y golledigaeth."—(2.) Y gosodai efe ei hun i fynu yn nheml neu eglwys weledig Duw, ac y byddai iddo honni ei fod wedi ei freinio â gallu Duw ei hun, fel pen yr eglwys, *adn.* 4.—(3.) Fe hyspysir mai yn raddol y cyfodai Anghrist, *adn.* 7. "Canys y

mae dirgelwch yr anwiredd yn gweithio eisoes: yn unig yr hwn sydd yr awrhon yn attal, a ettyl nes ei dynnu ymaith."—(4.) Y mae y brophwydoliaeth yn hyspysu mai tywysog mawr neu frenhin yr Ymerodraeth Rufeinig a fyddai efe: canys felly yr arddangosir ef yn Daniel, fel corn y pedwerydd bwystfil, neu y bedwaredd deyrnas neu unbennaeth ar y ddaear, megis y mae yr angel yn egluro gweledigaeth y corn bychan. *Dan.* 7. 24.—(5.) Fe ragfynegwyd y byddai i'w orseddfa fod yn ninas Rhufain; ac felly yr hyspysir yn bendant, y byddai i'r buttain ysprydol, neu yr eglwys gau, fod â'i gorsedd-faingc ar saith fynydd. *Dat.* 17. 9. "Y saith ben, saith fynydd ydynt, lle mae y wraig yn eistedd arnynt." Ac *adn.* 18. "A'r wraig a welaist, yw y ddinas fawr, sydd yn teyrnasu ar frenhinoedd y ddaear," yr hon, yn ddiammeu, ydoedd dinas Rhufain y pryd hynny.—(6.) Fe brophwydwyd y byddai i'r Anghrist hwn deyrnasu ar bobloedd a thorfeydd, cenhedloedd ac ieithoedd, ac y byddai i'r holl fyd ryfeddu ar ol y bwystfil. *Dat.* 13. 3. a 17. 3.—(7.) Y byddai efe yn nodedig am ei falchder, ac yn honni pethau mawrion, ac yn rhyfygu cymmeryd llawer o bethau iddo ei hun. 2 *Thes.* 2. 4. "Yn ymddyrchafu goruwch pob peth a elwir yn Dduw, neu a addolir." *Dat.* 13. 5. "A rhoddwyd iddo ef enau yn llefaru pethau mawrion, a chabledd." Yn *Dan.* 7. 20. y dywedir am y corn bychan, fod genau iddo yn llefaru pethau mawrion, a'r olwg arno yn arwach na'i gyfeillion.—(8.) Y byddai efe yn erlidiwr creulon. *Dan.* 7. 21. "Edrychais, a'r corn hwn a wnaeth ryfel ar y saint, ac a fu drech na hwynt." *Dat.* 13. 7. "A rhoddwyd iddo wneuthur rhyfel â'r saint, a'u gorchfygu hwynt." *Dat.* 17. 6. "Ac mi a welais y wraig yn feddw gan waed y saint, a chan waed merthyron Iesu."—(9.) Y byddai iddo fod yn hynod o ystrywgar a chyfrwys. *Dan.* 7. 8. "Ac wele lygaid fel llygaid dyn yn y corn hwnnw." *Adn.* 20. "Sef y corn yr oedd llygaid iddo." Y mae yr holl bethau hyn yn cyfatteb i ymddygiad Eglwys Rufain.—(10.) Fe ragfynegwyd, y byddai i frenhinoedd Cristionogaeth fod yn ddeiliaid i Anghrist, ac yn ddarostyngedig iddo." *Dat.* 17. 12, 13. "A'r deg corn a welaist, deg brenhin ydynt, y rhai ni dderbyniasant frenhiniaeth etto; eithr awdurdod fel brenhinoedd, un awr, y maent yn ei dderbyn gyd â'r bwystfil. Yr un meddwl sydd i'r rhai hyn, a hwy a roddant eu nerth a'u hawdurdod i'r bwystfil."—(11.) Y byddai iddo honni gwneuthur gwyrthiau a rhyfeddodau gau. 2 *Thes.* 2. 9. "Yr hwn y mae ei ddyfodiad yn ol gweith-

rediad Satan, gyda phob nerth, ac arwyddion, a rhyfeddodau gau. *Dat.* 13. 13, 14. "Ac y mae efe yn gwneuthur rhyfeddodau mawrion, hyd onid yw yn peri i dân ddisgyn o'r nef i'r ddaear, y'ngolwg dynion; Ac y mae efe yn twyllo y rhai sydd yn trigo ar y ddaear, trwy y rhyfeddodau y rhai a roddwyd iddo ef eu gwneuthur ger bron y bwystfil." Wrth y tân yn dyfod i lawr o'r nefoedd, y mae yn ymddangos fod cyfeiriad at yr ysgymmundodau Pabaidd, pa rai a fyddai yn cyffroi ac yn dychrynu dynion fel mellt.—(12.) Fe ragfynegwyd y byddai efe "Yn gwahardd priodi, ac yn erchi ymattal oddiwrth fwydydd, y rhai a greodd Duw i'w derbyn, trwy roddi diolch gan y ffyddloniaid, a'r rhai a adwaenant y gwirionedd." 1 *Tim.* 4. 3.—(13.) Y byddai iddo fod yn hynod o gyfoethog, a chyrhaedd gradd helaeth o ogoniant a gorwychedd daearol. *Dat.* 17. 4. "A'r wraig oedd wedi ei dilladu â phorphor ac ysgarlad, ac wedi ei gwychu âg aur, ac â main gwerthfawr, a pherlau, a chanddi gwppan aur yn ei llaw." Gwel hefyd *pen.* 18. 7. Ac fe ragfynegwyd hefyd, y byddai efe yn gwahardd i neb brynu a gwerthu, ond y rhai a fyddai yn meddu ei nod ef; "Ac na allai neb na phrynu na gwerthu, ond yr hwn a fyddai ganddo nod, neu enw y bwystfil, neu rifedi ei enw ef."—(14.) Wrth rifo rhannau ei fasnachaeth, fe ddywedir fod eneidiau dynion yn un o honynt. *Dat.* 18. 17.—(15.) Fe ragfynegwyd na oddefai Anghrist i gyrph pobl Dduw gael eu claddu. *Dat.* 11. 8, 9. "A'u cyrph a orwedd ar heolydd y ddinas fawr, ac ni oddefant roi eu cyrph hwy mewn beddau." Yr holl bethau hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol yn Eglwys Rufain, a llawer yn ychwaneg a allesid eu crybwyll.

(4.) Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gallwn ddysgu fod gwir Gristionogion yn meddu yspryd dioddefgar; canys felly y trefnodd Duw i'w eglwys fod am amser maith mewn sefyllfa ddioddefus: a gallwn benderfynu mai yspryd dioddefgar ydyw yspryd y wir eglwys, oblegid fod yr Arglwydd yn trefnu i'w chyflwr a'i hamgylchiadau hi fod yn gyfattebol i'r yspryd a roddodd efe iddi. Felly ni a welwn pa mor luosog ydoedd dioddefiadau yr eglwys Gristionogol trwy yr yspaid mwyaf o ddau gan mlynedd ar bymtheg; nid ydyw yn rhyfeddod, gan hynny, fod Crist yn gwasgu mor ddwys at ystyriaeth, os mynnent fod yn ddisgyblion iddo ef, yr angenrheidrwydd sydd iddynt ymwadu â hwy eu hunain, a chodi y groes i'w ganlyn ef. *Mat.* 16. 24.

Y mae yn hawdd profi mai yspryd dioddefgar yw yspryd gwir

eglwys Crist, oddiwrth yr agwedd a ymarferodd ac a ddangosodd dan ei dioddefiadau. Diau ei bod dan yr holl erlidigaethau arswydus hynny yr aeth hi trwyddynt, yn dewis dioddef y poenau mwyaf, a gwerthu pob peth er mwyn y perl o uchel bris, a goddef yr hyn oll a allai ei gelynion chwerw ei wneuthur, yn hytrach na gwerthu Crist a'i grefydd. Ni a gawn mewn hanesyddiaeth luaws o siamplau yn dwyn i'r amlwg gwmmwl mawr o dystion. Y mae hyn yn cadarnhau yr angenrheidrwydd o fod yn ewyllysgar i ymadael â phob peth er mwyn Crist, ac i ymwrthod â'n hesmwythdra ein hunain, ein helw bydol, a'n hanrhydedd, er ei fwyn ef a'r efengyl.

Bydded i ni holi ein hunain, a ydym ni yn meddu y fath yspryd? Pa fodd yr ydym pan y'n profir? A ydym ni yn gallu dangos yn weithredol ein bod yn ymwadu â ni ein hunain, ac yn ymwrthod â'n helw bydol, ac i fyned trwy y profedigaethau y gelwir ni iddynt gan ragluniaeth? Pa mor ysgafn ydyw ein profedigaethau ni, a'u cydmaru â rhai o'n cyd Gristionogion mewn oesoedd a aeth heibio! Myfi a wnaf ddefnydd o'r testun hwnnw at yr achos hwn, *Jer.* 12. 5. "O rhedaist ti gyd â'r gwŷr traed, a hwy yn dy flino, pa fodd yr ymdarewi â'r meirch?" Os nad ydwyt yn alluog i ddioddef profedigaethau ysgafn, i ba rai y'th alwyd yn yr oes ac yn y wlad hon, pa fodd y gellit ddioddef profedigaethau mwy o lawer ag y cafodd yr eglwys ei galw iddynt mewn oesoedd o'r blaen? Y mae pob gwir Gristion yn meddu yspryd merthyr, ac efe a ddioddefai fel merthyr, pe byddai rhagluniaeth yn ei alw i hynny.

(5.) Oddiwrth y pethau hyn ni a gawn reswm cryf i ddisgwyl am gyflawniad o'r ysgrythyrau hynny, ag sydd etto heb eu cyflawni. Y mae yr ysgrythyrau yn rhagfynegi am lawer o bethau mawrion sydd etto i'w cyflawni, ond fod llawer o rwystrau yn ymddangos yn y ffordd. Yr ydym yn gweled y pethau hyn yn bresennol ym mhell iawn oddiwrth y sefyllfa y rhagfynegir am danynt, ond etto y mae gennym reswm neilltuol i ddisgwyl y cyflawnir hwy yn eu hamser priodol, er cymmaint o anhawsderau sydd yn ymddangos i hynny. Yr ydym yn gweled ffyddlondeb Duw yn sefyll at ei addewidion hyd yn hyn, ac mor ffyddlon a fu efe i'w eglwys, a'r modd y cofiodd efe ei drugaredd o genhedlaeth i genhedlaeth. Ni a allwn ddywedyd mewn perthynas i'r hyn a wnaeth Duw i'w eglwys hyd yn hyn, fel y dywedodd Josua wrth feibion Israel: "Ni phallodd dim o'r holl bethau daionus a lefarodd yr Arglwydd ein Duw mewn

perthynas i'w eglwys;" ond hyd yn hyn y mae pob peth yn cael ei gyflawni yn ol yr hyn a ragfynegwyd. *Jos.* 23. 14. Dylai hyn fod yn gefnogrwydd i'n ffydd yn yr addewidion hynny, a'n calonnogi i weddio yn daer ar Dduw am gyflawni y pethau mawrion hynny sydd etto yn aros heb eu cyflawni.

Dangoswyd eisoes y modd y dygwyd ym mlaen lwyddiant y prynedigaeth yn Nghrist trwy wahanol amserau i lawr hyd yr amser presennol.

4. Yr wyf yn awr yn dyfod i sylwi, y modd y dygir y'mlaen waith y prynedigaeth o'r amser presennol, hyd oni chwympir Anghrist, ac y dinystrir teyrnas weledig Satan ar y ddaear. Ac mewn perthynas i'r yspaid hwn o amser, nid oes gennym ddim i'n cyfarwyddo ond prophwydoliaethau yr ysgrythyrau. Hyd yn hyn yr oedd gennym hanesyddiaeth neu brophwydoliaethau ysgrythyrol i'n cyfarwyddo, ynghyd â hanesyddiaeth ddynol. Ond o hyn allan nid oes gennym ond prophwydoliaethau yn unig. Ac yma myfi a adawaf heibio y pethau hynny ag sydd yn unig yn debygol, neu yn ammheus gan rai oddiwrth y prophwydoliaethau hynny ag sydd yn betrusgar yn eu hystyr, ac a safaf yn unig ar y pethau hynny ag sydd yn fwyaf eglur a goleu.

Ni's gwyddom pa ddigwyddiadau sydd i ddyfod cyn dechreu y gwaith gogoneddus hwnnw o eiddo Yspryd Duw, trwy yr hwn y dadymchwelir teyrnas Satan. Yn ol cydsyniad y rhan fwyaf o dduwinyddion, nid oes ond ychydig bethau, os oes dim, a ragfynegwyd, i'w cyflawni cyn dechreu y gwaith gogoneddus hwn o eiddo Duw. Y mae rhai yn meddwl na laddwyd y tystion etto. *Dat.* 11. 7, 8. Felly hefyd y mae duwinyddion yn gwahaniaethu mewn perthynas i'r saith phiol, *Dat.* 16. pa sawl un a dywalltwyd, a pha sawl un sydd yn aros heb eu tywallt; er fod esponiwr diweddar, yr hwn a enwais o'r blaen, yn dangos yn hynod o eglur a goleu eu bod oll wedi eu tywallt eisoes ond dwy, sef y chweched ar yr afon Euphrates, a'r seithfed i'r awyr. Ond ni safaf yn bresennol i chwilio pa beth a feddylir wrth y chweched phiol yn cael ei thywallt ar yr afon Euphrates, yn barottôad ffordd i frenhinoedd y dwyrain; ond yn unig dywedyd mai rhyw beth ydyw a wneir yn union-gyrchol i barottôi 'r ffordd i ddinystrio y Babilon ysprydol, fel yr oedd sychu yr afon Euphrates, yr hon oedd yn rhedeg trwy ganol yr hen Babilon, yn parottôi 'r ffordd i frenhinoedd y Mediaid a'r Persiaid, pa rai oeddynt frenhinoedd y dwyrain, i ddyfod i mewn dan furiau y ddinas i'w dinystrio. Ond pa beth bynnag a fydd hyn,

nid ydyw yn ymddangos yn debyg y bydd iddo gael ei gyflawni cyn i waith Yspryd Duw ddechreu, trwy yr hwn, fel ag yr elo ym mlaen, y dadymchwelir yn hollol deyrnas Satan ar y ddaear. Gan hynny yr ydwyf yn dyfod ym mlaen i ystyried yr hyn a ddywedir yn yr ysgrythyr mewn perthynas i'r gwaith hwn o eiddo Duw. Ac mi a nodaf ddau beth yn gyffredinol mewn perthynas iddo.

1. Y mae gennym bob rheswm i feddwl oddiwrth yr ysgrythyrau, mai amser isel a thywyll iawn ar grefydd yn y byd a fydd ychydig cyn i'r gwaith hwn o eiddo Duw ddechreu. Felly yr ydoedd yn flaenorol i'r adfywiadau gogoneddus hynny a fu o'r blaen ar grefydd. Felly yr ydoedd pan y daeth Crist yn y cnawd, ac hefyd ychydig cyn y diwygiad oddiwrth Babyddiaeth. Ac fe ymddengys y rhagfynegir yn yr ysgrythyr, mai ychydig o grefydd a fydd yn y byd pan y delo Crist i osod ei deyrnas i fynu ynddo. Pan yr oedd efe yn llefaru am ei ddyfodiad, i galonnogi ei etholedigion, pa rai sydd yn llefain arno ddydd a nos, y mae efe yn ychwanegu, ac yn dywedyd, "Eithr Mab y dyn, pan ddêl, a gaiff efe ffydd ar y ddaear?" *Luc* 18. 8. Y mae hyn yn dangos y bydd cynnydd mawr ar anffyddiaeth ychydig cyn i Grist ymddangos i ddïal dioddefiadau ei eglwys. Er nad ydyw ei ddyfodiad i'r farn ddiweddaf i'w gau allan o'r ymadrodd hwn, etto fe ymddengys ei fod yn cyfeirio yn bennaf at ei ddyfodiad i waredu ei eglwys o'i chyflwr o hir oddef erlidigaeth, yr hyn a wneir pan y delo efe i ddinystrio Anghrist, sef yr amser hwnnw ag y bydd yr etholedigion yn llefain, "Pa hŷd, Arglwydd, sanctaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu, ac yn dïal ein gwaed ni ar y rhai sydd yn trigo ar y ddaear?" *Dat.* 6. 10. Hwnnw yw yr amser pan y dywedir, "Llawenhâ o'i phlegid hi, y nef, a chwi, apostolion sanctaidd a phrophwydi; oblegid dïalodd Duw arni drosoch chwi." *Dat.* 18. 20. Y mae yn dywyll iawn ar yr achos crefyddol yn y byd yn bresennol, ac y mae y cyflawniad nodedig o'r rhagddywediad hwnnw, 2 *Petr* 3. 3. "Gan wybod hyn yn gyntaf, y daw yn y dyddiau diweddaf watwarwyr, yn rhodio yn ol eu chwantau eu hunain." Ac hefyd *Judas* 17, 18. "Eithr chwi, O rai anwyl, cofiwch y geiriau a rag-ddywedwyd gan apostolion ein Harglwydd Iesu Grist; Ddywedyd o honynt i chwi, y bydd yn yr amser diweddaf watwarwyr, yn cerdded yn ol eu chwantau annuwiol eu hunain." Pa un a fydd yr amserau yn dywyllach etto, neu pa faint mwy a fydd o ddirywiad cyn dechreu y gwaith hwn, ni's gellir dywedyd.

2. Nid oes un sail i feddwl na bydd y gwaith mawr hwn o eiddo Duw, er cael ei ddwyn ym mlaen yn hynod o gyflym, etto yn raddol. Fel yr oedd meibion Israel yn cael eu dwyn o gaethiwed Babilon, yn gyntaf un gymdeithas yn dychwelyd tu a'u gwlad, wedi hynny un arall, ac yn raddol yn ail-adeiladu eu dinas a'u teml; ac fel yr oedd yr Ymerodraeth Baganaidd Rufeinig yn cael ei dinystrio yn raddol, er yn hynod o gyflym, trwy lwyddiant yr efengyl; felly, er fod llawer o bethau yn arwyddo y bydd y gwaith hwn o eiddo Duw yn hynod o gyflym, a llawer o ddigwyddiadau rhyfeddol yn cael eu dwyn i ben gyda phrysurdeb, rhyw rannau o deyrnas Satan yn cael cwymp prysur, etto ni chyflawnir y cyfan ar unwaith, megis trwy wyrth fawr (fel y bydd adgyfodiad y meirw yn niwedd y byd ar unwaith); ond y gwaith hwn a gyflawnir trwy foddion, sef pregethiad yr efengyl, ac arferiad cyffredinol o foddion gras, ac felly y bydd yn raddol. Rhyw rai a gaent eu dychwelyd, ac a fyddant yn foddion i ddychwelyd eraill. Yspryd Duw a dywelltir yn gyntaf i godi offerynau, a'r offerynau hynny a ddefnyddir, ac a fyddant yn llwyddiannus. A diammeu y bydd i'r naill genedl gael ei goleuo ar ol y llall, ac y bydd rhai yn ymwrthod a'r naill gau grefydd ar ol y llall. Yn ol yr arddangosiad yn *Dan.* 2. 3, 4. y garreg a dorrwyd o'r mynydd, nid â dwylaw, yn cynnyddu yn raddol. Felly hefyd y mae Crist yn ein dysgu, fod teyrnas nefoedd yn debyg i ronyn o hâd mwstard, ac yn gyffelyb i surdoes yn cael ei guddio mewn tri mesur o flawd. *Mat.* 13. 31, 32, 32. Nyni a gawn yr un darluniad y'ngweledigaeth dyfroedd y cyssegr. *Ezec.* 48. Y mae yr ysgrythyrau yn sôn am amrywiol ddilynol ddigwyddiadau, trwy ba rai y cyflawnir y gwaith gogoneddus hwn. Yr angel pan y mae yn llefaru wrth y prophwyd Daniel am yr amserau gogoneddus hynny, sydd yn sôn am ddau amser ag y bydd pethau gogoneddus yn cael eu cyflawni yn niwedd pob un o honynt. *Dan.* 12. 11. "Ac o'r amser y tynner ymaith y gwastadol aberth, ac y gosoder i fynu y ffieidd-dra anrheithiol, y bydd mil dau cant a deg a phedwar ugain o ddyddiau." Ond yn *adn.* 12. y mae yn ychwanegu, "Gwyn ei fyd a ddisgwylio, ac a ddêl hyd y mil tri chant a phymtheg ar hugain o ddyddiau;" yr hyn sydd yn arwyddo y bydd rhyw beth hynod o ogoneddus yn cael ei gyflawni yn niwedd yr amser cyntaf, ond y bydd rhyw beth mwy gogoneddus ar derfyn yr amser diweddaf. Ond yn awr yr wyf yn dyfod ym mlaen i sylwi,

(3.) Y bydd i'r gwaith mawr hwn gael ei gyflawni, nid trwy awdurdod tywysogion, na doethineb y dysgedigion, ond gan yr Yspryd Glân. *Zech.* 4. 6, 7. " Nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy Yspryd, medd Arglwydd y lluoedd. Pwy wyt ti, y mynydd mawr? ger bron Zorobabel y byddi yn wastadedd; ac efe a ddwg allan y maen pennaf, gan waeddi, Rhad, rhad iddo." A'r prophwyd Ezeciel hefyd, wrth lefaru am y gwaith mawr hwn o eiddo Duw, a ddywed, " Ni chuddiaf chwaith fy wyneb mwy oddi wrthynt: o herwydd tywelltais fy Yspryd ar dŷ Israel, medd yr Arglwydd Dduw." *Pen.* 39. 29. Ni's gwyddom pa le y bydd i'r tywalltiad hwn o'r Yspryd ddechreu, neu ynte a fydd efe yn dechreu mewn amryw leoedd ar unwaith, neu a ydyw yr hyn a fu eisoes yn flaenbrofiad ac yn ddechreuad o hono.

Y tywalltiad hwn o Yspryd Duw, wedi y dechreuo, a ddwg luaws yn fuan i ymwrthod â'r annuwioldeb a'r drygioni sydd yn awr mor gyffredinol yn llwyddo, ac a adfywia y grefydd honno sydd â bywyd yn ei chanlyn, pa un sydd mor ddirmygus yn bresennol yn y byd. Y gwaith o ddychwelyd a dyrr allan, ac a â ym mlaen mewn modd na bu ei gyffelyb erioed o'r blaen, yn ol yr addewid honno yn *Esa.* 45. 3—5. " Canys tywalltaf ddyfroedd ar y sychedig, a ffrydiau ar y sychdir." Trwy dywalltiad o'i Yspryd yr addurno yr Arglwydd offerynau i ddwyn y gwaith hwn ym mlaen; efe a'u lleinw hwy â doethineb a gwybodaeth, ac â zel wresog i ddwyn ym mlaen deyrnas Crist, iachawdwriaeth eneidiau, a lledaeniad yr efengyl yn y byd. Yr efengyl a bregethir gyda mwy o lawer o eglurdeb ac awdurdod nag y pregethwyd hi hyd yn hyn: canys trwy bregethiad yr efengyl y dygir y gwaith mawr hwn o eiddo Duw ym mlaen, yr hon a gyhoeddir gyd âg awdurdod mawr yn y byd cyn cwymp Babilon. *Dat.* 14. 6—8.

Yr oedd hyn yn cael ei gysgodi trwy udganiad yr udgyrn arian yn Israel gynt, *Lef.* 25. 9. " Yna pâr ganu i ti udgorn y jubili ar y seithfed mis, ar y degfed dydd o'r mis; ar ddydd y cymmod cenwch yr udgorn trwy eich holl wlad." Yr amserau gogoneddus sydd yn aros yr eglwys, a fyddant megis jubili iddi, pa un a fydd yn dechreu gyd âg udganiad udgorn arian yr efengyl, fel y rhagfynegir yn *Esa.* 27. 13. " Ac yn y dydd hwnnw yr udgenir âg udgorn mawr; yna y daw y rhai ar ddarfod am danynt yn nhir Assyria, a'r rhai a wasgarwyd yn nhir yr Aipht, ac a addolant yr Arglwydd yn y mynydd sanctaidd yn Jeru-

salem." Fe fydd tywalltiad gogoneddus o'r Ysbryd gyd â'r fath bregethiad eglur ac awdurdodol o'r efengyl, er adfywio yr athrawiaethau sanctaidd hynny mewn crefydd ag sydd yn awr yn gyffredinol yn cael eu gwawdio yn y byd, ac i ddychwelyd llawer oddiwrth heresïau, ac oddiwrth Babyddiaeth, a phob gau grefydd arall; ac hefyd i ddychwelyd llawer oddiwrth eu drygioni a'u halogedigaeth, ac i ddwyn lluaws yn achubol at Grist.

Y gwaith o ddychwelyd a â ym mlaen mewn modd rhyfeddol, ac a ymledaena fwyfwy. Llawer a ymgynnullant ynghyd at ddaioni yr Arglwydd, ac a ddeuant fel dïadelloedd, y naill ddiadell ar ol y llall. *Esa.* 60. 4—8. "Cyfod dy lygaid oddi amgylch, ac edrych; ymgasglasant oll, daethant attat: dy feibion a ddeuant o bell, a'th ferched a fegir wrth dy ystlys. Yna y cei weled, ac yr ymddisgleiri. Pwy yw y rhai hyn a ehedant fel cwmmwl, ac fel colommennod i'w ffenestri?" Ac fe ddangosir yn y lle a nodwyd o'r blaen, *Dat.* 14. 6—8. y bydd i'r efengyl gael ei phregethu i bob llwyth, ac iaith, a phobl, cyn cwymp Anghrist; felly nyni a allwn dybied y llwydda hi yn ogoneddus yn fuan i ddychwelyd lluaws o bob cenedl; a hi a ymledaena gyda chyflymdra rhyfeddol, a rhifedi mawr a ddygir i mewn gyda phrysurdeb i'r eglwys, fel y dywedir y bydd i genedl gael ei geni mewn un dydd. *Esa.* 66. 7—9.

(4.) Ni bydd i'r tywalltiad hwn o Ysbryd Duw ddadymchwelyd teyrnas Satan, cyn bod yn gyntaf wrthwynebiad egniol a grymmus iddo. Y mae 'r ysgrythyr yn dangos hyn yn eglur, sef pan y delo Crist yn ei ogoniant, pryd y bydd dinystr Anghrist gerllaw, a theyrnas Satan yn dechreu cael ei dryllio, yna awdurdodau teyrnas y tywyllwch a ymgyfodant yn enbyd, ac a ymegnïant yn alluog i ragflaenu dadymchweliad eu teyrnas. Wedi tywalltiad y chweched phiol, yr hon sydd i sychu yr afon Euphrates, i barottôi 'r ffordd i ddinystrio Babilon ysprydol, arddangosir yn *Dat.* 16. fel pe bai galluoedd uffern yn brawychu yn ddirfawr, ac yn ymgynhyrfu i wrthwynebu teyrnas Crist, a hynny cyn i'r seithfed phiol, yr hon yw y ddiweddaf, gael ei thywallt, trwy dywalltiad pa un y dadymchwelir yn hollol deyrnas Satan. Wedi rhoi hanes am dywalltiad y chweched phiol, y mae 'r disgybl anwyl yn dangos yn yr adnodau canlynol, y bydd "tri yspryd aflan tebyg i lyffaint, yn myned allan at frenhinoedd y ddaear, i'w casglu hwy i ryfel y dydd hwnnw, dydd mawr Duw Hollalluog." *Dat.* 16. 13, 14.

Ymddengys mai hyn a fydd yr ymegnïad mwyaf a diweddaf o eiddo Satan i geisio achub ei deyrnas rhag ei dadymchwelyd, er fe allai y gwna efe y fath ymgyrch egnïol drachefn i'w hail-ennill tua diwedd y byd.

Pan y tywalltir yr Yspryd mewn modd gogoneddus, ac y canfyddo y diafol luaws yn heidio at Grist yn y naill genedl a'r llall, a chloddio beunyddiol dan sylfeini ei deyrnas, a'i cholofnau yn dryllio, ac oll yn barod i syrthio, efe a frawycha yn ddirfawr. Y mae Satan erioed yn arswydo i'w deyrnas gael ei dadymchwelyd, ac y mae er's hir amser yn ymegnïo i'w chadarnhau, a rhagflaenu ei dinystr. Ac i'r diben hwn y cyfododd efe i fynu y ddwy deyrnas alluog hynny, sef Mahomet ac Anghrist, ac y magodd efe yr holl heresiau a'r ofer-goeledd yn y byd: ond pan y gwel hwy oll yn dechreu cwympo, efe a frawycha yn ddirfawr. Os oedd Satan yn brawychu rhag cael ei fwrw allan o'r Ymerodraeth Rufeinig, pa faint mwy y brawycha efe rhag cael ei fwrw allan o'r holl fyd.

Fe ymddengys fel pe bai y gwrthwynebiad mawr a diweddaf hwn a wneir yn erbyn yr eglwys, ac er amddiffyniad i deyrnas Satan oddiwrth holl rym Anghristiaeth, Mahometaniaeth, a Phaganiaeth, wedi ymuno â'u gilydd; holl allu teyrnas weledig Satan trwy y byd.* Gan hynny y dywedir, fod "ysprydion cythreuliaid yn myned allan at frenhinoedd y ddaear, a'r holl fyd, i'w casglu hwy i ryfel y dydd hwnnw, dydd mawr Duw Hollalluog." Ac fe ddywedir fod yr ysprydion hyn yn dyfod allan o safn y ddraig, ac allan o safn y bwystfil, ac allan o enau y gau brophwyd; hynny yw, yspryd Pabyddiaeth, yspryd Paganiaeth, ac yspryd Mahometaniaeth, wedi ymuno ynghyd. Wrth y bwystfil y meddylir Anghrist; ac wrth y ddraig, yn y llyfr hwn, y meddylir yn gyffredinol y diafol, fel y mae efe yn teyrnasu yn ei deyrnas Baganaidd; wrth y gau brophwyd y meddylir weithiau y Pab a'i offeiriaid. Ond yn y lle yma y mae cyfeiriad neillduol at Mahomet, yr hwn y mae ei ganlynwyr yn ei alw yn brophwyd mawr Duw. Hyn a fydd megis ymrysonfa farwol i'r hen sarph, brwydr ym mha un y bydd efe yn ymladd ymladdfa anobeithiol.

Ni's gwyddom yn neillduol ym mha fodd y gwneir y gwrthwynebiad hwn. Y mae yn cael ei arddangos fel rhyfel, ac a

---

* Pa mor gydunol â'r golygiad hwn ydoedd y cyngrair a fu rhwng y Pab a'r Sultan yn ddiweddar i attal y Bibl i'w llywodraethau.

elwir yn "rhyfel dydd mawr Duw Hollalluog." Fe fydd ymrysonfa alluog mewn rhyw ffordd neu gilydd rhwng teyrnas weledig Satan a'r eglwys, ac fe allai mewn amryw ffyrdd; ac y mae yn ddiammheuol y bydd gwrthwynebiad mawr trwy rym allanol. Tywysogion y byd hwn, pa rai sydd o ochr y diafol, a ymunant law yn llaw yn y frwydr hon; canys dywedir, fod "Brenhinoedd y ddaear wedi ymgynnull ynghyd i wneuthur rhyfel." *Dat.* 19. 19. Y mae yn debygol hefyd y bydd gwrthwynebrwydd mawr gan ddadleuwyr dichellgar gyd â'u rhesymau cnawdol; ac erlidigaethau mawrion mewn amryw leoedd, a gwaradwyddiadau llymdost. Y mae yn ddiammheuol y bydd y diafol yn dyfal arfer ei holl ddyfais, yn gystal a'i holl nerth. Y cyfunwyr a'r deiliaid perthynol i'w lywodraeth, a ymgynhyrfant ac a ymunant mewn gwrthwynebrwydd tanbaid yn erbyn y grefydd sanctaidd hon, ag a fydd yn llwyddo mor rymmus yn y byd yn eu golwg hwy. Ond,

(5.) Crist a'i eglwys a gânt gyflawn fuddugoliaeth yn y frwydr honno ar eu gelynion. Dadymchwelir hwy yn hollol yn eu hymgyrch olaf hwn. Pan y byddo galluoedd uffern a daear wedi ymuno ynghyd yn erbyn Crist, ei fyddinoedd ef a ddeuant allan i ymladd â hwy yn nghynnorthwy ei Yspryd a'i air, yr hyn a ddarlunir mewn modd ardderchog a gogoneddus yn *Dat.* 19. 11—16. "Ac mi a welais y nef yn agored; ac wele farch gwyn; a'r hwn oedd yn eistedd arno a elwid Ffyddlawn a Chywir," &c. Ac i amlygu i ni pa mor fawr a fydd dadymchweliad y gelynion, fe ddywedir yn *adn.* 17, 18. y bydd "holl adar y nefoedd yn cael eu casglu ynghyd, i fwytta y swpper mawr a roddwyd iddynt, o gig brenhinoedd, a chig pen-capteniaid, a chig y cedyrn;" ac yn yr adnodau canlynol ni a gawn hanes am y fuddugoliaeth a geir arnynt hwy, a'u dymchweliad.

Yn y fuddugoliaeth hon y bydd y seithfed phiol yn cael ei thywallt. Ac fe ddywedir am y fyddin fawr a fydd wedi ymgasglu yn erbyn Crist, "Efe a'u casglodd hwynt ynghyd i le a elwir yn Hebraeg, Armagèdon;" ac yna "y seithfed angel a dywalltodd ei phiol i'r awyr; a daeth llef uchel allan o deml y nef, oddiwrth yr orseddfaingc, yn dywedyd, Darfu." *Dat.* 16. 16. Yn awr y bydd Satan a'i ganlynwyr â'u gorchwyl wedi darfod. Pan y ceir yr oruchafiaeth hon, fe fydd pob peth mewn effaith wedi darfod. Gwrthwynebrwydd mwyaf a diweddaf Satan a fydd wedi ei orchfygu, ei holl fesurau wedi eu dadymchwelyd, a cholofnau ei deyrnas wedi cael eu dryllio, ac o ganlyniad hi a

gwympa. Bydd y diafol wedi cael ei hollol siommi a'i waradwyddo, ac ni's bydd yn gwybod pa beth i wneud. Efe a genfydd ei deyrnas Anghristaidd, Mahometanaidd, a Phaganaidd, yn dyfod i lawr megis am ben ei glustiau. Bydd iddo ef a'i offerynau galluog gael eu cymmeryd yn gaethion. Yn awr y gwneir mewn effaith yr hyn y bu eglwys Dduw yn hir obeithio ac yn disgwyl am dano, ac mor daer yn llefain, " Pa hyd, Arglwydd, sanctaidd a chywir?" &c. Yn awr y bydd yr amser wedi dyfod.

Yr angel yr hwn a esyd ei droed dehau ar y môr, a'i aswy ar y tir, a gyfyd ei law i'r nefoedd, ac a dwng i'r hwn sydd yn byw yn oes oesoedd, yr hwn a greodd y nef a'r pethau sydd ynddi, a'r ddaear a'r pethau sydd ynddi, a'r môr a'r pethau sydd ynddo, " na bydd amser mwyach," pan udgano y seithfed angel. *Dat.* 10. 5—7. A'r pryd hyn y bydd yr amser wedi dyfod, pan yr udgenir y seithfed udgorn, ac y tywelltir y seithfed phiol ynghyd, yr hyn sydd yn arwyddo mai 'r pryd hynny y bydd pob peth wedi ei orphen yn nadymchweliad teyrnas Satan ar y ddaear. Y fuddugoliaeth hon a fydd y fwyaf o lawer o'r un a gafwyd erioed ar Satan a'i ddilynwyr. Trwy y dyrnod hwn, â pha un y bydd y garreg a dorrwyd o'r mynydd nid trwy waith dwylaw yn taro y ddelw o aur, ac arian, a phres, a haiarn, a chlai, hyd oni ddryllir hi yn chwilfriw. Hyn a rydd ddyrnod gorphenol i'r ddelw, hyd oni byddo fel mân ûs lloriau-dyrnu hâf. *Dan.* 2. 35.

Fe fydd yn y fuddugoliaeth hon yr amlygrwydd mwyaf gogoneddus o ddwyfol allu. Y pryd hynny yr ymddengys Crist yn ei enw priodol, " Brenhin y Brenhinoedd, ac Arglwydd yr Arglwyddi," ac efe a ddryllia ei elynion yn chwilfriw, ïe, y rhai cadarnaf a balchaf o honynt, fel y dryllir llestr y crochenydd. Yna y dangosir nerth mewn gwendid, ac y gwna Crist i'w eglwys ddyrnu y mynyddoedd, *Esa.* 41. 15. " Wele, gosodaf di yn fenn-ddyrnu ddanheddog; y mynyddoedd a ddyrni, ac a feli, gosodi hefyd y bryniau fel mwlwg." *Esa.* 43. 13—15.

(6.) Mewn canlyniad i'r fuddugoliaeth hon, teyrnas weledig Satan a ddinystrir ar y ddaear. Pan y gorchfygir ef yn y frwydr ddiweddaf hon, ni bydd ond gwaith hawdd i eglwys Crist ddyfod trwyddo; fel Josua a meibion Israel yn y fuddugoliaeth ar bum brenhin yr Amoriaid, pan safodd yr haul yn llonydd, ac yr anfonodd Duw genllysg mawrion i ddifetha y gelynion. Wedi hynny hwy a aethant o'r naill ddinas i'r llall, ac a'u llosgasant hwy â thân; ac nid oedd ond gwaith hawdd iddynt ddarostwng y dinasoedd hynny, a'r gwledydd perthynol iddynt.

Felly hefyd yr ydoedd wedi y frwydr fawr arall a gafodd Josua gyd â'r llu mawr hwnnw wrth ddyfroedd Merom. *Jos.* 11. 5—9. Felly wedi i Grist a'i eglwys gael y fuddugoliaeth ogoneddus hon ar eu gelynion, sef prif awdurdodau teyrnas Satan, hwy a ddistrywiant ei deyrnas ef ym mhob dinas a gwlad ag y byddont yn perthynu iddynt. Yna gair Duw a red yn dra buan trwy yr holl ddaear; fel y dywedir y bydd gyda thywalltiad y seithfed phiol, "i ddinasoedd y cenhedloedd syrthio, a'r ynysoedd ffoi ymaith, ac na bydd lle i'r mynyddoedd." *Dat.* 16. 19, 20. Wedi i'r garreg a dorrwyd o'r mynydd nid â dwylaw unwaith ddryllio y ddelw, peth hawdd a fydd diddymmu y gweddill o honi. Y gwynt a'i dwg ymaith fel mân ûs o'r lloriau-dyrnu hâf. Ac o herwydd y bydd teyrnas weledig Satan yn cael ei dinystrio y pryd hyn ar y ddaear, y dywedir, y bydd tywalltiad y seithfed phiol, trwy yr hyn y dryllir ei deyrnas ef, i'r awyr; pa le a arddangosir yn yr ysgrythyr fel gorseddfa neilltuol ei lywodraeth ef; canys fe'i gelwir yn "dywysog llywodraeth yr awyr." *Eph.* 2. 2. Y pryd hynny y bydd yr amser wedi dyfod i ymweled â'r Lefiathan y sarph hir-braff honno y darllenwn am dani yn *Esa.* 27. 1. "Y dydd hwnnw yr ymwêl yr Arglwydd â'i gleddyf caled, mawr, a chadarn, â Lefiathan y sarph hir-braff, ie â Lefiathan y sarph dorchog; ac efe a ladd y ddraig sydd yn y môr."

Mewn perthynas i'r dadymchweliad hwn i deyrnas weledig Satan ar y ddaear, yr wyf yn bwriadu dangos ym mha beth y bydd yn gynnwysedig yn bennaf, ynghyd â'i ehangder, a'i gyffredinolrwydd.

[1.] Sylwaf y'mha beth y bydd dadymchweliad teyrnas Satan yn fwyaf neilltuol yn gynnwysedig. Myfi a nodaf y pethau pennaf yn yr hyn y bydd yn gynnwysedig, heb ddywedyd yn benderfynol y'mha ddull y dygir hynny i ben, neu pa beth a gyflawnir gyntaf, neu ynte a fydd y cwbl yn cael eu cyflawni oll ynghyd.

Gellir barnu y bydd heresïau, ofer-goel, anffyddiaeth, y'mysg y rhai a ddygwyd i fynu dan oleuni yr efengyl, yn cael eu diddymmu y pryd hynny. Fe fydd Sociniaeth, Ariaeth, Cwaceriaeth, ac Arminiaeth, yn dibennu. Gwrthgrediniaeth *(Deism)* yr hyn sydd yn awr yn peri i rai fod mor hyderus a hyf mewn anffyddiaeth, a ddryllir i ddiddymdra y pryd hynny; a phawb a gyttunant mewn golygiadau ar athrawiaethau mawr a phwysig yr efengyl, yn ol yr addewid honno, *Zech.* 14. 9. "A'r Arglwydd a fydd yn frenhin ar yr holl ddaear: y dydd hwnnw y bydd un Arglwydd, a'i enw yn un." Yna pob ofer-goel a ddiddymir, a

phawb a gyttunant i addoli Duw yn ol ei ffyrdd ef ei hun. "A mi a roddaf iddynt un galon, ac un ffordd, i'm hofni byth, er lles iddynt, ac i'w meibion ar eu hol." *Jer.* 32. 39.

Teyrnas Anghrist a hollol ddadymchwelir. Y mae ei lywodraeth i radd fawr wedi ei dwyn i lawr, trwy dywalltiad y phiol ar ei orsedd-faingc yn y diwygiad; ond y pryd hyn fe ddinystrir ei deyrnas yn hollol. Yna y cyhoeddir, "Syrthiodd, syrthiodd, Babilon fawr." Pan y llefo y seithfed angel, "fod amser, amseroedd, a hanner amser, wedi dyfod i ben, ac na bydd amser mwyach." Yna y cyflawnir am Anghrist yr hyn a ysgrifenwyd mewn perthynas i Babilon ysprydol, yr hon am gymmaint o oesoedd a fu yn elynes mor fawr i'r eglwys Gristionogol; yn gyntaf yn amser Paganiaeth, wedi hynny yn amser Pabyddiaeth. Y ddinas falch honno a ymddyrchafodd hyd y nef, ac a ymgyfododd yn ei balchder i fod uwchlaw Duw; ie, y ddinas greulon waedlyd honno a ddaw i lawr hyd ei sylfaen. Y pryd hynny y cyflawnir y brophwydoliaeth honno, "Canys efe a ostwng breswylwyr yr uchelder; tref uchel a ostwng efe: efe a'i darostwng hi i'r llawr, ac a'i bwrw hi i'r llwch." *Esa.* 26. 5. Hi a fwrir i lawr gyda thanbeidrwydd, fel maen melin yn cael ei daflu i'r môr, ac ni bydd hi i'w chael mwyach; ond hi a fydd yn drigfa cythreuliaid, yn breswylfa ysprydion aflan, ac yn nyth i bob aderyn aflan. Yn awr y diosgir hi o'i holl ogoniant, ei chyfoeth, a'i haddurniadau, ac a fwrir ymaith fel cangen ffiaidd, ac a fethrir fel tom yr heolydd. Er cymmaint a fu ei holl gyfrwysdra a'i dichell, ni's gallant ei hachub hi. A Duw a wna i'w bobl, pa rai a fuont dan y fath erlidigaethau oddi wrthi, roddi eu traed ar wddf Anghrist, ac efe a fydd yn 'stôl droed iddynt. Holl nerth a doethineb y buttain fawr hon a ddiffygia, ac ni bydd neb i'w chynnorthwyo. Brenhinoedd y ddaear, pa rai a roddasant eu nerth a'u gallu iddi, a'i casant hi, ac a'i gwnant yn anrheithiedig, ac yn noeth, ac a fwyttânt ei chnawd hi, ac a'i llosgant hi a thân. *Dat.* 17. 16.

Teyrnas y Mahomed hefyd a ddadymchwelir yn hollol. Eu hamser terfynedig sydd i'r locustiaid a'r gwyr meirch, y gau brophwyd a ddelir ac a ddinystrir. Ac er fod Mahometaniaeth wedi ei ledaenu mor helaeth, mŵg pa un sydd yn esgyn o'r pydew diwaelod, ac yn cael ei gynnal gan y fath Ymerodraeth mor fawr, etto fe'i hollol wasgerir o flaen goleuni gogoneddus y dydd hwnnw, a'r Ymerodraeth Fahometanaidd a gwympir gyda sain yr udgorn mawr a udganir y dydd hwnnw. *Dat.* 9. 10.

Fe fydd hefyd i anghrediniaeth yr Iuddewon gael ei ddadymchwelyd. Er mor gyndyn fuont yn eu gwrthodiad o Grist er's dau gant ar bymtheg o flynyddoedd, ac er cyn lleied o siamplau o ddychweliad yr un o honynt sydd wedi bod er dinystr Jerusalem, ac er eu bod wedi parhau i gymmeradwyo creulondeb eu cyn dadau yn croeshoelio Crist, a hynny yn erbyn geiriau eglur eu prophwydi eu hunain; etto pan ddelo y dydd hwnnw, fe dynnir ymaith y llen-gudd sydd yn dallu eu llygaid. 2 *Cor.* 3. 16. Dwyfol ras a adnewydda ac a feddalha eu calonnau, " a hwy edrychant arno ef yr hwn a wanasant, ac a alarant am dano fel un yn galaru am ei unig-anedig, ac a ymofidiant am dano ef megis un yn gofidio am ei gyntaf-anedig." *Zech.* 12. 10. Yna yr achubir tŷ Israel: yr Iuddewon yn eu holl wasgariad a fwriant ymaith eu hen anghrediniaeth, ac a gant newid eu calonnau yn rhyfeddol, a hwy a'u ffieiddiant eu hunain oblegid eu hanghrediniaeth a'u cyndynrwydd yn yr amser a aeth heibio. Hwy, yn edifeiriol ac yn ostyngedig, a heidiant at yr Iesu bendigedig, ac yn orfoleddus a'u haddefant ef fel eu Brenhin a'u hunig Waredwr, a chyd âg un galon ac un llais, hwy a ddatganant ei glod i genhedloedd eraill.

Nid oes dim yn cael ei ragfynegi gyda mwy o sicrwydd na dychweliad y genedl Iuddewig yn *Rhuf.* xi. Y mae llawer hefyd o fannau yn yr Hen Destament, pa rai ni nodaf yn bresennol, na ellir eu hesponio mewn un ystyr arall. Heblaw y prophwydoliaethau am alwad yr Iuddewon, y mae gennym sêl nodedig mewn rhagluniaeth o gyflawniad y digwyddiad mawr hwn, sef eu bod yn cael eu cadw yn genedl ddosparthedig oddiwrth bob cenedl arall, uwchlaw un cant ar bymtheg o flynyddoedd, yr hyn sydd yn fath o wyrth barhaus. A phan y'u gelwir, fe fydd iddynt hwy, y rhai oeddynt gynt unig bobl Dduw, gael eu derbyn drachefn, ac ni wrthodir mo honynt mwy. Hwy a gesglir i un gorlan, ynghyd â'r Cenhedloedd gyda hwy; ac hefyd y gweddill o'r deg llwyth, pa le bynnag y maent, ac er eu bod wedi eu bwrw ymaith er's llawer mwy o amser na Judah, etto hwy a ddygir gyd â'u brodyr i Sion. Y mae prophwydoliaethau Hosea yn neilltuol yn gosod allan yr amseroedd gogoneddus sydd i ddyfod ar yr eglwys, pan y bydd i dŷ Judah ac Ephraim, neu Judah a'r deg llwyth, gael eu dwyn ynghyd, a'u huno yn un bobl, fel y buont o'r blaen dan Dafydd a Solomon. " Yna meibion Judah a meibion Israel a gesglir ynghyd, a hwy a osodant iddynt un pen;" *Hos.* 1. 11. ac felly yn y bennod

olaf, a rhannau eraill o'r brophwydoliaeth hon. Er na wyddom yr amser pan y dychwelir cenedl Israel; etto ni a allwn benderfynu oddiwrth yr ysgrythyr, y bydd hynny cyn y byddo gogoniant yr eglwys yn gyflawn ym mysg y Cenhedloedd, o herwydd y bydd eu derbyniad hwy megis bywyd o feirw. *Rhuf.* 11. 12,—15.

Y pryd hynny hefyd y bydd teyrnas Baganaidd Satan yn cael ei dadymchwelyd. Paganiaeth dudew sydd o hyd yn meddiannu y rhan fwyaf o'r ddaear, ac fe dybir fod mwy o Baganiaid yn y byd yn bresennol nag unrhyw grefyddau eraill, a chymmeryd Iuddewon, Mahometaniaid, a Christionogion yn nghyd. Ond y pryd hynny fe oleuir y Cenhedloedd Paganaidd trwy lewyrchiadau yr efengyl ogoneddus. Fe fydd yspryd o dosturi rhyfeddol tu ag attynt hwy wedi disgyn ar Gristionogion, ac fe fydd lluaws yn zelog am eu haddysgu hwy a'u dychwelyd. Llawer a ant allan, ac a gludant yr efengyl iddynt; yna y bydd sain gorfoledd yn eu mysg hwy, a Haul Cyfiawnder wedi codi, ac yn tywynnu yn ei lewyrchiadau gogoneddus ar ardaloedd ehang o'r ddaear ag sydd er's rhai miloedd o flynyddoedd yn gorwedd dan dywyllwch Paganiaeth. Diau fod llawer o'r Cenhedloedd, byth er amser Abraham a Moses mewn cyflwr truenus, yn gorwedd dan orthrymder creulon y diafol, yr hwn, trwy yr holl yspaid hynny a wnaeth yspail o honynt, ac a'u dallodd o genhedlaeth i genhedlaeth. Ond yn awr yr efengyl a'i newyddion da a fydd yn seinio yn eu mysg hwy, a hwy a ddygir o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef.

Y mae yn addawedig mewn amryw fannau y bydd i Baganiaeth gael ei ddinystrio yn y modd hyn. Felly y dywedir am "y duwiau ni wnaethant y nefoedd a'r ddaear, y difethir hwynt o'r ddaear, ac oddi tan y nefoedd;" *Jer.* 10. 11. "a'r eilunod a fwrw efe ymaith yn hollol." *Esa.* 2. 18. Y pryd hynny y bydd i genhedloedd Affrica, a Phaganiaid eraill, pa rai sydd yn bennaf yn cyfanneddu y cwrr hwnnw o'r byd, a pha rai nad ydynt yn awr ond ychydig iawn uwchlaw yr anifeiliaid yn eu rhesymau, ie, mewn llawer ystyr islaw iddynt, gael eu goleuo a'u gwaredu o'u tywyllwch, a hwy a fyddant yn bobl waraidd, deallus, a sanctaidd. Yr amser hwnnw y bydd cyfandir ehang yr America, yr hwn sydd mewn rhan fawr yn cael ei orchuddio âg anwybodaeth barbaraidd a chreulondeb, gael ei fendithio ym mhob parth, â goleuni gogoneddus yr efengyl, ac â chariad Cristionogol; ac yn lle addoli y diafol, fel y maent yn bresen-

nol, hwy a wasanaethant Dduw, ac a gyflwynant ganiadau o fawl i'r Arglwydd Iesu, Iachawdwr y byd. Felly hefyd y gellir disgwyl y bydd yn y rhan ehang a phoblogaidd honno o'r byd, yr India Ddwyreiniol, ag sydd gan mwyaf yn cael ei chyfanneddu gan addolwyr Satan; ac hefyd trwy wlad Tartari fawr. Yna teyrnas Crist a sefydlir yn y cyfandiroedd hynny a gafwyd yn ddiweddar yn agos i begynau y gogledd a'r dehau, lleoedd nad ydyw dynion yn gwahaniaethu ond ychydig oddiwrth yr anifeiliaid, oddieithr eu bod hwy yn addoli y diafol, a'r anifeiliaid heb wneuthur hynny. Yr un modd hefyd y bydd mewn gwledydd na ddatguddiwyd mo honynt etto. Felly y cyflawnir yn ogoneddus yr addewid honno: "Yr anialwch a'r anghyfanneddle a lawenychant o'i phlegid; y diffaethwch hefyd a orfoledda, ac a flodeua fel rhosyn." *Esa.* 45. 1,—7.

[2.] Wedi dangos yn y modd hyn ym mha beth y bydd dadymchweliad teyrnas Satan yn gynnwysedig, yr wyf yn bresennol yn dyfod i sylwi ar ehangder cyffredinol y gwaith. Teyrnas weledig Satan a ddadymchwelir, a theyrnas Crist a osodir i fynu ar ei dinystr hi, ym mhob man ar y ddaear gyfanneddol. Y pryd hynny y cyflawnir yr addewid honno a wnawd i Abraham, y "byddai i holl deuluoedd y ddaear gael eu bendithio yn ei had ef;" a Christ a fydd yn ddymuniad i'r holl genhedloedd. Yn awr y bydd teyrnas Crist yn yr ystyr mwyaf llythyrenol yn cyrhaedd trwy yr holl ddaear, ac ym mysg yr holl genhedloedd. Y mae amryw rannau o'r Ysgrythyr na's gellir eu deall mewn ystyr arall. Pa beth a all fod yn fwy cyffredinol na hyn: "Canys y ddaear a fydd llawn o wybodaeth yr Arglwydd, megis y mae y dyfroedd yn toi y môr." *Esa.* 11. 9. Megis nad oes un cyfyng-fôr na cheudwll o'r môr heb ddyfroedd yn ei orchuddio; felly ni bydd un rhan o'r ddaear gyfanneddol na orchuddir â gwybodaeth o Dduw. Fel y dywedir yn *Esa.* 45. 22. y bydd holl gyrrau y ddaear yn troi eu hwynebau at Grist i gael eu hachub. Ac er dangos fod y geiriau i'w deall yn yr ystyr mwyaf cyffredinol, fe ddywedir yn yr adnod nesaf, "I mi fy hun y tyngais, aeth y gair o'm genau mewn cyfiawnder, ac ni ddychwel, mai i mi y plyga pob glin, y twng pob tafod." Felly hefyd ym mhrophwydoliaeth Daniel, *pen.* 7. 27. "A'r frenhiniaeth a'r llywodraeth, a mawredd y frenhiniaeth dan yr holl nefoedd, a roddir i bobl saint y Goruchaf." Pan y bwriwyd y diafol allan o'r Ymerodraeth Rufeinig, yr hon oedd y rhan bennaf o'r byd, a chenhedloedd eraill yn wael mewn cyd-

mariaeth â'r Ymerodraeth ehang honno, yr oedd Satan yn cael ei fwrw allan megis o'r nefoedd i'r ddaear. *Dat.* 12. 9. Ond fe arddangosir y bwrir ef allan o'r ddaear hefyd y pryd hynny, ac y cauir ef i fynu yn uffern. *Dat.* 20. 1, 2, 3. Hwn a fydd y chwyldroad mwyaf o lawer a fu erioed: gan hynny y dywedir y bydd daear-gryn mawr ar dywalltiad y seithfed phiol, y fath ddaear-gryn na bu ei gyffelyb er pan y mae dynion ar y ddaear. *Dat.* 16. 17, 18.

(7.) Hon ydyw y drydedd oruchwyliaeth mewn rhagluniaeth a gydmerir yn yr ysgrythyr i ddyfodiad Crist i'r farn ddiweddaf. Felly, ar ol tywalltiad y chweched phiol, ac wedi i fyddinoedd y diafol ymgynnull ynghyd i'r frwydr fawr, ac ychydig cyn i Grist fuddugoliaethu yn ogoneddus arnynt, y dywedir, "Wele, yr wyf fi yn dyfod fel lleidr. Gwyn ei fyd yr hwn sydd yn gwylio, ac yn cadw ei ddillad," &c. Ac felly, pan y llefarir am Anghrist, y dywedir, "Ac yna y datguddir yr Anwir hwnnw, yr hwn a ddifetha yr Arglwydd âg yspryd ei enau, ac a ddilëa â disgleirdeb ei ddyfodiad." 2 *Thes.* 2. 8. Dyfodiad Crist i osod i fynu ei deyrnas ar y ddaear, a dinystrio Anghrist, a elwir ei ddyfodiad ef gyda chymmylau y nefoedd. *Dan.* 13. 14. Yr hyn a fydd yn fwy cyffelyb i'w ddyfodiad ef i'r farn ddiweddaf nag yr un o'r goruchwyliaethau blaenorol a elwir felly.

[1.] Oblegid y bydd yr oruchwyliaeth hon yn fwy, ac yn fwy cyffredinol, ac felly yn debyccach i ddydd y farn, yn yr hon y bydd yr holl fyd yn cael ei ystyried.

[2.] Ar gyfrif yr adgyfodiad ysprydol a fydd yn ei ganlyn, yr hwn a fydd yn gyffelyb i'r adgyfodiad cyffredinol yn niwedd y byd. *Dat.* 20. 4.

[3.] Oblegid y barnedigaethau arswydus a'r dinystr ofnadwy a fydd ar elynion Duw yn ei ganlyn. Fe fydd llaw Duw, yn ddiammheuol, ar ddechreuad yr oruchwyliaeth hon, yn amlwg ac yn arswydus yn erbyn cablwyr a gelynion cyndyn Crist; ac, yn neilltuol, yn erbyn Anghrist ei hun, yr hyn a gydmerir iddo ef, sef Anghrist, yn cael ei fwrw i dân llosgadwy, a'i daflu yn fyw i'r llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan. *Dan.* 7. 11. *Dat.* 19. 20. Y pryd hynny y bydd Eglwys Rufain greulon yn dioddef y barnedigaethau hynny oddiwrth Dduw ag a fydd yn llawer mwy arswydus na'i herlidigaethau creulonaf hi ar y saint. *Dat.* 18. 16, 17. Barnedigaethau Duw, a dywelltir ar elynion yr eglwys, a fyddant mor fawr, hyd onid ydynt yn cael eu cydmaru i genllysg mawrion yn cael eu bwrw ganddo ef o'r nefoedd

arnynt hwy. *Dat.* 16. 21. " A chenllysg mawr, fel talentau, a syrthiasant o'r nef ar ddynion: a dynion a gablasant Dduw am bla y cenllysg; oblegid mawr iawn ydoedd eu pla hwynt." Y pryd hyn y bydd mathru y grawnwin y'ngherwyn win digofaint Duw. *Dat.* 14. 19, 20.

[4.] Hyn a rydd orpheniad ar ddioddefiadau yr eglwys; a bydd gorfoledd a mawl gogoneddus yn ei ganlyn. Diammeu y bydd yr eglwys, wedi hyn, yn agos i ddiwedd y byd, yn cael ei bwgwth yn ddirfawr drachefn; ond ni bydd hynny ond am dymhor byrr: canys fel nad ydyw yr amserau i'r eglwys orphwys cyn dibennu ei hir gystudd ond byrr; felly, pa gystudd bynnag a raid iddi ddioddef ar ol hyn, ni bydd ond hynod o fyrr: felly y bydd hollol ddiweddiad y pryd hyn ar gystudd ac erlidigaeth yr eglwys. *Dat.* 20. 3. Y mae yr ysgrythyrau, mewn amryw fannau, yn llefaru am yr amser hwn, fel yn rhoi terfyn ar ddioddefiadau yr eglwys. *Esa.* 51. 22. Y mae yr Arglwydd yn dywedyd wrth ei eglwys, " Wele, cymmerais o'th law y cwppan erchyll, sef gwaddod cwppan fy llidiowgrwydd: ni chwanegi ei yfed mwy. *Pen.* 40. 1, 2. Cysurwch, cysurwch fy mhobl, medd eich Duw. Dywedwch wrth fodd calon Jerusalem, llefwch wrthi hi, gyflawni ei milwriaeth, ddileu ei hanwiredd: o herwydd derbyniodd o law yr Arglwydd yn ddauddyblyg am ei holl bechodau." *Pen.* 60. 20. " O herwydd yr Arglwydd fydd i ti yn oleuni tragywyddol, a dyddiau dy alar a ddarfyddant." *Zeph.* 3. 15. " Tynnodd yr Arglwydd ymaith dy farnau, bwriodd allan dy elynion: yr Arglwydd brenhin Israel sydd yn dy ganol, nid ofni ddrwg mwyach." Gwel hefyd *Esa.* 54. 8, 9.

Yr amser blaenorol i hyn oedd yr amser i'r eglwys hau mewn dagrau a gwaed; ond yn awr y bydd cynhauaf wedi dyfod iddi, ym mha un y bydd hi yn cludo ei hysgubau mewn gorfoledd. Y pryd hyn y bydd gwewyr y wraig a wisgwyd â'r haul ar ben; yn awr y bydd hi wedi esgor ar ei mab: canys y gosodiad gogoneddus yma i fynu ar deyrnas Crist trwy y byd, ydyw yr hyn y bu yr eglwys mewn gwewyr o'i blegid yn y fath boenau mawrion am gynnifer o oesoedd. *Esa.* 26. 17. " Fel y gofidia ac y gwaedda gwraig feichiog dan ei gwewyr, pan fyddo agos i esgor; felly yr oeddym o'th flaen di, Arglwydd." Gwel hefyd *Pen.* 60. 20. a 61. 10. Ac yn awr yr eglwys a anghofia ei gofid, o herwydd iddi ddwyn dyn bach i'r byd. Ac yn canlyn hyn y bydd ei mawl gogoneddus, a'i goruchafiaeth. Ei mawl

hi a fydd yn dyrchafu at Dduw o bob parth o'r ddaear, *Esa.* 42. 12.; ac nid y ddaear yn unig a lenwir â mawl, ond hefyd y nefoedd. Yr eglwys ar y ddaear, a'r eglwys yn y nefoedd, a fyddant yn cyd-orfoleddu yn ogoneddus, ac yn moliannu Duw ar yr achlysur, megis âg un galon. Y mae yn ddiammeu y bydd yn amser ag y bydd gorfoledd a mawl neilltuol ym mysg y prophwydi a'r apostolion sanctaidd. *Dat.* 18. 20. "Llawenhâ o'i phlegid hi, y nef, a chwi, apostolion sanctaidd a phrophwydi; oblegid dialodd Duw arni drosoch chwi." *Esa.* 44. 23. "Cenwch, nefoedd: canys yr Arglwydd a wnaeth hyn: bloeddiwch, gwaelodion y ddaear; bloeddiwch ganu, fynyddoedd, y coed a phob pren ynddo: canys gwaredodd yr Arglwydd Jacob, ac yn Israel yr ymogonedda efe." Gwelir y fath fawl gogoneddus a genir i Dduw yn yr eglwys gyffredinawl yn y nefoedd a'r ddaear. *Dat.* 19. 1—7. "Aleluia: Iachawdwriaeth, a gogoniant, ac anrhydedd, a gallu, i'r Arglwydd ein Duw ni."

[5.] Y mae yr oruchwyliaeth hon yn tebygoli yn fwy i ddyfodiad Crist i'r farn nag yr un o'r rhai o'r blaen, gan ei bod yn rhoi terfyn i sefyllfa flaenorol y byd, ac yn ddechreuad i'w deyrnas dragywyddol ef. Yn awr y dadymchwelir teyrnas weledig Satan, wedi iddi fod yn sefyll o hyd er pan adeiladwyd Babel; a'r hen nefoedd, a'r hen ddaear a aent ymaith; a'r nefoedd newydd, a'r ddaear newydd a osodir i fynu, mewn modd llawer mwy gogoneddus nag erioed o'r blaen.

Wedi dangos fel hyn y modd y dygwyd ym mlaen lwyddiant y pryniad yn Nghrist trwy amserau cystudd yr eglwys, o adgyfodiad Crist hyd gwymp Anghrist, a dadymchweliad teyrnas weledig Satan ar y ddaear,

IV. Sylwn ar lwyddiant y prynedigaeth trwy Grist yn ei sefyllfa lwyddiannus.

Yr wyf yn awr yn dyfod i ddangos y modd y dygir ym mlaen lwyddiant y prynedigaeth trwy yr yspaid o amser ag y bydd yr eglwys yn y rhan fwyaf o hono yn mwynhau heddwch a llwyddiant. Ac mewn trefn i hyn, myfi a lefaraf, yn gyntaf, am sefyllfa lwyddiannus yr eglwys trwy y rhan fwyaf o'r yspaid hwn; ac, yn ail, am y dirywiad a'r gwrthgiliad mawr a fydd oddeutu ei ddiwedd.

Yn gyntaf, ystyriwn y sefyllfa lwyddiannus y bydd yr eglwys ynddi trwy y rhan fwyaf o'r yspaid hwn. Yma sylwn,

1. Mai hwn yw yr amser mwyaf priodol ag y bydd teyrnas nefoedd ar y ddaear. Er fod teyrnas nefoedd, mewn gradd,

wedi ei gosod i fynu yn fuan wedi adgyfodiad Crist, ac mewn gradd pellach yn amser Cystenyn: ac er fod yr eglwys Gristionogol trwy yr holl oesoedd yn cael ei galw yn deyrnas nefoedd; etto yr oruchwyliaeth hon a esyd deyrnas nefoedd yn y modd mwyaf enwog ar y ddaear; yr amser hwn yn bennaf a olygir ym mhrophwydoliaeth Daniel, pan y llefarir am deyrnas nefoedd, o ba le y cymmerodd yr Iuddewon yr ymadrodd teyrnas nefoedd. *Dan*. 2. 44.

2. Mai hwn ydyw 'r amser arbennig i gyflawni holl brophwydoliaethau yr Hen Destament, pa rai sydd yn llefaru am amseroedd gogoneddus yr efengyl yn y dyddiau diweddaf. Er fod cyflawniad dedwydd wedi bod eisoes o'r prophwydoliaethau hynny, yn amser yr apostolion a Chystenyn; etto y mae 'r ymadroddion yn rhy uchel i gyfattebu yn hollol âg un amser arall ond yr hwn a fydd yn canlyn cwymp Anghrist. Yr amser hwn ydyw dydd gogoneddus yr efengyl, yn y modd mwyaf priodol. Amserau eraill sydd yn unig yn parottoi 'r ffordd i hwn, ac yn rhagredegwyr iddo; amserau eraill oeddynt amserau i hau, ond hwn a fydd y cynhauaf. Ond yn fwy neilltuol,

(1.) Fe fydd hwn yn amser o oleuni mawr a gwybodaeth. Y dyddiau presennol ydynt ddyddiau o dywyllwch, mewn cydmariaeth â'r dyddiau hynny. Fe fydd goleuni yr amser gogoneddus hwnnw mor fawr, fel y mae yn cael ei arddangos megis pe na bai nos, ond dydd yn unig, nid prydnawn ac nid tywyllwch. *Zech*. 14. 6, 7. "A'r dydd hwnnw y daw i ben, na byddo goleuni disglaer, na thywyll: ond bydd un diwrnod, hwnnw a adwaenir gan yr Arglwydd, nid dydd, ac nid nos; ond bydd goleuni yn yr hwyr." Fe'i harddangosir ym mhellach, fel pe bai Duw y pryd hynny yn rhoddi y fath oleuni i'w eglwys, ag a fydd yn rhagori ar oleuni yr haul a'r lleuad, fel y byddant hwy yn cywilyddio. *Esa*. 24. 23. "Yna y lleuad a wrida, a'r haul a gywilyddia, pan deyrnaso Arglwydd y lluoedd ym mynydd Sion ac yn Jerusalem, ac o flaen ei henuriaid mewn gogoniant." Y mae math o orchudd yn bresennol ar y rhan fwyaf o'r byd, ag sydd yn cadw y bobl mewn tywyllwch; ond y pryd hynny fe dynnir ymaith y gorchudd. *Esa*. 25. 7. "Ac efe a ddifa yn y mynydd hwn y gorchudd sydd yn gorchuddio yr holl bobloedd, a'r llenn yr hon a daenwyd ar yr holl genhedloedd." A'r holl wledydd a'r cenhedloedd, sydd yn bresennol yn fwyaf anwybodus, a fyddant yn gyflawn o oleuni a gwybodaeth; ac nid yn unig duwinyddion, ond Cristionogion cyffredin,

a fyddant yn hynod o ddeallus ym-mhethau crefydd. *Esa.* 32. 3, 4. "Yna llygaid y rhai a welant ni chauir, a chlustiau y rhai a glywant a wrandawant. Calon y rhai ehud hefyd a ddeall wybodaeth." *Jer.* 31. 34. "Ac ni ddysgant mwyach bob un ei gymmydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd, Adnabyddwch yr Arglwydd: o herwydd hwynt-hwy oll o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt a'm hadnabyddant i, medd yr Arglwydd." Y pryd hynny y bydd pethau dyrys mewn athrawiaethau crefyddol yn cael eu dad-ddyrysu, a phethau sydd yn ymddangos yn anghysson yn cael eu hegluro mewn modd rhyfedd. *Esa.* 40. 4, 5. "Pob pant a gyfodir, a phob mynydd a bryn a ostyngir: y gŵyr a wneir yn uniawn, a'r anwastad yn wastadedd;" a thywyllwch a droir yn oleuni o flaen pobl Dduw. Y pethau dyrys yn yr ysgrythyr a eglurir y pryd hynny, a'r dirgeledigaethau sydd yn ngair Duw na ddatguddiwyd erioed o'r blaen mo honynt, a amlygir. Fe ymddengys fod hyn yn cael ei gydmaru i symmud ymaith y gorchudd, ac amlygu arch y dystiolaeth i'r bobl, yr hon o'r blaen oedd yn cael ei chadw mewn rhan ddirgel o'r deml, ac nid oedd byth yn cael ei gweled ganddynt hwy. Felly, gyd âg udganiad y seithfed angel, pan y cyhoeddir, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni, a'i Grist ef:" wedi hynny fe chwanegir, "Ac agorwyd teml Dduw yn y nef; a gwelwyd arch ei gyfammod ef yn ei deml ef." *Dat.* 11. 15, 19. Cynnydd gwybodaeth fydd mor fawr yr amser hwn, fel y bydd y nef megis pe bai yn agored i eglwys Dduw ar y ddaear.

(2.) Fe fydd mawr gynnydd ar sancteiddrwydd yn yr eglwys y pryd hynny. Gwir grefydd a fydd yn teyrnasu ac yn llwyddo ym mhob man, ac nid proffes wag, fel y mae gan mwyaf yn bresennol, ond fe fydd sancteiddrwydd calon a buchedd yn llwyddo yn helaeth. Yr hyn y mae Crist yn ei ddywedyd mewn perthynas i ansawdd gyffredinol yr eglwys, mai ychydig a fydd yn gadwedig, a adewir heibio y pryd hynny; canys fe fydd sancteiddrwydd yn awr yn gyffredinol, a'r bobl oll yn gyfiawn. Er na's gellir tybied y bydd y byd heb neb ynddo mewn cyflwr ymddifad o Grist; etto, bydd annuwioldeb cyhoeddus yn cael ei ddiddymmu ym mhob lle, a gwir sancteiddrwydd a fydd yn gyffredinol, er nad yn hollol. Fe fydd yn amser rhyfeddol, nid yn unig o herwydd lluosogrwydd y duwiolion, ond hefyd o herwydd enwogrwydd gras. *Esa.* 65. 20. "Ni bydd o hynny allan blentyn o oed, na henafgwr, yr hwn

ni chyflawnodd ei ddyddiau: canys y bachgen a fydd marw yn fab canmlwydd; ond y pechadur yn fab canmlwydd a felldithir." *Zech.* 12. 8. "A bydd y llesgaf o honynt y dydd hwnnw fel Dafydd; a thŷ Dafydd fydd fel Duw, fel angel yr Arglwydd o'u blaen hwynt." Ac fe fydd sancteiddrwydd megis wedi ei ysgrifennu ar bob peth, ar holl orchwylion cyffredin dynion, ac ar eu holl ddodrefn; y cyfan oll yn cael eu cyflwyno i Dduw, a'u cymhwyso i ddibenion sanctaidd; ïe, pob peth a ddefnyddir y pryd hynny i ogoniant yr Arglwydd. "Yna y bydd ei marchnad a'i helw yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd;" ac megis y bydd pobl Dduw yn enwog mewn purdeb calon y pryd hynny, felly hefyd y byddant mewn sancteiddrwydd buchedd ac ymarferiad. *Esa.* 23. 18. *Zech.* 14. 20, 21.

(3.) Bydd hwn yn amser ag y bydd crefydd yn uwch na phob peth arall yn y byd. Hi a fydd mewn anrhydedd a bri mawr. Y mae y saint hyd yn hyn yn cael eu dal danodd gan mwyaf, a dynion annuwiol yn llywodraethu; ond y pryd hynny hwy a fyddant uchaf. Y frenhiniaeth a roddir yn nwylaw saint y Goruchaf, "a hwy a deyrnasant gyda Christ fil o flynyddoedd." *Dat.* 20. 4. Yn y dydd hwnnw y fath bersonau ag a fydd yn fwyaf enwog mewn duwioldeb a chrefydd a ddyrchefir yn bennaf i leoedd o ymddiried ac awdurdod. Gwir grefydd a fydd yn y palasau a'r gorsedd-feingciau, a'r rhai hynny a fydd yn y sefyllfaoedd uchaf a fyddant yn ddynion sanctaidd. *Esa.* 49. 23. "Brenhinoedd hefyd fydd dy dadmaethod, a'u brenhinesau dy fammaethod." Brenhinoedd a ddefnyddiant eu hawdurdod, a'u cyfoeth, a'u gogoniant, er anrhydedd a gogoniant Crist, a daioni ei eglwys. *Esa.* 60. 16. "Sugni hefyd laeth y cenhedloedd, ïe, bronnau brenhinoedd a sugni." A holl wyr mawr y byd, a'r marsiandwyr cyfoethog, a gyflwynant eu cyfoeth i Grist a'i eglwys. "Merch Tyrus hefyd fydd yno âg anrheg; a chyfoethogion y bobl a ymbiliant â'th wyneb." *Ps.* 45. 12.

(4.) Bydd heddwch mawr a chariad ym mysg dynion yn yr amseroedd hynny. Y pryd hynny y bydd heddwch cyffredinol, a chenhedloedd y byd yn iawn ddeall eu gilydd, yn lle y fath annhrefn, rhyfeloedd a thywallt gwaed, ag sydd wedi bod o'r naill oes i'r llall hyd yn hyn. *Esa.* 2. 4. "Ac efe a farna rhwng y cenhedloedd, ac a gerydda bobloedd lawer: a hwy a gurant eu cleddyfau yn sychau, a'u gwaywffyn yn bladuriau: ni chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel

mwyach." Holl offerynau rhyfel a ddinystrir fel pethau diddefnydd. *Ps.* 46. 9. "Gwna i ryfeloedd beidio hyd eithaf y ddaear; efe a ddryllia y bwa, ac a dyrr y waywffon, efe a lysg y cerbydau â thân." Yn awr holl genhedloedd y ddaear a gyfanneddant yn heddychol ac yn ddiogel, heb ofni y gelyn. *Esa.* 32. 18. "A'm pobl a drig mewn preswylfa heddychlawn, ac mewn anneddau diogel, ac mewn gorphwysfaoedd llonydd." Gwel hefyd *Zech.* 8. 10. a 9. 10.

Yna y bydd malais, cenfigen, digofaint, ac ymddial, yn cael eu dilëu ym mhob man, a chariad a thangnefedd yn ffynnu rhwng gwr a gwr. Y mae hyn yn cael ei osod allan yn y modd mwyaf prydferth yn *Esa.* 61. 6,—10. Y pryd hynny y bydd heddwch a chariad rhwng llywodraethwyr a'u deiliaid. Llywodraethwyr a fyddant yn caru eu pobl, ac â'u holl egni yn ceisio eu daioni pennaf; a'r bobl a fyddant yn caru eu llywodraethwyr, ac yn ymostwng i'w blaenoriaid gyda hyfrydwch, gan roddi iddynt yr anrhydedd dyledus. Bydd hefyd gariad cysurus rhwng gweinidogion a'u pobl; "canys efe a dry galon y tadau at y plant, a chalon y plant at eu tadau." *Mal.* 4. 6. Yna bydd y rhinweddau Cristionogol hynny yn blaguro yn y modd mwyaf enwog, llarieidd-dra, maddeugarwch, boneddigeiddrwydd, hirymaros, daioni, caredigrwydd brawdol, ffrwythau yr Yspryd ardderchog hynny. Bydd tymherau a thueddiadau dynion yn gyffelyb i Oen Duw, yr Iesu hawddgar; yr aelodau mewn cydymffurfiad â'r pen.

Y pryd hynny bydd yr holl fyd wedi ei uno mewn un Gymdeithas hawddgar. Yr holl genhedloedd ym mhob ochr i'r belen ddaearol wedi eu cylymmu ynghyd mewn gweddeidd-dra hyfryd. Holl rannau eglwys Dduw a fydd yn cynnorthwyo ac yn dwyn ym mlaen ddaioni ysprydol y naill y llall. Fe fydd cymdeithas y pryd hynny yn cael ei chynnal i'r diben hwnnw rhwng holl barthau y byd a'u gilydd; a'r gelfyddyd o forwriaeth (*navigation*) yr hon a ddefnyddir yn bresennol i gynnorthwyo cybydd-dod a balchder dynion, ac a arferir gan mwyaf gan y rhai mwyaf halogedig ac annuwiol, ond a gyssegrir y pryd hynny i Dduw, ac a wneir yn wasanaethgar i achos crefydd. *Esa.* 60. 5,—9. Pobl a ddangosant eu cariad y naill tu ag at y llall, nid yn unig mewn geiriau, ond hefyd mewn gweithredoedd o garedigrwydd. "Ni elwir mwy y coegddyn yn fonheddig, ac ni ddywedir am y cybydd, Hael yw. Ond yr hael a ddychymmyg haelioni; ac ar haelioni y saif efe." *Esa.* 32. 5, 8.

(5.) Bydd hwn yn amser ag y bydd trefn ardderchog yn eglwys Crist. Llywodraeth a disgybliaeth gywir a fydd yn sefydlog, ac yn cael eu harfer yn yr eglwys. Yr holl fyd a fydd y pryd hynny fel un eglwys, un gymdeithas drefnus a hardd. Ac megis y bydd y corph yn un, felly hefyd bydd yr aelodau mewn cyfartalrwydd prydferth y naill â'r llall. Y pryd hynny y bydd y dywediad hwnnw yn cael ei wirio: "Jerusalem a adeiladwyd fel dinas wedi ei chyd-gyssylltu ynddi ei hun." *Ps.* 122. 3.

(6.) Eglwys Dduw a fydd y pryd hynny yn brydferth ac yn ogoneddus, o herwydd y pethau hyn; ie, hi a ymddengys yn gyflawn hardd. Hi a fydd y darlun pennaf o'r nefoedd ei hun. "Cyfod, llewyrcha; canys daeth dy oleuni, a chyfododd gogoniant yr Arglwydd arnat. Canys gwisgodd fi â gwisgoedd iachawdwriaeth, gwisgodd fi â mantell cyfiawnder; megis y mae y priod-fab yn ymwisgo â harddwisg, ac fel yr ymdrwsia priod-ferch â'i thlysau." *Esa.* 60. 1. a 61. 10.

(7.) Bydd y llwyddiant tymhorol mwyaf a fu erioed yr amser hwnnw. Y mae y fath agwedd ysprydol, ag a ddarluniwyd gennym, a thuedd naturiol ynddo i lwyddiant tymhorol. Y mae ynddo duedd i iechyd a hir oes; ac mai felly y bydd yr amser hwn, sydd eglur oddiwrth *Zech.* 8. 4. "Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd; Hen wyr a hen wragedd a drigant etto yn heolydd Jerusalem, a phob gwr â'i ffon yn ei law o herwydd amlder dyddiau." Y mae yn y fath agwedd hefyd dueddrwydd i ennill esmwythder, hyfrydwch, a llonyddwch meddwl; hefyd fe fydd pobl Dduw yn meddiannu llawer o gyfoeth, a lluaws mawr o blant, fel y dangosir yn *Zech.* 8. 5. "A heolydd y ddinas a lenwir o feehgyn a genethod yn chwarae yn ei heolydd hi." Ond ym mhellach, llwyddiant tymhorol pobl Dduw a ddygir ym mlaen trwy fendith nodedig o'r nefoedd. *Esa.* 65. 21. "A hwy a adeiladant dai, ac â'u cyfanneddant; plannant hefyd winllanoedd a bwyttant eu ffrwyth.—Ond eisteddant bob un dan ei winwydden a than ei ffigysbren, heb neb i'w dychrynu.—Canys bydd yr had yn ffynnadwy; y winwydden a rydd ei ffrwyth, a'r ddaear a rydd ei chynnyrch, a'r nefoedd a roddant eu gwlith: a pharaf i weddill y bobl hyn feddiannu yr holl bethau hyn." *Mic.* 4. 4. *Zech.* 8. 12. *Jer.* [illegible]. 12, 13. *Amos* 9. 13. Bydd y duwiolion y pryd hynny yn [illegible] arwyddion o gymmeradwyaeth Duw, a'i bresennoldeb, a'i ewyllys da ym mhob modd. *Jer.* 33. 9. "A hyn fydd i mi yn

enw llawenydd, yn glod ac yn ogoniant o flaen holl genhedloedd y ddaear, y rhai a glywant yr holl ddaioni yr ydwyf fi yn ei wneuthur iddynt: a hwythau a ofnant ac a grynant am yr holl ddaioni a'r holl lwyddiant yr ydwyf fi yn ei wneuthur iddynt." Ac nid oedd dyddiau Solomon ond cynllun o'r llwyddiant tymhorol a fydd yn y dyddiau hynny.

(8.) Fe fydd yn amser o fawr lawenydd a gorfoledd. "A gwaredigion yr Arglwydd a ddychwelant, ac a ddeuant i Sion â chaniadau, ac â llawenydd tragywyddol ar eu pen: goddiweddant lawenydd a hyfrydwch, a chystudd a galar a ffy ymaith.—Canys mewn llawenydd yr ewch allan, ac mewn hedd y'ch arweinir; y mynyddoedd a'r bryniau a floeddiant ganu o'ch blaen.—Fel y sugnoch, ac y'ch diwellir â bronnau ei diddanwch hi; fel y godroch, ac y byddoch hyfryd gan helaethrwydd ei gogoniant hi.—Am hynny mewn llawenydd y tynnwch ddwfr o ffynnonnau iachawdwriaeth." *Esa.* 35. 10. a 55. 12. a 66. 11. a 12. 3. Bydd yn amser gwledd a neithior ogoneddus yr eglwys ar y ddaear. "Llawenychwn, a gorfoleddwn, a rhoddwn ogoniant iddo ef: oblegid daeth priodas yr Oen, a'i wraig ef a'i parottôdd ei hun.—Bendigedig yw y rhai a elwir i swpper neithior yr Oen." *Dat.* 19. 7, 9.

(9.) Y sefyllfa lwyddiannus hon ar yr eglwys, a arddangosir ym mhob man y crybwyllir am dani, megis yspaid o faith barhad. Nid ydyw y cyfyngau blaenorol o orphwysfa a llwyddiant yn cael eu harddangos ond o ychydig barhad, fel y sylwyd o'r blaen; ond yr arddangosiadau am y sefyllfa hon ydynt yn hollol wahanol. *Dat.* 20. 4. "Ac mi a welais eneidiau y rhai a dorrwyd eu pennau am dystiolaeth Iesu,—a hwy a fuant fyw, ac a deyrnasasant gyda Christ fil o flynyddoedd." "Lle y buost yn wrthodedig ac yn gas, ac heb gynniweirydd trwot, gwnaf di yn ardderchawgrwydd tragywyddol, ac yn llawenydd i'r holl genhedloedd." *Esa.* 60. 15.

Gall yr hyn a ddywedwyd fod yn ddigon i osod allan sefyllfa lwyddiannus yr eglwys, trwy y rhan fwyaf o'r yspaid hwn, sef o ddinystr teyrnas weledig Satan yn y byd, hyd ymddangosiad Crist ar gymylau y nef, yn y farn ddiweddaf.

II. Sylwn ar y gwrthgiliad mawr a fydd oddeutu diwedd yr yspaid hwn o amser, a pha mor hynod y bygythir yr eglwys gan ei gelynion.

1. Bydd gwrthgiliad mawr iawn ychydig cyn diwedd y byd, trwy yr hwn y bydd rhan fawr o'r byd yn syrthio ymaith oddi-

wrth Grist a'i eglwys. Fe ddywedir fod Satan yn cael ei fwrw i'r pydew diwaelod, a'i gau i fynu, a selio arno yno, fel na byddo iddo dwyllo y cenhedloedd mwyach hyd oni chyflawnir y mil blynyddoedd; ac wedi hynny y bydd yn rhaid ei ollwng ef yn rhydd am ychydig ennyd. Ac yn ol hynny, fe ddywedir, pan y byddo y mil blynyddoedd yn diweddu, y bydd Satan yn cael ei ollwng o'i garchar, ac yr â efe allan i dwyllo y cenhedloedd, y rhai sydd ym mhedair congl y ddaear, Gog a Magog. *Dat.* 20. 3, 7, 8. Yr hyn sydd yn arwyddo y bydd y gwrthgiliad yn hynod o gyffredinol. Y cenhedloedd ym mhedair congl y ddaear a gant eu twyllo; a rhifedi y rhai hynny a droant yn elynion i Grist y pryd hyn a fydd yn fawr iawn, megis ag y mae byddin Gog a Magog yn cael ei harddangos yn Ezeciel, ac yn *Dat.* 20. 8. Eu rhifedi a ddangosir fel tywod y môr o ran nifer, a'u bod yn myned ar led y ddaear, fel pe bai eu byddin yn ddigon lluosog i gyrhaedd o'r naill ochr i'r belen ddaearol i'r llall.

Fel hyn wedi y fath dymhor gogoneddus a dedwydd, y fath hir ddydd o oleuni a sancteiddrwydd, o gariad a heddwch a llawenydd, yn awr bydd amser tywyll yn dechreu etto. Goddefir i Satan unwaith ym mhellach godi i fynu ei deyrnas yn y byd, a bydd golygfa aethus o dywyllwch ac annuwioldeb. Y pydew diwaelod a agorir, a'r cythreuliaid a ddeuant allan drachefn, a mwg arswydus a esgyn o hono i dywyllu y byd. A bydd eglwys Crist, yn lle cyrhaeddyd i derfynau eithaf y ddaear, fel yr ydoedd o'r blaen, yn cael ei dychwelyd i derfynau cyfyng. Dynolryw wedi iddynt fod yspaid mor faith yn y fath sefyllfa o fawr lwyddiant, yn awr a ddechreuant gam-ddefnyddio eu llwyddiant i wasanaethu eu chwantau a'u llygredigaethau. *Luc* 17. 26.

2. Bydd gwrthwynebrwydd i eglwys Dduw oddiwrth wrthgilwyr. Fe ymddengys y bydd yr eglwys yn cael ei bwgwth yn ddirfawr â dadymchweliad hollol a phrysur. Satan a gasgl ei fyddin ynghyd i frwydr, fel y tywod sydd ar lann y môr; "a hwy a ânt i fynu ar led y ddaear, ac a amgylchynant wersyll y saint, a'r ddinas anwyl." *Dat.* 20. 8, 9. Felly bydd y ddinas anwyl hon bron a chael ei llyngcu i fynu ganddynt hwy; ei gelynion a fyddant, nid yn unig yn ei bwgwth, ond hefyd yn ymgasglu ynghyd yn ei herbyn hi; ac nid hynny yn unig, ond hwy a ymosodant arni, ac a'i hamgylchynant hi o bob ochr.

Nid oes dim yn ymddangos yn y brophwydoliaeth yn arwyddo

y bydd i'r eglwys syrthio i'w dwylaw hwy, fel y syrthiodd hi i ddwylaw Anghrist, yr hwn y rhoddwyd iddo wneuthur rhyfel â'r saint a'u gorchfygu hwynt. *Dat.* 13. 7. Ni oddef Duw byth mo hynny ar ol cwymp Anghrist; canys bydd dydd galar yr eglwys yn dibennu y pryd hynny (sef yn nghwymp Anghrist). Ond etto fe ymddengys y bydd hi yn cael ei bwgwth yn ddirfawr â dinystr hollol a phrysur.

3. Y pryd hyn bydd agwedd pethau mewn modd nodedig yn galw am ymddangosiad Crist yn ddioed i'r farn. Canys fe fydd y byd y pryd hynny yn llawn o annuwioldeb cyffrous, y rhan fwyaf o ddynolryw a fyddant wedi troi yn elynion cyhoeddus i Grist, ac fe fydd eu hannuwioldeb yn arswydus gyffrous trwy eu gwrthgiliad. Fe fydd y rhan fwyaf o'r byd yn llawn o annuwioldeb cyn cwymp Anghrist. Ond Paganiaid truain, ac eraill a ddygwyd i fynu mewn tywyllwch Mahometanaidd a Phabaidd, a fydd y rhan fwyaf o'r rhai hynny, y rhai na ddarfu iddynt erioed fwynhau goleuni yr efengyl. Ond gwrthgilwyr a fydd y rhai'n oddiwrth yr eglwys Gristionogol, a theyrnas weledig Crist, yn yr hon y mwynhasant oleuni mawr a breintiau yn amseroedd gogoneddus yr eglwys, yr hyn a fydd yn anghydmarol fwy na'r breintiau a'r goleuni y mae hi yn eu mwynhau yn bresennol. Fe fydd y gwrthgiliad hwnnw yn debyceach i wrthgiliad yr angelion syrthiedig nag yr un a fu erioed; canys fe ddarfu iddynt hwy wrthgilio, a throi yn elynion i Grist, er eu bod yn mwynhau goleuni y nef; ac fe fydd y rhai hyn yn gwrthgilio ac yn troi yn elynion iddo ef, er eu bod yn mwynhau breintiau a goleuni amseroedd gogoneddus yr eglwys. A bod y fath yn troi yn elynion cyhoedd i Grist, ac yn ymgais am ddifetha ei eglwys, fydd yn galw yn uchel am ddialedd dioed.

Fe fydd annuwioldeb y byd mewn modd nodedig yn galw am ymddangosiad Crist yn ddioed "gyda thân fflamllyd, i roddi dial ar y sawl nid adwaenant Dduw," &c. oblegid y modd y bydd dynolryw yn amlygu eu hannuwioldeb fydd trwy watwar a chablu Crist a'i grefydd sanctaidd; ac yn neilltuol hwy a watwarant y dyb am ddyfodiad Crist i farn, am yr hyn bydd yr eglwys yn disgwyl, ac yn eu rhybuddio hwythau. Canys y mae yn ddiammheuol mai y pryd hynny y bydd cyflawniad pennaf o'r testun hwnnw; "Gan wybod hyn yn gyntaf, y daw yn y dyddiau diweddaf watwarwyr, yn rhodio yn ol eu chwantau eu hunain, ac yn dywedyd, Pa le y mae addewid ei ddyfodiad ef? canys er pan hunodd y tadau, y mae pob peth yn par-

hau fel yr oeddynt o ddechreuad y creadigaeth." 2 *Petr* 3. 3, 4. Ni byddant mewn un modd yn disgwyl am ddyfodiad Crist i'r farn, ond byddant yn ymroddi i gyflawni eu chwantau, ac i fwytta ac yfed, ac ymdroi mewn pleserau cnawdol, fel pe baent hwy i aros byth ar y ddaear hon. Hwy a ddirmygant y rhybuddion a roddir iddynt gan yr eglwys am ddyfodiad Crist, fel yr oedd pobl yr hen fyd yn dirmygu Noah, pan yr oedd efe yn eu rhybuddio am ddynesiad y diluw, a phobl Sodom, pan yr oedd Lot yn dywedyd wrthynt, "Yr Arglwydd a ddinystria y lle hwn." Bydd eu hannuwioldeb hefyd yn galw yn uchel am ymddangosiad Crist i ddial arnynt, am eu hymgyrch yn erbyn ei ddinas sanctaidd ef.

Peth arall a fydd yn galw yn neillduol am ddyfodiad Crist fydd rhifedi yr annuwiolion: canys y mae yn ddiammheuol y bydd y byd yn hynod lawn o bobl, wedi bod cyhyd o amser mewn amgylchiadau llwyddiannus, heb anrhaith, na rhyfeloedd, na heintiau, na phethau o'r fath, i leihau dynolryw; a'r rhan fwyaf o'r byd poblogaidd hwn a fyddant y fath annuwiolion a gwrthgilwyr trahaus oddiwrth Dduw. Ac os oedd annuwioldeb yr hen fyd, pan ddechreuodd dynion amlhau ar y ddaear, yn galw am ddinystr trwy ddyfroedd diluw, fe fydd yr annuwioldeb hwn yn galw cymmaint am ddinystr trwy ddiluw tân.

Drachefn, bydd amgylchiadau yr eglwys yn y dydd hwnw yn galw yn nodedig am ymddangosiad Crist yn ddioed, yn gymmaint ag y bydd hi yn cael ei hamgylchu gan ei gelynion cableddus, a bron a chael ei llyngcu i fynu ganddynt hwy. Bydd yr eglwys y pryd hyn yn y cyfyngdra mwyaf, a phob cynnorthwy yn cilio oddi wrthi, oddieithr gobaith am waredigaeth oddiwrth Dduw. Fe fydd ei chyfyngdra wedi dyfod arni i'r eithaf, ac fe fydd angenrheidrwydd am ddyfodiad Crist yn ddioed i'w gwaredu. Ond er y bydd hi dan y fath fygythiad nodedig oddiwrth ei gelynion, etto fe'i diogelir hyd oni ymddangoso Crist gyd â'i angelion sanctaidd yn ngogoniant ei Dad. Ac yno fe gesglir ynghyd yr holl etholedigion, enwau pa rai sy'n ysgrifenedig yn llyfr y bywyd, er cyn sylfaenu y byd, ac ni bydd un enaid ar goll. Corph dirgeledig Crist yn rhifedi ei rannau a fydd yn gyflawn, yn meddu pob un e'i aelodau. Bydd gwaith y prynedigaeth yn yr ystyr yma y pryd hyn y cael ei orphen; ac fe gyrhaeddir y diben y gosodwyd pob moddion o ras. Yr holl effeithiau hynny a fwriadwyd eu dwyn i ben trwy y moddion gosodedig, a gyflawnir y pryd hyn.

V. Cyflawniad gwaith y prynedigaeth mewn sefyllfa ddyfodol.

Yr wyf wedi dangos fel hyn y modd y mae llwyddiant y prynedigaeth yn Nghrist yn cael ei gyflawni trwy yspaid yr amser ag y mae yr eglwys Gristionogol dan foddion gras. Nyni a welsom y fath chwyldroadau mawrion a fu, ac sydd i ddyfod, trwy yr yspaid hwn; y modd y mae olwynion rhagluniaeth yn myned oddi amgylch i gyflawni llwyddiant pryniad y pwrcas trwy Grist, ac i gyfrannu gras i'r etholedigion. Yr ydym yn awr yn dyfod at yr amser pan y bydd gyrfa pethau yn y sefyllfa hon yn cael ei gorphen, a phob peth yn aeddfed i ddyfodiad Crist i'r farn.

Y testun sydd gennym dan ein sylw, ydyw, Fod yr holl amser o adgyfodiad Crist hyd ddiwedd y byd yn cael ei gymmeryd i fynu i ennill llwyddiant y prynedigaeth trwyddo ef: ac yr wyf yn ystyried fod llwyddiant y pwrcas a wnawd gan Grist o ddau fath, sef yn gynnwysedig naill ai mewn gras ai mewn gogoniant; a bod y llwyddiant hwn, yn yr ystyr blaenaf, i'w weled yn y gweithredoedd hynny o eiddo Duw ag sydd yn cael eu gweithredu ganddo ef trwy yspaid yr oesoedd ag y mae yr eglwys dan foddion gras; ac y bydd y llwyddiant yn gynnwysedig yn yr ystyr ddiweddaf yn cael ei gyflawni yn bennaf yn nydd y farn.

Yr wyf eisoes wedi dangos y modd y mae y llwyddiant yn yr ystyr blaenaf yn cael ei gyflawni, yr wyf yn awr yn dyfod i sylwi ar y llwyddiant hwnnw a fydd pan y cynnysgaeddir yr eglwys â gogoniant, yr hyn a gyflawnir yn bennaf yn nydd y farn.—Ac yma myfi a grybwyllaf am un peth neu ddau yn gyffredinol mewn perthynas i'r llwyddiant hwn ar y prynedigaeth trwy Grist.

(1.) Pa mor fawr a fydd hyn, a ymddengys yn bennaf yn hynny, sef, fod llwyddiant y pwrcas yn Nghrist yn cynnwys iechydwriaeth gyflawn yr etholedigion. Ac y mae cynnysgaeddiad y gogoniant hwn yn nodedig yn cael ei alw, eu hiachawdwriaeth: *Heb.* 9. 28. "A ymddengys yr ail waith, heb bechod, i'r rhai sydd yn ei ddisgwyl, er iachawdwriaeth." Gelwir ef hefyd yn brynedigaeth, *Eph.* 4. 30. "Trwy yr hwn y'ch seliwyd hyd ddydd prynedigaeth:" a *pen.* 1. 14. "Hyd bryniad y pwrcas i fawl ei ogoniant ef."

(2.) Nid oedd yr holl bethau gogoneddus a gyflawnwyd er lles yr eglwys, tra yr ydoedd hi dan foddion gras, ond parottoadau i, a chynlluniau cysgodol o hyn. Nid ydyw moddion gras, ie gras ei hun, ond pethau i gymmwyso i ogoniant; ac nid

ydyw yr holl bethau a gyflawnwyd i'r eglwys yn nyddiau Cystenyn, a'r pethau sydd i ganlyn hyd gwymp Anghrist, ond cysgodau o'r pethau y cynnysgaeddir hi â hwynt yn nydd y farn; ac o herwydd hynny y lleferir am danynt yn yr ysgrythyrau fel cynlluniau o ddyfodiad Crist i'r farn ddiweddaf. Ond yr wyf yn prysuro i ddyfod ym mlaen i ddangos yn fwy neilltuol y modd y bydd y llwyddiant hwn ar y prynedigaeth trwy Grist yn cael ei gyflawni.

1. Crist a ymddengys yn ngogoniant ei Dad, gyd â'i angelion sanctaidd, efe a ddaw gyda chymmylau y nefoedd. Pan y byddo y byd yn gloddesta mewn annuwioldeb, ac yn amgylchynu y ddinas sanctaidd, a braidd yn barod i'w dinystrio hi, yna y Gwaredwr gogoneddus a ymddengys yn ngolwg y byd. Llewyrch ei ogoniant a dyrr allan, yr holl fyd a rybuddir am ei ddyfodiad ef yn ddioed, a hwy a ddyrchafant eu llygaid ac a ganfyddant olwg ryfeddol. "Pob llygad a'i gwel ef." Crist a ymddengys yn ei natur ddynol, yn yr un corph ag a anwyd yn nhŷ yr anifeiliaid, ac a ddodwyd yn y preseb, a'r hwn wedi hynny y buwyd mor greulon a'i hoelio wrth y groes.

Yn awr bydd y bobl yn dyrchafu eu llygaid, a hwy a'u canfyddant ef yn dyfod gyd â'r fath ogoniant a mawredd ag sydd yn hollol annirnadwy i ni yn bresennol. Nid ydyw gogoniant yr haul yn y wybr eglur ond tywyllwch mewn cydmariaeth i'w ogoniant ef pan yr ymddangoso; yr holl angelion sanctaidd a fyddant yn ei ganlyn ef, mil miloedd a'i gwasanaethant ef, a myrdd myrddiwn a safant ger ei fron. Pa mor wahanol fydd ei ymddangosiad i'r dull yr ymddangosodd y waith gyntaf, pan yr oedd efe yn ymddangos fel gwreiddyn o dir sych, yn dlawd, yn ddirmygedig, ac yn ddiystyraf o'r gwyr! Pa mor wahanol a fydd yr olwg arno y pryd hyn yn nghanol yr angelion sanctaidd hynny, y tywysogaethau a'r awdurdodau, i'r olwg oedd arno yn nghanol y milwyr, wedi ei wisgo mewn gwawd-wisg, a'i goroni â drain, ac yn cael ei wawdio, â phoeri arno, a'i hoelio wrth y groes rhwng dau leidr, a lluaws o'i elynion o'i amgylch yn croch-lefain arno!

Bydd hon yn olwg mwyaf annisgwyliadwy i'r byd annuwiol, ac fel gwaedd hanner nos iddynt; hwy a oddiweddir y'nghanol eu hannuwioldeb, a'r olwg a gânt a rydd fraw aethus iddynt. Rhydd attalfa ar eu gloddest a'u cyfeddach ar unwaith. Rhydd ddibeniad ar fwriad y fyddin fawr a fydd yn amgylchu gwersyll y saint: yr olwg yma a bâr iddynt ollwng eu harfau i lawr o'u

dwylaw. Y byd a fydd y pryd hynny yn llawn iawn o bobl, a'r rhan fwyaf o honynt yn annuwiol, ac a fydd hefyd yn llawn o grochlefau dolefus; canys "holl lwythau y ddaear a alarant o'i blegid ef," *Dat.* 1. 7. Pa le y gallant ymguddio o'i wydd ef? a pha mor arswydus a fydd yr olwg ar ei fawrhydi yn eu dychrynu hwy? Y pryd hynny y byddant hwy yn ei weled ef, yr hwn y buont yn ei watwar ac yn ei wawdio, ac yn ceisio dadymchwelyd ei eglwys. Yr olwg arno a wna i sŵn eu caniadau a'u chwerthin droi yn alarnadau arswydus. Yn lle bod eu hwynebau yn dangos yr olwg o lawenydd cnawdol, balchder a dirmyg, hwy a newidir, ac a ddangosant arwyddion o fraw a dychryn arswydus.

Ond mewn perthynas i'r saint, sef eglwys Crist, bydd yr olwg arno ef yn un mwyaf gogoneddus a gorfoleddus iddynt hwy; canys bydd iddynt yn waredigaeth ddioed oddiwrth ofn eu gelynion, pa rai oeddynt o'r blaen wedi eu hamgylchynu hwy, a braidd yn barod i'w dinystrio. Yna y dyrchafant eu llygaid, ac a ganfyddant eu gwaredigaeth yn agosâu, *Luc* 21. 28. Bydd Crist yn ymddangos mewn anfeidrol fawrhydi, ac ar yr un pryd bydd anfeidrol gariad yn ymddangos yn ei wedd tu ag attynt hwy. Eu gwedd hwythau hefyd a newidir, ond nid fel gwedd yr annuwiolion, eithr o dristwch i orfoledd a llawenydd dirfawr. A'r pryd hynny bydd gwaith y prynedigaeth yn cael ei orphen mewn ystyr arall; bydd yr holl eglwys yn cael hollol a thragywyddol ryddhad oddiwrth aflonyddwch ac erlidigaethau dynion annuwiol.

2. Yr udgorn diweddaf a gân, a'r meirw a gyfodir, a'r rhai byw a newidir. Duw a anfonodd allan ei angelion, mewn ystyr gyfriniol neu ddirgelaidd, â mawr sain udgorn, i gasglu ei etholedigion ynghyd o bedair congl y ddaear, cyn dinystr Jerusalem; hynny ydyw, efe a anfonodd ei apostolion, ac eraill, i bregethu yr efengyl trwy yr holl fyd. Ac felly fe chwythwyd yn yr udgorn mawr, mewn ystyr gyfriniol, ar ddechreuad amseroedd gogoneddus yr eglwys. Ond y pryd hyn fe chwythir yn yr udgorn mawr mewn ystyr mwy llythyrenol, a hynny â mawr sain, hyd oni bydd y ddaear yn crynu. Fe roddir arwydd rhyfeddol trwy sain mawr, yr hyn a elwir *llef yr archangel*, 1 *Thes*. 4. 16. "Oblegid yr Arglwydd ei hun a ddisgyn o'r nef gyda bloedd, â llef yr archangel, ac âg udgorn Duw." Gyda sain yr udgorn hwn fe gyfodir y meirw ym mhob lle. Y mae nifer y meirw yn hynod o fawr; canys pa faint ydyw y lluaws y mae angau wedi

eu torri i lawr er dechreuad y byd hyd yn hyn. Ond y pryd hynny bydd y rhifedi yn llawer mwy wedi i'r byd gael sefyll gyhyd yn hŵy, ac a fydd yn ddiammeu trwy y rhan fwyaf o'r amser gweddill sydd iddo yn llawer llawnach o drigolion nag y bu erioed o'r blaen. Y rhai hynny oll a adgyfodir y pryd hyn. Y beddau yn holl barthau y byd a agorir, a'r môr a rydd i fynu y meirw aneirif sydd ynddo. *Dat.* 20. 13.

Ac yna bydd yr holl drigolion a fu erioed ar wyneb y ddaear o ddechreu y byd hyd ei ddiwedd, yn ymddangos ar unwaith ar ei hwyneb hi. Eglwys Dduw yn yr holl oesoedd, Adda ac Efa, rhïeni-cyntaf dynolryw, ac Abel, Seth, Methuselah, a'r holl saint ag oedd yn cyd-oesi â hwy; Noah, Abraham, Isaac, a Jacob, y prophwydi, a holl saint yr Hen Destament; apostolion sanctaidd Iesu Grist, a'r holl saint oedd yn eu hamser hwy; y merthyron a ddioddefasant dan y deg erlidigaeth Baganaidd; yr holl rai ag oedd yn perthyn i'r eglwys yspaid dyddiau tywyll Anghrist, yr holl ferthyron sanctaidd a ddioddefodd dan erlidigaethau creulon y Pabyddion, holl saint yr amser presennol, a'r holl rai o hyn hyd ddiwedd y byd.—Y pryd hyn bydd gelynion yr eglwys trwy holl oesoedd y byd yn ymddangos ar wyneb y ddaear drachefn; yr annuwiolion a foddwyd yn amser y diluw, a'r lluaws pechaduriaid a fuont feirw yn anedifeiriol trwy yr holl fyd ym mysg pobl broffesedig yr Arglwydd, neu eraill a fu cyn Crist; yr holl Baganiaid annuwiol, Iuddewon, Mahometaniaid, a'r holl Babyddion a fuont feirw yn annuwiol; pawb a ddeuant ynghyd: pechaduriaid o bob math; rhagrithwyr hunan-ddwys, y rhai hynny ag oeddynt yn ymddangos harddaf yn allanol; y meddwon cyhoeddus, putteinwyr, yr anffyddwyr halogedig, erlidwyr creulon, ynghyd â'r holl rai a fuont feirw mewn pechod, ac a fyddant feirw ynddo hyd ddiwedd y byd.

Ar yr un pryd ag y cyfodir y meirw, fe newidir y rhai byw. Cyrph yr annuwiolion a fydd yn fyw y pryd hynny a newidir, ac a gymmwysir i fod yn hanfodau tragywyddol heb lygru; a chyrph yr holl saint a fyddant yn fyw, a newidir i gyffelybrwydd corph gogoneddus Crist. 1 *Cor.* 15. 51, 52, 53. Hwy a newidir yn y fath fodd ag na byddant yn ddarostyngedig i boen, cystudd, neu anesmwythder, a'r holl hurtrwydd, trymder, ac anffurf oedd ar eu cyrph o'r blaen a dynnir ymaith; a hwy a wisgir â nerth, harddwch, bywiogrwydd, a gogoniant anllygredig ac anniflanedig. Yna bydd gwaith y prynedigaeth mor gyflawn fel y bydd yr holl etholedigion wedi eu hollol waredu mewn

corph ac enaid. A bydd gwaith y prynedigaeth o ran ei lwyddiant gweithredol yn anorphenol hyd y pryd hynny; canys o'r blaen eneidiau y gwaredigion yn unig oedd yn cael eu hachub a'u gogoneddu, oddieithr ychydig iawn o nifer; ond y pryd hyn bydd cyrph y saint yn cael eu gwaredu a'u gogoneddu ynghyd â'u heneidiau.

3. Y saint a gipir i fynu i'r cymmylau i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr, a'r holl annuwiolion a'r cythreuliaid a ddygir ger bron gorseddfaingc barn. Pan y cyfodir y saint a fyddant yn feirw, yna yr ymddengys yr holl eglwys ynghyd, yr hon a fydd yn gynnwysedig o'r holl etholedigion trwy yr holl oesoedd ar wyneb y ddaear, oddieithr yr ychydig gyrph a ogoneddwyd o'r blaen; ac yna hwy a esgynant i fynu i gyfarfod â Christ, yr hwn a fydd wedi gosod ei orseddfaingc yn yr awyr, o ba le y bydd efe i'w weled gan yr holl luaws a fyddant wedi eu casglu ger ei fron. Fel hyn y mae yr apostol yn hyspysu i ni, pan y byddo i'r meirw yn Nghrist gael eu cyfodi, a'r rhai byw gael eu newid, yna bydd i'r rhai a adewir gael eu cipio gyd â'r lleill i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr, ac felly y byddwn ni yn wastadol gyd â'r Arglwydd. 1 *Thes.* 4. 16, 17. Yna bydd gwaith y prynedigaeth wedi ei orphen mewn ystyr arall; bydd yr holl eglwys yn cael hollol waredigaeth o'r byd drwg yma am byth. Y duwiolion a ymadawant â'r ddaear hon am dragywyddoldeb, lle buont yn ddieithriaid, a'r hon a fu iddynt yn fath olygfa o drallod a thristwch; a'r lle y bu diafol yn teyrnasu fel duw, ac yn gwneuthur mawr aflonyddwch iddynt; a'r lle hefyd y croeshoeliwyd Crist eu Harglwydd; a'r lle y cawsant eu cashau, eu dirmygu, a'u herlid o oes i oes; a hwy a gânt eu tragywyddol ddidoli oddiwrth yr annuwiolion. O'r blaen yr oeddynt blith draphlith, ac yn anhawdd mewn llawer amgylchiad i wybod pa un ydoedd y naill neu 'r llall o honynt; ond y pryd hyn bydd y seintiau a'r pechaduriaid yn ymddangos bawb yn eu nodweddiad eu hun.

Pa fath gwmmwl dirfawr o honynt a fydd pan y byddo yr holl eglwys wedi ei chasglu ynghyd o'r dwyrain a'r gorllewin, ac o'r gogledd a'r dehau, ar ddeheulaw Crist.—Yna bydd gwaith y prynedigaeth yn yr ystyr yma hefyd wedi ei orphen. Yr oedd y saint oll yn perthyn i'r un gymdeithas o'r blaen, ond etto yr oeddynt ar ddidoliad pell y naill oddiwrth y llall; rhai o honynt yn y nefoedd, a rhai ar y ddaear; a'r rhai ar y ddaear oeddynt yn hynod o ddidoledig y naill oddiwrth y llall, trwy

fod cefnforoedd llydain a chyfandiroedd ehang rhyngddynt â'u gilydd. Ond y pryd hyn fe'u cesglir ynghyd, ac ni ddidolir mo honynt byth mwy. Ac nid yn unig eu casglu ynghyd, ond hefyd eu casglu at eu Pen, ac i'w bresennoldeb digyfrwng a gogoneddus ef, ac i fod byth heb eu didoli oddi yno mwy.

Ar yr un pryd, bydd yr holl annuwiolion a'r cythreuliaid yn cael eu dwyn ger bron gorsedd-faingc Crist. Y rhai hyn a gesglir at ei law aswy ef, ac nid yw cipio i'r awyr fel y saint, ond i aros o hyd ar y ddaear, fel y mae yn ymddangos yn debyg. Ac ni oddefir byth mwy i Satan, yr hen sarph, a lwyddodd yn y cwymp i ddwyn trueni ar ddynolryw, ac a'i dangosodd ei hun y fath elyn parhaus i'r Gwaredwr, wneuthur dim i eglwys Dduw mwy, neu yn y gradd lleiaf gystuddio un aelod o honi i dragywyddoldeb; ond y pryd hynny fe'i bernir i dderbyn ei gyfiawn wobr am ei weithredoedd. Y pryd hyn bydd yr amser wedi dyfod ag yr oedd efe er's talm yn ei ofni, ac yn dychrynu wrth feddwl am dano; yr amser y bydd yn rhaid iddo gymmeryd ei farnu, a derbyn ei gyfiawn gospedigaeth. Efe, yr hwn trwy ei hudoliaeth faleisus a lwyddodd i gael Crist i'w groeshoelio, ac a orfoleddodd yn hynny, fel pe buasai wedi cael goruchafiaeth; ond efe a gaiff weled y canlyniad o farwolaeth Crist, yr hon y bu efe yn offeryn i'w hennill; canys dyfodiad Crist yn y natur ddynol i'w farnu ef fydd y canlyniad o'i farwolaeth, oblegid efe a ennillodd ac a bwrcasodd y gogoniant hwn iddo ei hun trwy yr angau hwnnw. Y pryd hyn y bydd yn rhaid iddo ef (sef y diafol) sefyll ger bron yr Iesu hwnnw, ag y bu efe yn offeryn i ennill ei farwolaeth, i'w farnu, a'i ddedfrydu i'w dragywyddol ddinystr. Os ydyw Satan, tywysog uffern, gynnifer o filoedd o flynyddoedd ym mlaen llaw yn crynu wrth feddwl am hyn, pa faint mwy y cryn y fath greadur ystyfnig a balch ag ydyw efe, pan y byddo ger bron brawdle Crist! Y pryd hynny bydd raid iddo hefyd sefyll o flaen brawdlys y saint, y rhai y bu efe yn eu casâu, eu haflonyddu, a'u cystuddio: canys bydd y saint yn cyd-farnu gyda Christ. 1 *Cor*. 6. 3. "Oni wyddoch chwi y barnwn ni angelion." Y pryd hyn y bydd efe megis wedi ei ddarostwng tan draed yr eglwys. *Rhuf*. 16. 20. Satan, pan y temtiodd ein rhieni cyntaf i gwympo o'u dedwyddwch, a ddywedodd yn ffalsaidd ac yn dwyllodrus wrthynt, y byddent megis duwiau: ond bychan y gwyddai efe y canlyniad, y byddent hwy megis duwiau mewn gwirionedd, sef yn gyd-weithredwyr â Duw i'w

farnu ef. Llawer llai y meddyliodd efe, mai mewn canlyniad i hyn, y byddai i un o hiliogaeth y personau hynny a demtiodd efe, gael ei uno yn weithredol â Duw, ac y byddai yn barnu y hyd, ac y byddai raid iddo yntau sefyll yn frawychus ac yn grynedig ger bron ei orsedd-faingc farnol ef. A'r holl ysprydion uffernol, pa rai a wrthwynebasant Grist a'i deyrnas, a raid yn awr yn y diwedd sefyll mewn eithaf dychryn ger ei fron ef a'i eglwys, pan yr ymddangoso efe i'w dedfrydu hwy.

Y pryd hynny hefyd y dygir gelynion eraill Crist i ymddangos ger ei fron ef. Y pryd hyn bydd yn rhaid i'r Phariseaid a'r Ysgrifenyddion-beilchion ymddangos o'i flaen ef, ym mha rai yr oedd y fath gasineb maleisus tu ag atto, tra yr ydoedd efe yn ei sefyllfa o ddarostyngiad, a'r rhai a'i herlidiasant i angau; y rhai hynny ag y galwyd Crist unwaith ger bron gorsedd-faingc eu barn, ac o flaen brawdlys pa rai y bu efe yn sefyll fel pe buasai yn ddrwg-weithredwr, a'r rhai a'i gwatwarasant, ac a'i cernodiasant ef, gan boeri yn ei wyneb; ond yn awr hwy a'i gwelant ef yn ei ogoniant, fel y rhag-rybuddiodd efe hwy. *Mat.* 26. 64, 65.

Y pryd hyn hefyd y bydd raid i holl elynion creulon ac erlidgar yr eglwys trwy yr holl oesoedd, ddyfod ynghyd i'r golwg; Pharaoh a'r Aiphtiaid, Antiochus Epiphanes, yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid erlidgar, yr ymerawdwyr Paganaidd erlidgar, Julian y gwrthgiliwr, y Pabau a'r Pabyddion creulon ac erlidgar, Gog a Magog, pawb o honynt a ymddengys ar yr un waith o flaen gorsedd-faingc farnol Crist. Hwy a'r saint, pa rai a erlidiwyd ganddynt o oes i oes, a raid wynebu y naill y llall, ger bron y Barnwr mawr. Y saint a osodir y pryd hyn ar eu gorsedd-feingciau gogoneddus yn farnwyr i farnu y brenhinoedd a'r llywodraethwyr anghyfiawn hynny, pa rai o'r blaen a'u barnodd ac a'u dedfrydodd hwy i farwolaeth. Y pryd hyn y caiff yr erlidwyr hynny weled y fath ogoniant y bydd y saint wedi cyrhaedd iddo, pa rai y buont hwy yn eu dirmygu a'u trin yn greulon, a Christ a wna i'r merthyron sanctaidd hynny ddyfod megis i roddi eu traed ar yddfau eu herlidwyr; ïe, hwy a wneir yn droedfaingc i'w traed hwy. Fel hyn bydd gwedd pethau yn cael eu newid yn rhyfeddol o'r peth yr oeddynt yn arferol o fod mewn amseroedd blaenorol yn y byd; a'r pryd hyn y bydd pethau yn cael eu huniawni.

4. Bydd cyfiawnder yr eglwys yn cael ei amlygu, a holl annuwioldeb ei gelynion yn cael ei ddwyn i'r goleu. Y rhai

hynny ag a fu yn wrthddrychau casineb, gwaradwydd, a dirmyg yn y byd, a ddifenwyd ac a ddyfarnwyd gan eu herlidwyr yn ddiachos, a ddiffynir y pryd hyn. Hwy a ymddangosant yn ogoneddus, wedi eu gwisgo yn nghyfiawnder Crist. A'u sancteiddrwydd tumewnol a amlygir, a'u holl weithredoedd da a ddygir i'r goleu. Y gweithredoedd da a wnaethant yn y dirgel, a amlygir yn gyhoeddus y pryd hyn. Y rhai sanctaidd hynny, yr ymddygwyd tu ag attynt fel pe buasent yn ffieidd-dra y ddaear, ac yn ysgubion y byd, ac fel pe na buasent yn gymmwys i fyw ar y ddaear, a ddangosir y pryd hynny mai hwynt hwy oedd rhai ardderchog y ddaear. Duw a ddwg allan eu cyfiawnder fel y goleuni, a'u barn fel canol dydd. Y pryd hynny y gwelir pwy oedd y rhai hynny nad oeddynt yn gymmwys i fyw, pan y byddo holl annuwioldeb gelynion Crist a'i eglwys, eu balchder, eu creulondeb, a'u casineb at wir grefydd, yn cael eu gosod allan mewn gwir oleuni. Yna holl annuwioldeb yr holl fyd a ddatguddir yn gyflawn, a chalonnau pawb a wneir yn amlwg; a'r pethau a lefarwyd yn y glust, ac yn yr ystafell, a'r pethau a wnawd yn y tywyllwch, a amlygir yn y goleu, ac a gyhoeddir ger bron angelion a dynion. *Luc* 12. 3.

5. Fe gyhoeddir dedfryd ar y cyfiawnion a'r anghyfiawnion. Crist, y Barnwr, a rydd y ddedfryd honno ar ei eglwys, yr hon a fydd ar ei ddeheulaw: "Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barottôwyd i chwi er seiliad y byd." *Mat.* 25. 34. Hyn a gyhoeddir oddiar anfeidrol gariad, gyd â'r fath lef ag a bair i'r galon orlammu o lawenydd. Fel hyn y bydd Crist yn cyhoeddi dedfryd o gyfiawnhad ar filoedd o fyrddiynau, pa rai y cyhoeddwyd dedfryd ddyfarnol arnynt gan eu herlidwyr. Efe yn y modd hyn a anrhydedda y rhai hynny a ddirmygwyd o'r blaen: efe a'u haddefa hwynt fel ei eiddo, ac a esyd megis coron o ogoniant ar eu pennau y'ngŵydd y byd. Yna y llewyrchant fel yr haul gyda Christ Iesu mewn gogoniant a llawenydd, y'ngŵydd eu holl elynion.

Yna y cyhoeddir hefyd y ddedfryd ddyfarnol honno ar yr annuwiolion: "Ewch oddi wrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol, yr hwn a barottôwyd i ddiafol ac i'w angelion." Bydd gelynion yr eglwys yn cael eu dyfarnu yn y modd hyn; a'r holl ferthyron sanctaidd a fu yn dioddef dan eu dwylaw hwy, yn cydsynio â'r ddedfryd ddyfarnol a roddir arnynt. Pan byddo geiriau y ddedfryd hon yn cael eu cyhoeddi, bydd pob sill o honynt yn myned trwy eu calonnau, yn fwy ofnadwy na

Y

dylifiant mellt. Ni's gellir dirnad ond ychydig iawn am y fath ddychryn a fydd yn eu goddiweddyd hwy pan y clywant y fath ddedfryd.

6. Crist a'i holl saint, gyd â'i angelion sanctaidd yn gweini iddynt, a ymadawant â'r byd isod hwn, ac a esgynant i'r nefoedd uchaf. Crist a esgyn gyd â'r fath ogoniant mawr ag y disgynodd i farnu; ïe, gyda gogoniant mwy mewn amryw ystyriaethau: canys y pryd hynny y bydd yn esgyn, â'i eglwys etholedig gyd âg ef, wedi ei gogoneddu mewn corph ac enaid. Yr oedd ei esgyniad cyntaf ef i'r nefoedd wedi ei adgyfodiad yn hynod o ogoneddus; ond fe fydd ei ail esgyniad, ac esgyniad ei gorph dirgeledig, sef ei eglwys, gyd âg ef, yn llawer mwy gogoneddus. Y gwaredigion oll a esgynant gyd âg ef yn y modd mwyaf llawen a gorfoleddus, a'u holl elynion a'u herlidwyr, y rhai a adewir ar ol ar y ddaear felldigol hon, a ganfyddant eu gogoniant, ac a glywant eu caniadau.

7. Pan yr esgyno Crist a'i eglwys i'r nefoedd, y byd hwn a roddir ar dân, ac a fydd fel ffwrn fawr, ym mha un y bydd holl elynion Crist a'i eglwys yn cael eu poenydio i dragywyddoldeb diderfyn. 2 *Petr* 3. 7. "Eithr y nefoedd a'r ddaear sydd yr awrhon, ydynt trwy yr un gair wedi eu rhoddi i gadw i dân, erbyn dydd y farn, a distryw yr anwir ddynion." Ië, y fath ddychryn a fydd yn goddiweddyd yr annuwiolion, pan roddir y byd ar dân, yr hyn a wneir naill ai trwy fellt o'r nefoedd, neu dân yn tarddu o ymysgaroedd y ddaear; yn neilltuol pan y byddo y tân yn dechreu ymaflyd ynddynt hwy, a hwythau yn methu canfod un lle i ffoi. 2 *Petr* 3. 10,—12. "Yn yr hwn y nefoedd a ânt heibio gyda thwrf, a'r defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaear a'r gwaith a fyddo ynddi a losgir." Mor angerddol a fydd y gwres, nes y bydd y ddaear yn llosgi hyd ei chanol-bwynt. "Canys tân a gynneuwyd yn fy nig, ac a lysg hyd uffern isod, ac a ddifa y tir a'i gynnyrch, ac a wna i sylfeini y mynyddoedd ffaglu." *Deut.* 32. 22.

Yma y bydd holl erlidwyr eglwys Dduw yn llosgi mewn tân tragywyddol, pa rai a fuont o'r blaen yn rhwymo y saint wrth bolion i gael eu llosgi, a hwy a ddioddefant boenydfeydd tu hwnt i ddim a allodd eu malais a'u cyfrwysdra ddychymmygu i boeni y saint. Yma y bydd eu cyrph yn cael eu poeni yn dragywydd, ac heb eu difodi, tra y bydd eu heneidiau tan dywalltiad o ddigofaint Duw. Er fod eneidiau yr annuwiolion yn dioddef cosp yn bresennol yn uffern, etto fe fydd y fath ychwan-

egiad ar eu cosp ddydd y farn, fel nad ydyw yr hyn y maent yn ei ddioddef cyn hynny mewn cydmariaeth ond megis carchariad, yn blaenori y dihenyddiad a fydd yn canlyn. A'r pryd hyn y bydd y diafol, yr hen sarph, yn derbyn ei gyflawn gospedigaeth; yr hyn a fu efe yn ei ofni er's amser maith a ddaw arno yn gyflawn y pryd hynny. A'r byd hwn, yn yr hwn o'r blaen y buasai ei deyrnas ef, y lle hefyd y gosodasai efe ei hun i fynu fel duw, a fydd yn sefyllfa o dragywyddol a chyflawn gosp iddo.* Ac yn hyn y bydd un arall o ddibenion gwaith y prynedigaeth yn cael ei berffaith gyflawni, sef gosod gelynion Crist dan ei draed ef. Yna y gwneir ei holl elynion yn 'stol droed i'w draed ef, yn y gradd eithaf. Y pryd hyn y bydd cyflawn a hollol gyflawniad o'r bygythiad hwnnw: "Efe a ysiga dy ben di." *Gen.* 3. 13.

8. Ar yr un pryd, yr holl eglwys a gymmer ei mynedfa gyda Christ, ei phen, i'r nefoedd uchaf, ac yno a gaiff ddechreu ar sefyllfa o'r gogoniant uchaf, a thragywyddol ddedwyddwch. Tra y bydd y byd isod, yr hwn y bydd hi wedi ei adael, yn cael ei oddiweddyd â thân dialedd Duw, bydd yr holl eglwys yn cael mynedfa gyda Christ, ei phen gogoneddus, a'r holl angelion sanctaidd yn eu canlyn, mewn modd gorfoleddus, i dragywyddol baradwys Duw, palas y JEHOFAH mawr, ei Thad nefol. Y pyrth a agorir yn llydain i'r saint gael mynedfa iddynt, a Christ a'u dwg i'w ystafelloedd yn yr ystyr pennaf. Efe a'u dwg hwy i dŷ ei Dad, ac i fyd annhebyg iawn i'r hwn a adawsant. Crist a'u dwg hwynt yno, ac a'u cyflwyna hwynt i'w Dad, gan ddywedyd, "Wele, fi, a'r plant a roddaist i mi." *Heb.* 2. 13. Wele fi, a phob un a roddaist i fod dan fy ngofal er tragywyddoldeb, fel y byddai iddynt gael eu gogoneddu, ac er gwaredu pa rai y gwnaethym ac y dioddefais gymmaint, ac er agoryd y ffordd i'w gwaredu y dygais oddi amgylch y fath chwyldroadau mawrion o oes i oes. Wele hwy wedi eu hollol waredu mewn corph ac enaid. Myfi a'u gwaredais hwy yn hollol oddiwrth effeithiau drwg y cwymp, ac a'u rhyddheais o

* Y mae duwinyddion eraill yn gwahaniaethu yn eu tybiau mewn perthynas i'r ddaear hon, mewn canlyniad i ddydd y farn; rhai a farnant yr adferir hi i'w gwreiddiol brydferthwch, fel yr ydoedd cyn y cwymp, ac y bydd yn breswylfa i Grist a'r gwaredigion; ac eraill a dybiant y llosgir hi yn hollol i ddiddymdra. Y mae yn debyg mai y goreu ydyw aros hyd oni ddengys yr amgylchiad pa beth a wneir iddi, fel y gellir barnu yn benderfynol y pryd hynny.

ddwylaw eu holl elynion. Dygais hwy oll ynghyd yn un gymdeithas ogoneddus, gan eu huno â mi fy hun. Myfi a'u cyfiawnheais yn gyhoeddus y'ngŵydd angelion a dynion, ac a'u dygais o'r byd melldigedig, yn yr hwn y dioddefasant gymmaint, ac a'u cyflwynais yn ddifeius ger bron dy orseddfaingc. Gwneuthym bob peth drostynt ac erddynt a osodaist arnaf i'w wneuthur. Myfi a'u perffaith lanheais oddiwrth eu holl ffieidd-dra yn fy ngwaed, ac wele hwy yn berffaith gyflewyrchiol â'th ddelw di. Yna y Tad a'u derbyn ac a'u haddef hwy yn blant iddo ei hun, gan eu croesawu â thragywyddol a pherffaith etifeddiaeth a gogoniant ei dŷ, a rhoddi iddynt fwy o amlygiadau gogoneddus o'i gariad nag erioed, a chaniattau iddynt fwynhad mwy cyflawn a pherffaith o hono ei hun.

Y pryd hyn y bydd priodas yr Oen, yn yr ystyr mwyaf perffaith. Dechreuad amseroedd gogoneddus yr eglwys ar y ddaear, wedi cwymp Anghrist, a arddangosir megis priodas yr Oen: ond wedi hynny yr ydym yn darllen am briodas arall yr Oen, yn niwedd dydd y farn. Wedi i'r disgybl anwyl roddi hanes dydd y farn, yn niwedd yr ugeinfed bennod o'r Datguddiad, y mae yn myned ym mlaen yn y ddwy bennod nesaf i roi hanes yr hyn a ganlyn. Y mae yn crybwyll yn neilltuol iddo weled y ddinas sanctaidd, Jerusalem newydd, wedi ei pharottoi fel priodas-ferch wedi ei thrwsio i'w gwr. A phan y dygo Crist ei eglwys i dŷ ei Dad yn y nefoedd, wedi y farn ddiweddaf, efe a'i dwg hi yno fel ei briodas-ferch, efe a'i cyflwyna hi yno iddo ei hun, yr hon a garodd, ac y dodes ei hun drosti, fel y byddai heb frycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw. *Rhuf.* 5. 27. Y priod-fab a'r briodas-ferch a ânt i mewn i'r nefoedd, wedi ymwisgo yn eu gwisgoedd priodas, a'r holl angelion gogoneddus a fydd yn eu canlyn, a hwy a ddechreuant ar eu gwledd o dragywyddol wynfydedigrwydd. Hwn a fydd yn ddydd o lawenydd calon i Grist, yn yr hwn y llawenycha efe yn ddirfawr, a'i holl saint gyd âg ef. Crist a lawenycha yn ei briodas-ferch, a hithau a lawenycha ynddo ef, ei phriod, yn y sefyllfa berffaith hon o dragywyddol ddedwyddwch.

Y pryd hyn y bydd holl waith y prynedigaeth wedi ei orphen, a nyni a welwn y modd y dygwyd ef ym mlaen o gwymp dyn hyd yr amser hwn. A'r pryd hyn y bydd yn gyflawn, a phen-congl faen yr adeiladaeth wedi ei osod. Wrth ddyfod â'r traethawd ym mlaen ar y testun hwn, nyni a ddilyn-

asom eglwys Dduw trwy yr holl ystormydd a'r tymhestloedd y mae hi yn myned trwyddynt, nes o'r diwedd y gwelsom hi yn cyrhaedd y porthladd, ac yn tirio yn y nefoedd uchaf, mewn gogoniant cyflawn a thragywyddol. Yr ydym wedi myned trwy amser, a'r amrywiol oesoedd o hono, fel yr oedd gair Duw a'i ragluniaeth yn ein harwain; ac yr ydym yn awr yn diweddu yn nhragywyddoldeb, pan na byddo amser mwyach. Nyni a welsom y modd y bydd gelynion yr eglwys yn cael eu sefydlu mewn trueni diderfyn, a hithau yn cael ei chyflwyno ger bron y Tad yn y nefoedd, ac yno i fwynhau y gwynfydedigrwydd a'r gogoniant mwyaf annhraethadwy ac annirnadwy, trwy oesoedd diderfyn tragywyddoldeb.

Y pryd hyn y bydd gelynion Crist yn cael eu gosod yn hollol dan ei draed ef, ac efe a gaiff yr oruchafiaeth fwyaf cyflawn ar bechod, ac ar Satan a'i holl offerynau, uffern a marwolaeth. Y pryd hyn bydd yr holl addewidion a roddwyd gan y Tad i Grist, cyn sylfaenu y byd, sef addewidion cyfammod y prynedigaeth, yn cael eu hollol gyflawni. Crist y pryd hyn a gyrhaedd y llawenydd a osodwyd o'i flaen ef i berffeithrwydd, am yr hyn yr aeth efe dan y dioddefiadau hynny y bu efe danynt yn sefyllfa ei ddarostyngiad. Y pryd hyn hefyd y bydd holl ddisgwyliad a gobaith y saint yn cael ei gyflawni. Nid oedd sefyllfa y pethau ag yr oedd yr eglwys ynddynt o'r blaen, ond sefyllfa gynnyddawl tu ag at, a pharottoawl i, hyn; ond y pryd hyn y bydd hi wedi cyrhaedd i'r sefyllfa fwyaf perffaith o ogoniant. Nid ydyw holl ogoniant yr amserau goreu ar yr eglwys ar y ddaear ond cysgod tywyll o'r dedwyddwch perffaith hwn a gaiff hi yn y nefoedd.

A'r pryd hyn y bydd Crist y Gwaredwr mawr yn cael ei ogoneddu yn y modd mwyaf perffaith, a Duw y Tad hefyd a ogoneddir ynddo ef, a'r Ysbryd Glân a ogoneddir hefyd yn y modd mwyaf cyflawn ym mherffeithiad ei waith ar galonnau holl aelodau yr eglwys. Y pryd hynny y bydd nefoedd newydd a daear newydd, neu yr agwedd adnewyddol hynny ar y pethau y buwyd yn eu hadeiladu o hyd er adgyfodiad Crist, yn cael eu cyflawn orphen, wedi i ddefnydd cyfansoddawl yr hen nefoedd a'r hen ddaear gael eu dinystrio. *Dat.* 21. 1. "Ac mi a welais nef newydd, a daear newydd: canys y nef gyntaf a'r ddaear gyntaf a aeth heibio." A phwy all ddychymmygu am y gorfoledd hynny a fydd yn y mawl a genir yn y nefoedd ar yr achlysur hwn. Fe ymddengys fod y disgybl anwyl mewn diffyg ymad-

roddion i ddarlunio y llawenydd a fydd yn yr eglwys gyda chwymp Anghrist, ac y mae yn dywedyd, "Fod llef megis dyfroedd lawer, ac megis llef taranau cryfion, yn dywedyd, Aleluia: oblegid teyrnasodd yr Arglwydd Dduw Hollalluog." Ond mwy annhraethadwy o lawer a fydd y caniadau hynny, a genir yn y nefoedd wedi perffeithiad diweddaf pob peth: diau mai taranau cryfion a fyddant!

Bydd yr holl bethau blaenorol y pryd hyn wedi myned heibio, a pha fath sefyllfa ogoneddus y sefydlir pethau i fod, ac i aros yn dragywydd! Megis, pan y dechreuodd Crist gyntaf ar waith y prynedigaeth wedi cwymp dyn, ac y rhoddwyd y deyrnas iddo gan y Tad, ac y cymmerodd yntau arno ei hun i weinyddu yn ngoruchwyliaethau rhagluniaethol y byd, ac i lywio y cyfan i fod yn wasanaethgar i ddibenion y gorchwyl mawr hwn; felly y pryd hyn, bydd y gwaith wedi ei orphen, ac efe a rydd y deyrnas i fynu i Dduw a'r Tad. 1 *Cor.* 15. 24. "Yna y bydd y diwedd, wedi y rhoddo efe y deyrnas i Dduw a'r Tad, wedi iddo ddilëu pob pendefigaeth, a phob awdurdod a nerth." Ni bydd Crist yn peidio teyrnasu, neu heb yr un deyrnas ganddo ar ol hyn; canys fe ddywedir, "Efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd; ac ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd." *Luc* 1. 33. "Ei lywodraeth sydd lywodraeth dragywyddol, yr hon nid â ymaith, a'i frenhiniaeth ni ddifethir." *Dan.* 7. 14. Ond yr ystyr yw, y bydd Crist yn rhoi i fynu y deyrnas a'r llywodraeth sydd ganddo ar y byd, fel cennad neu raglaw y Tad, i lywio pethau i fod yn îs-wasanaethgar i ddiben mawr y prynedigaeth. Fe ymddengys mai diben y genhadaeth, neu y rhaglawiaeth yma, a gafodd efe gan y Tad, ydyw i fod yn wasanaethgar i'r diben neillduol hwn, sef y prynedigaeth; a chan hynny pan y bydd y diben yn cael ei gyflawn orphen, fe fydd y genhadaeth yn peidio a bod, a Christ yn rhoi y deyrnas i fynu i'r Tad, gan yr hwn y derbyniasai efe hi.

## DEFNYDD CYFFREDINOL ODDIWRTH YR ATHRAWIAETH.

Yr wyf yn awr yn dyfod ym mlaen i dynnu ychydig o addysgiadau oddiwrth y cyfan y buwyd yn traethu arno.

1. Nyni a allwn ddysgu pa mor fawr ydyw gwaith y prynedigaeth. Yr ydym yn awr, mewn modd ammherffaith, wedi sylwi arno yn ei holl gynnydd o'i sylfaeniad yn y cwymp, trwy hir ddilyniad o weithredoedd rhyfeddol, fel yr ydoedd yn cyn-

nyddu uwch uwch o'r naill oes i'r llall, hyd oni osodwyd y maen pennaf yn niwedd y byd. Bydded i ni ystyried y fath waith mor fawr ydyw hwn. A ydyw dynion yn edrych ar balasau tywysogion, ac yn rhyfeddu eu gorwychedd a'u hardd-wch? Pa faint mwy y dylem ni ryfeddu yn yr olwg ar yr adeiladaeth hon o eiddo Duw, yr hon y bu efe yn ei chodi iddo ei hun trwy hir ddilynol oesoedd. Y mae tri pheth a grybwyllwyd yn dangos yn neilltuol fawredd y gwaith hwn, sef y prynedigaeth.

(1.) Natur y digwyddiadau neilltuol a'r goruchwyliaethau rhagluniaethol, trwy ba rai y mae y gwaith hwn yn cael ei gyflawni. Pa bethau mawrion a wnawd yn y byd i barottoi 'r ffordd i ddyfodiad Crist, a phwrcasiad y rhyddhad mewn canlyniad i hynny. Y fath ryfeddod oedd i Grist ymuno à chnawd, fel y daeth Duw yn ddyn, a phreswylio ar y ddaear hon am bedair ar ddeg ar hugain o flynyddoedd mewn sefyllfa wael a dirmygedig; a threulio ei oes mewn llafur a dioddefiadau, a marw yn y diwedd ar y groes. A pha bethau mawrion a wnawd i gyflawni llwyddiant y prynedigaeth trwyddo ef. I'r diben hwn yr adgyfododd efe oddiwrth y meirw, ac yr esgynodd efe i'r nefoedd, ac y darostyngwyd pob peth iddo. Faint o wyrthiau a weithredwyd, a pha faint o chwyldroadau mawrion a ddygwyd oddi amgylch yn y byd eisoes, a pha faint mwy ydyw y rhai yr ydym etto i'w disgwyl!

(2.) Y mae rhifedi y digwyddiadau mawrion hynny, trwy ba rai y mae y gwaith hwn yn cael ei ddwyn ym mlaen, yn dangos ei fawredd. Y chwyldroadau nerthol hynny a lanwodd i fynu gynnifer o oesoedd. Gwaith y greadigaeth a orphenwyd mewn chwe diwrnod; ond y goruchwyliaethau mawrion, trwy ba rai y dygir ym mlaen waith y prynedigaeth, ydynt mor luosog fel y maent yn llenwi i fynu chwech neu saith mil o flynyddoedd. Y dwfr diluw, adeiladu Babel, gwasgariad y cenhedloedd, byrhad oes dyn, galwad Abraham, dinystr Sodom a Gomorrah; rhestr maith o ragluniaethau rhyfeddol mewn perthynas i Abraham, Isaac, Jacob, a Joseph; y rhyfeddodau yn yr Aipht, wrth y Môr Coch, yn yr anialwch; maith ddilyniad o ragluniaethau rhyfeddol o oes i oes tu ag at y genedl Iuddewig; oeddynt oll mewn rhyw olygiad yn cyd-weithio tu ag at y diben mawr hwn. Y fath bethau a wnawd yn nyddiau Crist, ac wedi hynny, yn nadymchweliad teyrnas Satan yn yr Ymerodraeth Baganaidd, ac yn nghadwraeth yr eglwys trwy amseroedd tywyll Pabydd-

iaeth, a dwyn oddi amgylch y Diwygiad Protestanaidd. Pa faint o bethau mawrion a rhyfedd sy raid eu dwyn i ben, er cyflawni amseroedd gogoneddus yr eglwys, ac yn nyfodiad diweddaf Crist ddydd y farn, a dinystr y byd, a chludiad yr holl eglwys i mewn i'r nefoedd.

(3.) Canlyniad gogoneddus yr holl orchwyl hwn, yn nhragywyddol a chyfiawn ddinystr yr annuwiolion, a pherffaith ogoneddiad y cyfiawnion. Bydded i mi gymmeryd golwg unwaith ym mhellach ar yr adeiladaeth fawr hon, pan y bydd y pryd hyn wedi ei gorphen, a'r maen uchaf wedi ei osod. Yr ydoedd yn ymddangos mewn uchder gogoneddus yn nyddiau yr apostolion; wedi hynny yn uwch yn amser Cystenyn, ac a ymddengys yn llawer mwy gogoneddus drachefn wedi cwymp Anghrist. Ond ar ddiweddiad pob peth, hi a ymddengys yn ei gorwychedd mwyaf, fel adeilad uchel a chyflawn, neu yr hon a gyrhaedd hyd nef y nefoedd; a hi a fydd yn adeiladaeth deilwng i'r Duw mawr, Brenhin y Brenhinoedd.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, nyni a allwn gasglu, mai gwaith y prynedigaeth ydyw y mwyaf o holl weithredoedd Duw ag y mae gennym unrhyw wybodaeth am danynt. Y gwaith hwn ydyw y pennaf o holl weithredoedd ei ragluniaeth ef, a thu ag at hwn y maent oll yn tynnu. Yr holl chwyldroadau yn yn y byd ydynt yn is-wasanaethgar i'r diben goruchel hwn. Y mae gwaith y prynedigaeth yn fwy hefyd na gwaith y greadigaeth, fel ag mai y defnydd a wneir o dŷ ydyw y diben o'i adeiladu. Y mae gwaith y greadigaeth newydd yn fwy ardderchog na gwaith yr hen. Felly y mae pethau byth yn bod, sef, pan y byddo Duw yn symmud un peth i roi lle i beth arall, y mae y newydd yn rhagori ar yr hen. Yn y modd hyn yr oedd y deml yn rhagori ar y tabernacl; y cyfammod newydd, ar yr hen; goruchwyliaeth newydd yr efengyl yn rhagori ar oruchwyliaeth Moses; gorseddfaingc Dafydd, ar orseddfaingc Saul; offeiriadaeth Crist, ar offeiriadaeth Aaron; y Jerusalem newydd, ar yr hen; ac felly mae y greadigaeth newydd yn rhagori yn fawr ar yr hen greadigaeth. Gwaith y prynedigaeth ydyw y mwyaf o weithredoedd Duw, yn gymmaint a bod ei holl weithredoedd eraill ef i edrych arnynt fel rhannau o hono, ac yn gysylltiedig âg ef, neu, mewn rhyw ffordd neu gilydd, yn tynnu tu ag atto; ac felly mae holl fwriadau Duw, y naill ffordd neu'r llall, yn perthyn i gyfammod tragywyddol y prynedigaeth, oedd rhwng y Tad a'r Mab er cyn sylfaenu'r byd. Y mae pob un o

fwriadau Duw, yn y naill ffordd neu'r llall, yn cyd-weithredu â'r cyfammod hwnnw. Ac wele, y mae hwn yn waith mor fawr nad rhaid i ni ryfeddu fod yr angelion yn chwennychu edrych arno; a bod y fath sefyll arno yn y Bibl, gan mai testun mawr ei athrawiaethau, ei addewidion, cysgodau, caniadau, hanesyddiaeth, a phrophwydoliaethau ydyw.

2. Nyni a allwn ddysgu oddiwrth hyn, fod Duw yn Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd i bob peth. Y cyfryw nodweddiadau ac enwau ydym yn ganfod yn fynych yn cael eu priodoli i Dduw, yn y mannau hynny o'r ysgrythyr ag sydd yn llefaru am yrfa digwyddiadau rhagluniaethol. *Esa.* 41. 4. "Pwy a weithredodd ac a wnaeth hyn, gan alw y cenhedlaethau o'r dechreuad? Myfi yr Arglwydd y cyntaf, myfi hefyd fydd gyd â'r diweddaf." Gwel hefyd *Esa.* 45. 6, 7. a 48. 9, 12. Gan hynny, pan y mae Crist yn datguddio i'r disgybl anwyl y digwyddiadau rhagluniaethol a berthyn i'w bobl a'i eglwys, a'r gwaith hwn, sef y prynedigaeth, hyd ddiwedd y byd, y mae yn fynych yn ei amlygu ei hun iddo dan y nodweddiad hwn. *Dat.* 1. 8. "Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, medd yr Arglwydd, yr hwn sydd, a'r hwn oedd, a'r hwn sydd i ddyfod, yr Hollalluog." *Adn.* 10, 11. "Ac mi a glywais o'r tu ol i mi lef fawr fel llais udgorn, yn dywedyd, Mi yw Alpha ac Omega, y cyntaf a'r diweddaf." Alpha ac Omega ydyw y llythyren gyntaf a diweddaf yn yr iaith Roeg, fel y mae A a Y yn ein hiaith ninnau; gan hynny y mae yn arwyddo yr un peth a'i fod ef y cyntaf a'r diweddaf, y dechreu a'r diwedd. Fel hyn y mae Duw yn nechreu y llyfr hwn, cyn dechreu y brophwydoliaeth; felly drachefn yn ei ddiwedd, wedi canlyniad diweddaf y digwyddiadau oll. "Ac efe a ddywedodd wrthyf, Darfu. Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd.—Ac wele, yr wyf yn dyfod ar frys; a'm gwobr sydd gyda mi, i roddi i bob un fel y byddo ei waith ef. Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, y cyntaf a'r diweddaf." *Dat.* 21. 6. a 22. 12, 13.

Yr ydym yn awr yn gweled y modd yr oedd pob peth o'r dechreuad *o* Dduw; ac i ba ddiben y dechreuodd efe ei ragluniaethol yrfa, a'r modd y dygwyd pethau ym mlaen bob amser yn gydunol â'i ddiben ef, heb fethu; ac y bydd yn y diwedd derfyniad a chanlyniad diweddaf pethau yn hollol *i* Dduw. Gan hynny hawdd y gellir gwaeddi allan, gyd â'r apostol, "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!

Canys o hono ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef, y mae pob peth. Iddo ef y byddo y gogoniant yn dragywydd. Amen." *Rhuf.* 11. 33, 36. Nyni a welwn fod llywodraethau ac ymerodraethau eraill yn syrthio, y naill ar ol y llall, ac yn dyfod i ddiddymdra, ie, y rhai galluoccaf a chadarnaf o honynt; y modd y dadymchwelwyd y byd yn fynych, ac y gwneir hynny etto mewn modd mwy nodedig nag erioed o'r blaen. Nyni a welwn y modd y dinystriwyd y byd y waith gyntaf trwy ddwfr, ac y bydd iddo yn y diwedd gael ei hollol ddinystrio trwy dân; ond etto y mae Duw yn aros yr un trwy yr holl oesoedd. Yr oedd efe cyn dechreuad gyrfa pethau, ac a fydd yr un wedi iddynt ddiweddu. *Ps.* 102. 25, 26. Nyni a welwn fod pob duwiau eraill yn darfod am danynt; y duwiau oedd gan y cenhedloedd Paganaidd gynt oddi amgylch gwlad Canaan, a thrwy yr Ymerodraeth Rufeinig, ydynt oll wedi eu dinystrio, a'u haddolwyr wedi eu dadymchwelyd er's talm. Nyni a welwn fod Anghrist, yr hwn sydd yn ei alw ei hun yn dduw ar y ddaear, a Mahomet, yr hwn sydd yn honni hawl i addoliad crefyddol, a holl dduwiau y Cenhedloedd i ddarfod am danynt: a Satan hefyd, y ddraig fawr, yr hen sarph, a fwrir i'r llyn o dân, i ddioddef cospedigaeth gyflawn. Ond JEHOFAH a fydd yr un, a'i deyrnas yn deyrnas dragywyddol, ac ni bydd diwedd ar ei lywodraeth ef. Nyni a welwn fod cyfnewidiadau galluog a dirifedi yn y byd; ond y mae Duw yn anghyfnewidiol, "yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd." *Heb.* 13. 8.

Nyni a ddechreuasom ym mhen y ffrwd o ragluniaeth ddwyfol, ac a'i dilynasom, trwy amrywiol ddirwyniadau a throadau, hyd oni ddaethom hyd y terfyn, a gweled ym mha le y bydd y canlyniad. Fel y dechreuodd yn Nuw, felly hefyd y mae yn diweddu ynddo ef. Y mae yr Arglwydd fel cefnfor anfeidrol, i ba le y mae'r ffrwd yn ymdywallt. Y mae rhagluniaeth yn gyffelyb i olwyn fawr alluog, amgylchiad yr hon sydd mor uchel hyd onid ydyw yn ofnadwy; a gogoniant Duw Israel oddi arni, fel yr arddangosir yn ngweledigaeth Ezeciel. Gwelsom chwyldroad yr olwyn hon, a'r modd fel yr ydoedd o Dduw, ac felly yn dychwelyd iddo ef drachefn. Holl ddigwyddiadau dwyfol ragluniaeth ydynt fel dolenau cadwyn; y ddolen gyntaf sydd o Dduw, a'r diweddaf sydd iddo ef.

3. Nyni a allwn weled oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, fel y mae Crist yn meddu y blaenoriaeth a'r uwchafiaeth ar bob peth: canys ei waith ef ydyw y gwaith mawr hwn, sef y prynedigaeth;

a chan hynny y mae megis pe bai yn swm o holl weithredoedd rhagluniaeth Duw, yr hyn sydd yn dangos gogoniant ein Harglwydd Iesu Grist uwchlaw pob peth, a thrwy bob peth, ac ym mhob peth. Fod Duw wedi bwriadu y byd i fod yn wasanaethgar i'w Fab yn ngorchwyl y prynedigaeth, sydd yn un rheswm a roddir paham y crewyd ef, fel y dangosir gan yr apostol yn *Eph.* 3. 9,—12. Y mae yr hyn a ddywedwyd, yn dangos fel y mae holl fwriadau Duw yn cyd-gyfarfod yn Nghrist; a'i fod ef cyn pob peth, ac uwchlaw pob peth, a bod pob peth yn cyd-sefyll ynddo ef, ac yn cael eu llywodraethu ganddo ac erddo ef, *Col.* 1. 13,—15. a bod Duw wedi ei wneuthur ef yn gynfab goruwch brenhinoedd y ddaear, a gosod ei orseddfainge ef goruwch eu gorseddfeingciau hwy, ac yn cynnal ei deyrnas ef pan y mae yr eiddynt hwy yn pallu ac yn dyfod i ddiddymdra. Ni a welwn pa gyfnewidiadau bynnag a fyddo yn bod, a pha fodd bynnag y byddo i elynion Crist ymddyrchafu yn ei erbyn, etto hwy a wneir yn 'stol-droed iddo ef yn y diwedd, ac efe a deyrnasa gyd âg awdurdod anfeistrolgar a gogoniant difesur; ac yn y diwedd hefyd y bydd ei bobl oll yn hollol gadwedig, ac yn cael eu gwneud yn dragywyddol ddedwydd. Yn y modd hyn y mae Duw yn rhoddi y byd yn etifeddiaeth i'w Fab.

4. Oddiwrth y pethau hyn ni a allwn weled cyssondeb, trefn, a harddwch, gweithredoedd rhagluniaeth Duw. Os edrychwn ar y digwyddiadau hyn mewn golygiad gwahanol i'r modd y gosodwyd hwy allan o'n blaen, hwy a edrychant oll yn gyffelyb i annhrefn, fel nifer o ddigwyddiadau cymmysgedig yn dyfod oddi amgylch heb drefn, yn lluchio fel tonnau y môr. Fe ymddengys pethau fel pe bai y naill [illegible] annhrefnus yn dyfod oddi amgylch ar ol y llall, yn unig trwy ddigwyddiad, heb un diben sicr a rheolaidd. Ond os edrychir ar ddigwyddiadau rhagluniaethol yn y goleuni y gosodir hwy allan i ni yn yr ysgrythyrau, hwy a ymddangosant yn rhestr o ddigwyddiadau rheolaidd, oll yn cael eu trefnu mewn doethineb a chyd-gordiad cysson, i gyd yn tueddu tu ag at yr un diben. Nid ydyw olwynion rhagluniaeth yn cael eu troi gan ddigwyddiad dall, ond y maent oll oddi amgylch yn llawn llygaid, fel yr arddangosir gan Ezeciel, ac yn cael eu cyfarwyddo gan Yspryd Duw: lle mae yr yspryd yn myned, y maent hwythau yn myned: ac y mae holl weithredoedd rhagluniaeth Duw trwy yr holl oesoedd yn cyfarfod yn yr un diben, fel cynnifer o linellau yn cydgyfarfod yn yr un canol-bwynt. *Ezec.* 1. 18,—20.

Y mae gweithredoedd rhagluniaeth Duw yr un modd a'i waith yn creu, nid ydynt ond un gwaith. Nid ydyw digwyddiadau rhagluniaethol yn gymmysgedd o weithredoedd dosparthedig annymddibynol, ond yn hytrach y maent yn gynnifer o wahanol rannau o'r un gwaith, ac yn un cynllun rheolaidd. Nid ydyw gweithredoedd rhagluniaeth yn wahanedig ac yn gymmysgedd heb gyssylltiad neu ymddibyniad, ond y maent oll mewn undeb, fel amrywiol rannau o un adeiladaeth. Y mae mewn adeilad lawer o gerrig, a llawer o ddarnau o goed, ond y maent wedi eu cyssylltu a'u ffurfio yn addas ynghyd, fel nad ydynt yn gwneud ond un adeiladaeth: nid oes i'r cyfan ond un sylfaen, ac yn cael eu huno yn y diwedd mewn un congl-faen.

Ni byddai yn anaddas gosod allan ragluniaeth Duw dan y gyffelybiaeth o afon fawr a hir, yn meddu aneirif ganghenau, yn cael eu dechreuad mewn gwahanol ardaloedd, ac mewn pellder mawr y naill oddiwrth y llall, ac oll yn uno yn un ffrwd gyffredinol. Wedi iddynt fod yn rhedeg mewn gyrfeydd hynod o wahanol a gwrthwynebol am yspaid maith, y maent oll yn ymgasglu ynghyd, pa agosaf y maent yn dyfod i'w diben cyffredin, ac oll o'r diwedd yn ymarllwys mewn un lle i'r un cefnfor. Yr ydym ni yn dueddol i edrych ar wahanol ffrydiau yr afon hon megis pe baent yn annhrefnus, a hynny o herwydd natur derfynol ein golwg, gan nad ydym yn gallu canfod y cyfan ar unwaith, a chael allan pa fodd y maent yn ymuno yn un. Eu rhedle sydd yn ymddangos yn hynod o drofëus, a'u gwahanol ffrydiau yn ymddangos fel pe baent yn rhedeg am yspaid mewn ffyrdd gwahanol a gwrthwynebol: ac os edrychir ar bethau ar wahan, y mae aneirif rwystrau yn ymddangos ar y ffordd iddynt byth ymuno, a dyfod i'r un cefnfor; megis creigiau a mynyddoedd, a phethau o'r fath; ond os dilynwn hwy, ni a'u gwelwn oll yn ymuno yn y diwedd, ac yn ymdywallt i'r cefnfor mawr.

5. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, ni a allwn ddysgu, mai gair Duw ydyw yr ysgrythyrau, gan mai hwy yn unig sydd yn ein dysgu pa beth ydyw diben Duw yn yr holl weithredoedd hyn. Y mae yn dra rhesymol i dybied fod rhyw gynllun neilltuol i'r hwn y mae rhagluniaeth yn trefnu yr holl ddilynol a mawrion gyfnewidiadau ym mysg dynolryw yn wasanaethgar; a bod yr holl chwyldroadau, o ddechreuad y byd hyd ei ddiwedd, yn gynnwysedig i ddwyn oddi amgylch y digwyddiad mawr hwnnw ag sydd yn bennaf mewn golygiad gan Greawdwr a llywodraethwr y bydoedd; ac na bydd i'r cynllun hwnnw gael ei

orphen, a'r digwyddiad diweddaf gael ei hollol gyflawni hyd ddiwedd y byd.

Yn awr nid oes dim arall a hyspysa i ni pa beth ydyw y cynllun hwn, a diben Duw yn ei weithredoedd, ond yr ysgrythyrau. Nid oes dim arall a all honni dwyn i'r golwg yr holl restr o weithredoedd Duw yn ei ragluniaeth o'r dechreu i'r diwedd, a hyspysu i ni y modd yr oedd pob peth o Dduw ar y cyntaf, ac i ba ddiben y dygir hwy yn y diwedd. Nid oes ond yr ysgrythyr yn gosod allan mewn hanesyddiaeth drefnus, y modd yr oedd Duw yn llywodraethu y byd o'r dechreuad, neu yn dangos mewn prophwydoliaethau rheolaidd, y modd y llywodraethir ef mewn digwyddiadau dyfodol hyd y diwedd; yn ol yr her a roddir gan Dduw Israel i dduwiau, prophwydi, ac athrawon y Paganiaid: "Dygant hwynt allan, a mynegant i ni y pethau a ddigwyddant; mynegwch y pethau gynt beth ydynt, fel yr ystyriom, ac y gwypom eu diwedd hwynt; neu traethwch i ni y pethau a ddaw. Mynegwch y pethau a ddaw ar ol hyn, fel y gwypom mai duwiau ydych." *Esa.* 41. 22, 23.

Ymddengys yn dra addas a gofynol, fod y rhan resymol o'r greadigaeth yn gwybod rhywbeth am amcan a bwriad Duw yn ei weithredoedd; canys mae yn ddiammheuol mai mewn perthynas i ddynolryw y mae ei weithredoedd ef yn bennaf ac yn neilltuol, gan fod Duw wedi eu cynnysgaeddu hwy â rheswm, ac â chymmwysder i'w ganfod ef yn ei weithredoedd, a hynny fel y byddai iddynt ei ogoneddu ef ynddynt. Ond pa fodd y gogoneddant hwy Dduw yn ei weithredoedd, os na byddant yn gwybod dim am ei fwriadau ef? Ac y mae yn ymddangos yn rhesymol ym mhellach, gan eu bod hwy wedi eu gwneud yn gymmwys, fel creaduriaid, i gymmeradwyo a chyd-ddwyn y'mlaen y bwriad hwnnw, a chyda bywiogrwydd i weithredu yn hynny fel deiliaid a chyfeillion iddo ef; y mae yn rhesymol gan hynny i dybied fod Duw yn rhoddi rhyw ddatguddiad i hyspysu hyn i ddynolryw: ac nid yw y cyfryw ddatguddiad i'w gael mewn un man ond yn y Bibl. Ynddo ef yr hyspysir i ni am wreiddiol ddechreuad pethau, ac y rhoddir i ni hanes trefnus am gynllun Duw yn ei weithredoedd o'r dechreuad, a thrwy yr holl oesoedd ag sydd tu hwnt i gyrhaeddiad un hanesyddiaeth arall. Ynddo ef y dangosir i ni pa beth ydyw y prif ddiben ag y mae Duw wedi ei fwriadu, a'r pethau mawrion ag y mae efe yn ewyllysio eu dangos. Yma y cawn hanes y pethau teilwng hynny o Dduw, a gogoniant ei berffeithiau ef. Yma y'n haddysgir am gyssyllt-

iad amrywiol rannau rhagluniaeth, fel y maent mewn ffurf reolaidd, hardd, a gogoneddus, ac iawn hanes holl gynllun rhagluniaeth o ddechreuad y byd hyd ei ddiwedd, naill ai mewn hanesyddiaeth ai mewn prophwydoliaeth; a'r modd y mae eu canlyniad yn narostyngiad gelynion Duw, ac yn iachawdwriaeth a gogoneddiad ei eglwys, a chodiad i fynu deyrnas ei Fab ef. Y fath lyfr ardderchog, defnyddiol, a rhesymol, ydyw y Bibl! y fath nodweddiad sydd iddo ei fod o ddwyfol ddatguddiad! llyfr ydyw, heb yr hwn y buasem yn cael ein gadael mewn tywyllwch truenus, ac annhrefn.

6. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, ni allwn weled gallu a mawrhydi gogoneddus Duw yn ngorchwyl y prynedigaeth. Y mae ei allu yn ymddangos yn nghynnaliad ei eglwys yspaid mor faith o amser, a dygiad y gwaith hwn ym mlaen; a'i chadw hi pan y byddai yn fynych ond megis gwreichionen fechan o dân, neu fel llîn yn mygu, yn yr hwn y byddai y tân bron wedi diffoddi: etto ni oddefodd Duw erioed iddo ddiffoddi, ond efe a ddwg allan farn i fuddugoliaeth. Y mae Duw yn gogoneddu ei nerth yn ngwendid ei eglwys, trwy wneud i'w bobl, pa rai nad ydynt yn gyffelyb ond yn unig i fabanod bychain, fuddugoliaethu yn y diwedd ar ddaear ac uffern; hyd oni byddant yn cael mathru y llew a'r asp; y cenaw llew a'r ddraig a fathrant hwy dan eu traed. *Ps.* 91. 13. Y mae gallu Duw yn ymddangos yn ngorchfygiad ei elynion aml a galluog trwy yr Iesu hwnnw, yr hwn a fu unwaith yn faban mewn preseb, ac wedi hynny yn dlawd, yn wan, ac yn ddiystyraf o'r gwyr; etto efe a orchfygodd ac a fuddugoliaethodd arnynt hwy â'u harf eu hunain, sef y groes.

Y mae gallu Duw yn ymddangos yn ogoneddus yn gorchfygu Satan pan yr ydoedd wedi ymddyrchafu yn ei deyrnas Baganaidd gadarnaf a galluoccaf, yr Ymerodraeth Rufeinig. Crist, ein Michael ni, a'i gorchfygodd ef, a'r diafol a fwriwyd allan, a lle ni chafwyd iddo ef mwyach yn y nef; ond efe a fwriwyd i'r ddaear, a'i angelion gyd âg ef. Drachefn, fe ymddengys gallu Duw yn ogoneddus yn ei orchfygu yn ei deyrnas Anghristaidd, falch, a chyfrwys ef, yr hon sydd wedi bod goruwch y lleill oll mewn creulondeb; ac yn neilltuol dangosir ei allu ef, pan y byddo Satan yn ymegnïo yn fwyaf ffyrnig ychydig cyn ei gwymp diweddaf. Teyrnasoedd galluog Anghrist a Mahomet, y rhai a ymddangosasant yn y fath wedd gynnifer o oesoedd ynghyd, ac a fathrasant y byd dan eu traed, pan ymddangoso Crist, a ddi-

flanant ymaith fel cysgod, neu dywyllwch mewn ystafell pan y torro goleuni i mewn. Pa beth ydyw gelynion Duw yn ei ddwylaw ef? Nid ydyw eu nerth cadarnaf ond gwendid pan y cyfodo efe. Pa mor wan y bydd iddynt oll ynghyd ymddangos yn nydd y farn. Haws ydyw i ni wneud cymmwysiad o'r geiriau hynny y'nghân Moses, "Dy ddeheulaw, Arglwydd, sydd ardderchog o nerth: a'th ddeheulaw, Arglwydd, a ddrylliodd y gelyn." Pa mor fawr yr ymddengys mawrhydi Duw yn nadymchweliad y byd o amser i amser, er cyflawni ei fwriadau; ac yn y diwedd yn gwneud i'r nefoedd a'r ddaear ffoi ymaith er dyrchafu gogoniant ei deyrnas!

7. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, ni a allwn weled gogoneddus ddoethineb Duw. Y doethineb hwn sydd yn ymddangos yn nghreadigaeth y byd i'r fath ddibenion pwysig a mawrion; ac yn tynnu y fath ddaioni allan o'r fath ddrwg; ac yn gwneud y cwymp, a dinystr dynolryw, yr hyn ynddo ei hun sydd mor alarus, yn achlysur i'r fath waith gogoneddus ag ydyw hwn, sef y prynedigaeth, a dwyn yr etholedigion i'r fath gyflwr o ddedwyddwch annhraethol. Hefyd, y mae doethineb Duw yn ymddangos yn yr hir restr o chwyldroadau, pa rai sydd yn cymmeryd lle yn y byd, ac yn dwyn y fath drefn o annhrefn, a rhoi y fath siomedigaethau i'r diafol, a pheri i'w ddichellion cyfrwys ef fod er ei ogoniant ei hun, ac anrhydedd ei Fab Iesu Grist; a pheri i weithredoedd pennaf Satan droi allan yn hollol i fod yn achlysuron i fuddugoliaeth ogoneddus y Gwaredwr mawr. Pa mor rhyfeddol ydyw doethineb Duw yn dwyn yr holl bethau i'r fath amser gogoneddus ag ydyw yr amser diweddaf, ac yn cyfarwyddo holl olwynion rhagluniaeth trwy ei fedrusrwydd, fel y mae pob un o honynt yn cydweithredu fel amrywiol olwynion y peiriant mwyaf cywrain, ac yn y diwedd yn taro allan yn y fath ganlyniad ardderchog, y fath amlygiadau o ogoniant dwyfol, y fath ddedwyddwch i'w bobl, a'r fath deyrnas ogoneddus a thragywyddol i'w Fab!

8. Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, ni a allwn weled anghyfnewidioldeb trugaredd Duw a'i ffyddlondeb i'w bobl; ac na wrthyd efe byth mo'i etifeddiaeth, a'i fod yn cofio ei gyfammod â hwynt trwy yr holl genhedlaethau. Ni a allwn weled yn awr wirionedd ein testun, "Canys y pryf a'u bwytty fel dilledyn, a'r gwyfyn a'u hysa fel gwlan: eithr fy nghyfiawnder a fydd yn dragywydd, a'm hiachawdwriaeth o genhedlaeth i genhedlaeth." Yn awr y gallwn ganfod priodoldeb yr enw hwnnw trwy yr hwn

yr amlygodd Duw ei hun i Moses, gan ddywedyd, "Ydwyf yr hwn ydwyf." Yr un ydwyf a phan aethum i gyfammod âg Abraham, Isaac, a Jacob, a'r un a fyddaf yn dragywydd: yr wyf yn cadw cyfammod tros byth: yr wyf yn hunan-ddigonol, holl-ddigonol, ac anghyfnewidiol.

Yn awr y gallwn weled hefyd wirionedd y geiriau hynny yn *Ps.* 36. 5, 6. "Dy drugaredd, Arglwydd, sydd hyd y nefoedd, a'th wirionedd hyd y cymmylau. Fel mynyddoedd cedyrn y mae dy gyfiawnder; dyfnder mawr yw dy farnedigaethau." Ac os ystyriwn yr hyn a ddywedwyd, nid rhaid i ni ryfeddu fod y Psalmydd, yn *Ps.* 136. yn mynychu yr ymadrodd hwnnw, "O herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd;" fel pe buasai mewn pêr-lewyg wrth ystyried tragywyddolrwydd trugaredd Duw i'w eglwys, ac yn cymmeryd hyfrydwch i fynych adrodd hynny. Bydded i ninnau gyda chyffelyb bleser a llawenydd fawrygu tragywyddol barhad trugaredd a ffyddlondeb Duw i'w eglwys a'i bobl, ac ymgysuro yn hynny dan yr amgylchiadau tywyll ag y mae'r eglwys ynddynt yn bresennol, a'r holl gynnwrf a'r annhrefn sydd yn y byd. Bydded i ni hefyd fod yn galonnog i weddïo yn ddifrifol am y pethau gogoneddus hynny a addawodd Duw eu cyflawni i'w eglwys.

9. Nyni a allwn weled, oddiwrth y pethau hyn, y fath gymdeithas ddedwydd ydyw eglwys Crist. Canys fe ymrwymwyd i'r gwaith mawr hwn, ac a'i dygwyd ym mlaen yn unig er ei mwyn hi, sef o herwydd iddo ef ei charu hi â chariad tragywyddol. O'i herwydd hi y dadymchwelodd efe wledydd a theyrnasoedd, ac yn ei hachos hi y mae efe yn ysgwyd y nefoedd a'r ddaear. Efe a roddodd ddynion am dani, a phobl dros ei heinioes. *Esa.* 43. 4. Er pan aeth pobl yr Arglwydd yn werthfawr yn ei olwg, y daethant yn anrhydeddus: a chan hynny, efe yn gyntaf a roddodd waed ei Fab ei hun drostynt hwy; ac yna, er eu mwyn hwy, y mae efe yn tywallt gwaed eu holl elynion. Canys er eu mwyn hwy y gwnaeth efe'r byd; ac er eu mwyn hwy y dinystria efe ef drachefn: canys er eu mwyn hwy yr adeiladodd efe y nefoedd, ac er eu mwyn hwy y mae efe yn gwneud yr angelion yn ysprydion gwasanaethgar. Gan hynny y dywed yr apostol, "Pa un bynnag ai Paul, ai Appollos, ai Cephas, ai'r byd, ai bywyd, ai angau, ai pethau presennol, ai pethau i ddyfod; y mae pob peth yn eiddoch chwi." 1 *Cor.* 3. 22. Pa mor ddedwydd ydyw y bobl hynny, y rhai a brynwyd o fysg dynion, ac ydynt yn flaen-ffrwyth i Dduw a'r

Oen; pa rai ag y mae Duw yn amddiffyniad ac yn gynnorthwy iddynt trwy yr holl oesoedd! "Gwynfydedig wyt, O Israel; pwy sydd fel tydi, O bobl gadwedig gan yr Arglwydd, tarian dy gynnorthwy, yr hwn hefyd yw cleddyf dy ardderchawgrwydd! a'th elynion a ymostyngant i ti, a thi a sethri ar eu huchel-leoedd hwynt." *Deut.* 33. 29.

Ymddyrchafed gelynion yr eglwys faint a fynnont, etto pobl Dduw a fyddant yn llwyddiannus yn y diwedd. Y deyrnas ddiweddaf a fydd eiddynt hwy, ac ni adewir mo honi i bobl eraill. *Dan.* 2. 44. Nyni a welwn y fath ganlyniad dedwydd iddynt hwy a fydd y modd y dygir pethau iddynt yn ddiweddaf, a'r fath ogoniant y cyrhaeddant iddo, ac y byddant mewn meddiant o hono yn oes oesoedd, wedi i deyrnasoedd y byd ddyfod hyd eu terfyn, a'r ddaear gael ei symmud, a'r mynyddoedd gael eu carrio i ddyfnderoedd y môr, pan y bydd y ddaear isod hon yn ymddattod. O bobl wynfydedig! O gymdeithas ddedwydd! Hawdd a fydd iddynt dreulio tragywyddoldeb mewn moli a chanu Haleluia iddo ef, yr hwn a'u carodd er tragywyddoldeb, ac a'u câr i dragywyddoldeb.

10. Oddiwrth y pethau hyn gall yr holl annuwiolion, sef yr holl rai sydd mewn cyflwr amddifad o Grist, weled eu trueni dirfawr. Y rhai sydd felly, nid oes iddynt ran na chyfran yn yr achos hwn. Y rhai nad ydynt byth yn well er y pethau hynny y clywsant am danynt; ond y mae eu heuogrwydd yn gymmaint mwy, a'r trueni y maent yn rhoi eu hunain yn agored iddo yn fwy ofnadwy. Y mae rhai o honoch chwi, tu ag at ba rai y dangosodd Duw gymmaint o ddigofaint amlwg, wrth ddwyn y gwaith hwn y'mlaen, yn rhai o'r gelynion hynny, pa rai sydd yn ddarostyngedig i'w gwneud yn 'stol-droed i Grist, i'w llywodraethu â gwialen haiarn, ac i'w dryllio yn ddarnau. Had y sarph ydych, ysigo pen yr hon ydyw un o ddibenion y gwaith hwn. Pa bethau gogoneddus bynnag a gyflawna Duw i'w eglwys, os bydd i chwi barhau yn y cyflwr yr ydych ynddo, ni bydd y pethau hynny yn ogoneddus i chwi. Yr amseroedd mwyaf gogoneddus ar yr eglwys, bob amser, ydyw yr amser mwyaf arswydus i'r annuwiol a'r anedifeiriol. A pha bethau gogoneddus bynnag a ragfynegir mewn perthynas i'r eglwys, yno y rhagfynegir pethau ofnadwy am yr annuwiolion, a'i gelynion hi. ("Ac fe adweinir llaw 'r Arglwydd tu ag at ei weision, a'i lidiowgrwydd wrth ei elynion. Canys wele 'r Arglwydd

a ddaw â thân ac â'i gerbydau fel tro-wynt, i dalu ei ddigter â llidiowgrwydd, a'i gerydd â fflammau tân. Canys yr Arglwydd a ymddadleu â thân ac â'i gleddyf yn erbyn pob cnawd; a lladdedigion yr Arglwydd fyddant aml." *Esa.* 66. 14, 15, 16.) Ac felly y bu mewn gwirionedd bob amser; yn yr holl waredigaethau nodedig a fyddai yn cael eu gwneud i'r eglwys, byddai digofaint a barnedigaethau nodedig yn cael ei dywallt ar ei gelynion. Yn y modd hyn, pan yr oedd Duw yn gwaredu plant Israel allan o'r Aipht, efe a dywalltodd ei ddigofaint ar Pharaoh a'r Aiphtiaid. Felly hefyd, pan y dygodd efe hwy i wlad Canaan trwy Josua, efe a gyflawnodd ei lid mewn modd nodedig ar y Canaaneaid. Pan y gwaredwyd hwy o gaethiwed Babilon, yr oedd dïaledd amlwg ar y Babiloniaid. Ac felly pan y galwyd y Cenhedloedd, ac yr achubwyd etholedigion Duw trwy bregethiad yr efengyl gan yr apostolion, yr oedd y dinystr mwyaf ofnadwy ar Jerusalem a'r Iuddewon erlidgar. Myfi a allwn sylwi yr un modd mewn perthynas i'r gogoniant a gyflawnwyd i'r eglwys yn nyddiau Cystenyn, a'r hyn a fydd yn nadymchweliad teyrnas weledig Satan yn nghwymp Anghrist, a dydd y farn. Yn yr holl siamplau hyn, ac yn neillduol yn y ddiweddaf, y dangosir yr arwyddion mwyaf ofnadwy o ddwyfol ddigofaint yn erbyn yr annuwiolion.

Y mae yn sicr eich bod chwi yn rhai o'r rhai hynny y gwna Duw ddefnydd o honynt yn y gorchwyl hwn; ond fe fydd hynny er gogoniant ei gyfiawnder, ac nid ei drugaredd. Gelynion Duw a gedwir mewn bod i'r diben i Grist gael goruchafiaeth trwy eï allu gogoneddus yn eu dadymchwelyd a'u cospi; a hwy a ddifethir gyd â'r byd melldigedig hwn wedi dydd y farn, pan y byddo Crist a'i eglwys yn esgyn yn fuddugoliaethus a gogoneddus i'r nefoedd. Gan hynny, bydded i bawb yn ein mysg, sydd mewn cyflwr amddifad o Grist, ystyried y pethau hyn, a gochel bod fel pobl ynfyd yr hen fyd, pa rai na chymmerent rybydd pan yr oedd Noah yn hyspysu iddynt fod yr Arglwydd am ddwyn dyfroedd diluw ar y ddaear; neu bobl Sodoma, pa rai na fynnent ffoi oddiar ffordd y digofaint oedd ar ddyfod, ac felly yn cael eu difetha yn y dinystr ofnadwy hwnnw.

Ac yn awr myfi a ddiweddaf fy nhraethawd yn y geiriau hynny o'r Datguddiad: "Y geiriau hyn sydd ffyddlon a chywir, "a dedwydd yw yr hwn sydd yn cadw y geiriau hyn. Wele, "y mae Crist yn dyfod ar frys, a'i wobr sydd gyd âg ef, i roddi

" i bob un fel y byddo ei waith ef. Yr hwn sydd anghyfiawn, " bydded anghyfiawn etto; a'r hwn sydd frwnt, bydded frwnt " etto; a'r hwn sydd sanctaidd, bydded sanctaidd etto. Gwyn " eu byd y rhai sydd yn gwneuthur ei orchymynion ef, fel y " byddo iddynt fraint ym mhren y bywyd, ac y gallont fyned i " mewn trwy 'r pyrth i'r ddinas. Oddi allan y mae 'r cwn, a'r " swyn-gyfareddwyr, a'r putteinwyr, a'r llofruddion, a'r eilun- " addolwyr, a phob un a'r sydd yn caru ac yn gwneuthur cel- " wydd. Yr hwn sydd yn tystiolaethu y pethau hyn, sydd yn " dywedyd, Yn wir, yr wyf yn dyfod ar frys. Amen. Yn wir, " tyred Arglwydd Iesu." *Dat*. 22. 6, &c.

DIWEDD.

## *HYSPYSIAD.*

---

Y mae Thomas Jones, Cyfieithydd y Gwaith hwn, yn hyspysu i'w gydwladwyr, os bydd iddo gael estyniad oes, a mwynhau iechyd, ei fod yn bwriadu cyfieithu llyfr arall, o waith yr un awdwr, ar

"Y SERCHIADAU CREFYDDOL,"

Cynnwysir y gwaith mewn oddeutu Chwech neu Saith o Rifynau, Swllt yr un.

